eddion cryfion, nes y mae y cwbl yn gwreichioni o'n cwmpas. Wedi hyny, daw Harri frenin dan sylw, a

"Syr Owain Tudur oeswr o'n teidiau."

Ond nid ydym yn cael dim ar y testun—pethau anmherthynasol hollol sydd gan yr awdwr. Gobeithiwn na cheisia neb byth gyfieithu yr awdl hon gan osod testun y Gwyneddigion uwch ei phen. Cawn gan yr awdwr, yn ddilynol i hyn, hanes cyfieithiad yr Ysgrythyrau; ond yr ydym yn methu gweled y berthynas uniongyrchol sydd rhwng hyny a'r testun, "Molawd Ynys Prydain."

Wedi dyfod â ni mor bell a Doctor William Morgan, y mae yr awdwr yn rhedeg â ni yn ein holau at Humber, Beli, Iwl Caisar, Caswallon, Caradawg, Aregwedd, a sonia am ddewrder ein hynafiaid yn ymladd, a darlunia y

"Dagrau hyd ruddiau Derwyddon,"

yn effeithiol, a'r hen dderwydd

"Ymfwriai mewn myfyrion—
Yn ddwys, â'i bwys ar ei ffon;
Ow! a deigr hallt y gwr hen
I'w ruddiau dan dderwydden;"

ac yna cyrchir ni i Fon,

"A Mon dan wastraff min dinystrwyr,
Tarawai Buddug etwa i'r baeddwyr."

Cawn linellau dwys yn y darn yma; ond mynegant am ddygwyddiadau rhy bell yn ol, a chwbl ddyeithr i'r testun.

Wedi myned heibio y Gwyddyl, y Brithwyr, Gwrthefyr, ac Emrys, ac Uthr, ac Arthur, deuir at Llewelyn ac Owain Glyn Dwr. Rhoir tro wedi hyny heibio Iorwerth, nes y deuir at y Sioriaid; ac yma dechreua y bardd son am ein hamddiffynfaoedd; ond buom yn tramwy drwy ugeiniau o linellau hollol ddyeithr i'r testun, yn ddim pellach na'u bod yn dangos fod yr hen Gymry wedi bod yn enwog am ymladd. Ond nid ydyw hyny yn profi dim beth a wneid yn bresennol yn wyneb estron genedl. Heblaw hyny, nid ydyw y Cymry ond rhan fach iawn o'r Ynys, ac un rhan. Y mae Seison, Gwyddelod, ac Ysgotiaid, dan goron Lloegr, a dysgwylid i'r rhei'ny ddyfod allan yn erbyn y gelyn. Pan y mae yr awdwr yn dyfod at ei destun, y mae ganddo rai darnau ardderchog, er iddo fel hogyn drwg ymdroi yn hir iawn, ïe, yn rhy hir o'r hanner, gyda'i neges, gan droi i bob man, a mynegu am bob peth a welodd ac a glywodd, ar hyd y ffordd ac ar hyd y meusydd, y gallesid bod heb wybod dim yn eu cylch, hyd ryw amser arall. Y mae yr awdl hon yn cynnwys tua deunaw ar hugain o dudalenau o lyfr Dewi Wyn; eithr prin y gellir dyweyd fod ugain tudalen o hyny ar y testun. Nid ydyw y gweddill ond pethau hollol anmherthynasol, a wnai y tro mewn unrhyw awdl a sonia am ddewrder y Cymry; ac nid ydyw y llinellau sydd ar y testun yn cymeryd golygiad digon eang ar y mater. Y mae y sylwadau yn cael eu cyfyngu yn ormod at Gymru a'r genedl Gymreig, gan anghofio fod cenedloedd eraill yn ddeiliaid Prydain. Gallasai yr awdwr adael gyda—

"Glân barth nag elïon byd;"

neu yr englyn nesaf at y linell hon, ac ailgodi hwyl yn y llinellau—

"Brenin Prydain gain gynor,
Pen llywiawdr, ymerawdr môr:

Ei goron yn blaguro
Ar ei ben yn hir y bo."

Y mae oddiyma i'r diwedd ddarluniau nerthol; megys:—

"Paradwys wemp prid y son—Eden deg,
Yn dwyn dail a meillion
O amgylch ogylch eigion
Y mor hallt yw muriau hon.

Y diddwl wyliedyddion,—rhag ystryw
A gwastraff gelynion
Gorchwimwth hyd ystwyth don
Gan frigawg nofio 'r eigion."

Y mae gan yr awdwr m*w*th a t*wy*th yn ateb i'w gilydd.

"Yn llengoedd y gollyngant—eu bolltau,
I bellder y treiddiant;
Llongau estron gwychion gant
Yn ysgyrion wasgarant.

Y cestyll mawrion ein galon gwyliant
O ddeutu 'r ynys gwrdd y taranant,
Gorhydr brigerau drwy wybr a gariant;
Un o'u banerau er neb ni wyrant.

Trwy lynges estron yn hyfion nofiant,
* * *
Goruwch yr ewyn yn groch hwy ruant;
A'u dyeithr fasnach deuant—i'r ynys,
O dda ewyllys hwy a ddiwallant.
* * *
Llestri Sior a'i drysorau
A'u ffyrdd drwy 'r mor gwyrdd yn gwau:
I drin ei lynges pan draidd
Cryn Europ,—ceir hi yn waraidd."

Er fod ambell linell wych yn y dyfyniadau uchod, buasai yn dda genym eu bod yn eglurach; eto yr ydys wrth eu darllen, fel rhai â'r niwl a orchuddiai y mynydd a dramwyem ychydig yn ol yn dechreu chwalu. Yr ydym yn gweled, yn ol barn y byd y pryd hwnw am amddiffyniad, ddarpariaeth dda ar gyfer estron genedl a chwennychasai ein darostwng; ond nid ydyw y darlun ond byr iawn, pan y mae yr awdwr wedi dyfod i enaid ei destun. Ni chynnwys fawr dros hanner cant o linellau. Yr oedd yma le eang i athrylith y bardd; ond ryw fodd, collodd ei nerth ar y ffordd, o'r hyn lleiaf, y nerth a ddylasai gael ei ddwyn allan at y rhan yma o'r gân. Y mae efe yn ei diweddu â dymuniadau am i'r bobl ymostwng,

"Rhag i'r wialen gael cenad
I droi 'n gledd drwy ein gwlad."
* * *
A gweler heddwch gwiwlon
Yn oes haul i'r ynys hon;
Curo pob cleddyf cywrain
Yn swch! clyw 'r engyl y sain."

Ni feddyliasom, hyd nes yr aethom uwchben yr awdl hon yn fanwl, nad oedd ynddi fwy o feddylddrychau ar y testun nag sydd yn ymddangos ynddi; canys yr oedd y cyfansoddiad hwn yn un a ddygai ein bryd yn fawr, er yr amser cyntaf y gwelsom ef, tua deuddeng mlynedd ar hugain yn ol; ond y mae yn debygol fod gan swyn y cynghaneddion sydd yn yr awdl law fawr mewn gadael argraff o ragoroldeb y gwaith ar ein meddwl y pryd hwnw.

Y mae ein bardd yn dechreu ei "Awdl ar Amaethyddiaeth" yn lled ysmala. Y mae yn erfyn

"——Am ddawn i ffreuaw 'n ffraeth."

"Ffreuaw" yw pistyllio, *spoutio*: anmhriodol yma.

"Efryd ar drin daear deg,
Hynafiaeth hon i ofeg."

"Efryd" yw myfyrdod, a "gofeg" yw meddwl. Ymddengys y llinellau yn lled ddiystyr wrth eu troi i iaith eglur; megys:—

"Myfyrdod ar drin daear deg,
Hynafiaeth hon i feddwl."

I ba beth y sonia yr awdwr am ddechreu ar ol son am greu y greadigaeth,

"Ei chreu a'i dechreu o'r dim!"

Onid ydyw y "creu" yn golygu, "dechreu o'r dim?"

Y mae dyweyd fod y greadigaeth, ar y cyntaf, yn edrych fel tŷ heb ddodrefn yn ddigon priodol; ond y mae rhyw ddodi pethau, o wahanol ansawdd, wrth eu gilydd rhyfedd yn y linell ganlynol:—

"Heb na phren, dyn byw, na phry'."

Paham pren, dyn byw, a phry'? nid oedd yma un creadur. Y mae yn amlwg mai y gynghanedd a hudodd y bardd i gyplysu y pethau rhyfedd yma â'u gilydd. Y mae efe yn gwella ychydig ymlaen, pan y dywed,

"Y ddaear fu 'n afun noeth
O dirioned oedd dranoeth!
Yn draphlith i'r gwlith mor glau,
Ganwyd afrif eginau.
Lliosog caid llysiau cu,
Coed heirddion yn cyd-darddu;
Myrddiwn a mwy o irddail,
Daear oedd yn dŵr o ddail.
Pob lliw a rhith dewfrith dw',
Oedd ber newydd eu bwrw,
Llygaid seraff canaid cu
Syw a'r hon yn serenu."

"Daear oedd yn dŵr o ddail." Nid yn "dŵr" y mae dail yn arfer ymddangos; a phe buasent "yn dŵr" y pryd hwnw, buasent yn gorchuddio pethau eraill yn ormodol, fel na buasai un lle i lygad y seraff "serenu" wrth edrych ar y greadigaeth.

Y mae y llinellau canlynol yn gynnwysfawr:—

"Ebrwydd dw' o bridd daear,
Cyn bod gwaith gwrtaith nag âr."

Ond nid oes un mymryn o ymddiried i'n hawdwr, na neidia oddiar ei begwn i ryw eithafoedd, cyn pen ychydig o linellau. Y mae yn dal yn dda y pedwerydd dydd, oni buasai y

"Pwysiau cwmpas awyr."

Beth yw "cwmpas awyr?" Y mae

"Cysgodau y prenau prid"

yn dlws,

"A'r afalau crwybrau crog."

Ond ni wyddom beth yw

"Aur ddysglau ar wydd osglog."

"Gwydd" yw coed, ac "osglog" yw cangenog; ond pa debygrwydd sy rhwng afalau a dysglau sy raid i ni ei adael heb ei egluro. Y mae creadigaeth yr anifeiliaid yn brydferth, a llunlad Adda—

"Ar ei lun ei hun yn lân heini,"

* * *

yn "flaenrhed," ac yn "fegidydd" yn naturiol; ond nid oes ynddo ddim yn farddonol iawn, ac ystyried mai y dyn cyntaf a welodd y ddaear erioed oedd Adda. Y mae yn wir ei fod ef yn dyweyd—

"Y dyn gwridawg, dien greadur,
A'i wraig a gawsai er gwiw gysur.
Yn byw yn Eden yn benadur,
Aml yw ei ofal am ei lafur."

Dichon fod golwg wridog iach ar Adda, ond yr oedd yn rhy fuan i'w ofal i fod yn "aml" eto; canys yr oedd heb droseddu; a gwyddom oll nad oes eisieu gofal ond lle byddo perygl. Y mae y darlun o honynt yn rhodio

"I bob rhan o'r berllan bur,
I edrych ar y blagur,"

yn anghytuno â'r linell,

"A'r addfed ffrwyth crwmlwyth crog,"

oedd yn "gniwiau," (cniw, *pack*—cniw o blant, *pack of children*),

"Ar gangenau y delwau deiliog."

Nid oedd dim modd i'r ffrwythau fod yn eu blagur ac yn addfed, ar unwaith; ac y mae yn debyg nad oedd lle arnynt i flagur, gan amlder y ffrwyth y pryd hwnw.

Y mae y ddwy linell ganlynol yn dlws:—

"Telediw yw ffriw y ffrwyth,
Gan berlau boglynau gwlith;"

Ond yr ydym yn methu dirnad paham y sonia y bardd, ar yr un gwynt am y

"Mel pur ar y blagur blith."

"Blagur" o hyd!

"Gwypai deallai y diwyllydd,
Amser addon addfedion fwydydd."

Prin y mae yn oddefol galw ffrwyth yr ardd, yn "addfedion fwydydd;" oblegid am ymborth wedi ei drin, megys cig, neu rywbeth y byddo gwaith tân yn ofynol i'w barotöi, y dywedir, "bwydydd" fynychaf. Y mae gan y bardd ei hun ddwy linell a daflant oleuni ar y mater, pan y cwyna am ei dlws gan Madog:—

"Pan yro gwpan arian,
I mi, am ragori 'r gân,
Dysgl fawr 'rwy 'n dysgwyl a fydd,
Neu badell i drin *bwydydd*.

"A'i ddyled fel addolydd—i ei Naf,
Wedi cynauaf wneyd cân newydd."

Prin yr ydym yn meddwl y buasai anghen am "gynauaf;" hyny ydyw, am gasglu ac ystorio ydau a ffrwythau, pe safasai dyn yn ei berffeithrwydd; ond y cawsai bob peth wrth ei law a'i anghen yn ol fel y buasai y galw. Buasai poen i gasglu ac ystorio ŷd.

"Addaf mewn dedwyddyd—ai ni roddodd
Ner iddo seguryd?

Wi! ai garddwr wy'n gwrddyd,
Yn Eden yn berchen byd!
Dynoliaeth Eden wiwlon—delw Duw
Wele dan ei choron,
Ni bu ry hardd mewn bri hon
I weithiaw fel amaethon.
Llywiawdr pob llu ydyw,
Gwr dros ei Greawdwr yw;
Ba aflwydd, f' Arglwydd, a fu
I'r dewr swyddwr droseddu?"

Y mae y darluniad yma yn naturiol, ac y mae y desgrifiad a rydd y bardd o aflwydd y codwm yn gryf:—

"Lle yr oedd balm a phren almon—edrych
Meryw a bresych a mwyar breision,
Dwyn dail marwol, danadl a mieri,
Pob grawn gwylltion yn drawsion, a d'rysi.
Yn lle balalwyf, mewn lle bu lili,
Abrwysgl anial wigau a brysglwyni,
O fewn y rhai 'n fwy na rhi' - wiberod,
Pob rhyw wylltfilod hynod i'w henwi."
* * * *
Yma, wele pob milyn—a aeth
I ddynoliaeth heddyw yn elyn."

Y mae y darluniad o Adda yn troi i weithio, wedi y cwymp, yn effeithiol—

"Dacw Addaf, gyntaf gwr,
Yn fore yn llafurwr;
Deol surwellt y felldith,
Cloddio a cheibio sy chwith;
Ei wisg datoda 'n esgud,
I'w law mae arf a darf dud,
Mewn bwriad mynu bara
Yn lluniaeth o doraeth da;
Dacw 'r chwys, megys gwlith mân,
Ar ei brudd ddwyrudd eirian."

Y mae ein bardd yn dangos fod yr Ior wedi gwareiddio

"———i ryw raddau
Rai cre'duriaid oreuraid ryw orau;"

ac fod y cynddiluwiaid yn trin eu gwinllanoedd, yn hau ac yn medi nes y daeth

"Y prif gyffrolif ffreulyd,
Dad-drodd, cybolodd y byd;"

ac wedi hyny,

"Y cwbl aeth yn draeth di drefn."

heb i'w weled ond,

"Gwasgaredig ysgrudoedd [*skeletons*],
Pwdrgnawd; pob drewdawd budr oedd;
Dim glaswellt ar bellt [*surface*] y byd."

Y mae efe yn prysuro Noa, wedi i'r dylif lwyr gilio, i ddechreu trin y ddaear; gan ein sicrhau,

"Wel yn wir, er boddi 'r byd,
Ni foddodd y gelfyddyd."

Wedi mynegu hyn, y mae yr awdwr yn rhoi gwibnaid hyd Sinar, Haran, Misir, Asia, Diarbec, Armenia, Gilead, Saron, Assyria. Yr ydym

yn dodi yr enwau fel y maent ganddo ef. Y mae efe yn troelli yr enwau drwy eu gilydd nes gwneyd sŵn tebyg iawn i sŵn barddoniaeth; megys,

"Bu cu 'r manoedd, Diarbec, Armenia,
Gilead, Saron, gwaelod Assyria."

Y mae yn y llinellau uchod swyn rhyfedd i ryw fath o ddarllenwyr, er nad oes ynddynt un wreichionen o brydyddiaeth.

Cyfeiria ein hawdwr wedi hyn at y Gelliaid, Rhufeiniaid, Groegiaid, y rhai a

"Chwysant, blinant wrth blanu—pob cyrion,
Hyd Fôr Gwerddon mae dyfrhau ac arddu."

Sonia hefyd am "feib Babel," a Heber, ac am y manau

"Sy uwch Hermon, Libanus, a Charmel."

Twrf rhaiadr geiriau sydd yn y darnau uchod, fel y gwel y darllenydd deallus, ac nid prydyddiaeth. Y mae yr awdwr yn cymeryd taith bell iawn yn y llinellau dilynol—drwy Eidal, Prydain, ac

"O bau Ararat heibio i'r Eryri."

Y mae "Ararat" ac "Eryri" yn ateb i'w gilydd yn odidog yn y gynghanedd. Wedi hyn ä yr awdwr at Madawg i'r Amerig,—at y Missouri, Alegani, Pomona, Ambrosia, Bachanalia, Ambarvalia; a dengys fod gan y bobl ryw wybodaeth am sychu tir; megys,

"Troi diffaeth ffiniau yn barthau berthog,
Yn lle clogyrnau creigiau cerygog,
Dwyn seddau cywrain, dinasoedd caerog,
Tyrau, adeiladau, tra dyledog;
Praff yw 'r ddylanwad prif ffyrdd olwynog;
Troi y gwaelodion a'r tir goleidiog,
Yn feusydd a pherllenydd ffrwythlonog,
Dwyn hafaidd lwythau trwythau toreithiog,
Cau 'r anialwch cornelog—yn froydd
Dwyn, gwneyd gwledydd dan gnydau goludog."

Y mae cyfeiriad at amaethyddiaeth ac adeiladaeth yn y llinellau uchod, ac ychydig o farddoniaeth, oddeutu y fan y mae yr awdwr yn "cau yr anialwch;" ond y mae ynddynt gleciadau geiriau sydd yn eu hynodi yn fawr.

Sonia yr awdwr hefyd am win, olew, gwenith, a meillion; aloes, pabi, y pubyr, casia, mana, a'r myrr; mai yn Arabia y ceir mawrwyrth, ac mai yn y ddwy India y ceir cyffyrion, ac hefyd

"Y *gensen* y ddeilen dda,
Hwn sy bur yn Siberia."

Ymlaen cawn res o enwau coedydd a ffrwythau; megys gelleig, melwn, aurafalau, aeron, myrtwydd, resinwydd, rhosynau, mel a chnau, a "iach nodd" sydd yn feddygol,

"I bob angeuol wahanol heiniau."

Y mae amaethyddiaeth ac arddwriaeth yn cael eu cymysgu yma blith draphlith; ac ä y bardd i ddyweyd wrthym drachefn mai

"Amaeth yn ngwmnïaeth Naf,
Hyd ei ddydd ydoedd Addaf."

Yr oedd hyn wedi ei fynegu mewn effaith lawer gwaith o'r blaen; ond ni soniwyd am Cain hyd yn bresennol,—

"Rhifant yn arddwr hefyd,
Cain ei fab yn y cyn fyd."

Yr oedd y bardd wedi mynegu am Noa, wrth son am y dylif, ond rhaid iddo gael dyweyd eto,

"Noa tad y byd newydd
Amaeth oedd ef, mwyth i'w ddydd,
Selyf, Uzziah eilwaith
Hoff, gynt, oedd ganddynt eu gwaith;
E fu i'r rhai 'n ddirfawr ri',
Winllanoedd a pherlleni."

Cawn yn nesaf mai amaethyddiaeth yw prif gelfyddyd y byd; y gwelliant sydd wedi dyfod i'r gelfyddyd drwy fferylliaeth; ac fel y mae

"Dwr a gwynt i droi a gwau
Olwynion a melinau."

Y mae y darn hwn yn lled fywiog. Cyfeirir wedi hyny at forwriaeth yn wasanaethgar;

"Drwy holl angorawl draul llongwriaeth,
Dewr ei mawrhydri am Herodraeth;
Yn drymion cnydau yr Amaeth—o'r tir
Uwch dwr a gludir wech dreigladaeth."

Wedi dyfod o'r "Ararat heibio'r Eryri," er's meityn, y mae y bardd am fyned â ni yn ol at Hu Gadarn; ac â dros yr un pethau gyda golwg ar amaethyddiaeth ag a fynegwyd ganddo o'r blaen; sef, fod eisieu arloesi y ddaear cyn cael cnwd; ac fod yn rhaid ymlid pob "milod niweidiol" ymaith, a magu rhai gwell a mwy buddiol; ond nid ydyw yr awdwr yn myned dim rhagddo; y mae fel y drws ar ei golyn yn symud, ond yn symud yn yr un fan. Y mae yn addaw y daw y byd mor dda ei gyflwr, nes yr

"Holir lle 'r oedd gwagder gwyw
Ai gardd wen Eden ydyw?
O fôr i fôr bob gorawr,
Dros Ferwyn a'r Moelwyn mawr,
Pob tudwedd Gwynedd fal gwawr
Ymylau Clwyd a Maelawr;
Goruchel ochrau 'r Gwrychyn,—Eryri
A'r Aran uwch Penllyn;
Holl olwg Carn Llywelyn,
A ddaw 'n dir hardd iawn drwy hyn."

Y mae y llinellau hyn yn seinio yn hyfryd yn nghlustiau un a garo y gynghanedd yn fawr; ond pa fodd y gellir eu cysoni â'r llinellau canlynol

"Rhy eirw i gwlltyr yw rhai gelltydd,
I'w pilio, yno y dygir planwydd,
A brigog, cadeiriog y cwyd irwydd,
A derw y dyfnant, orau defnydd;
A thrwy hyn dau fwy a fydd—i'w cysgod
Afrifed filod hyfref hyd foelydd."

Yr ydym o'r farn o hyd nad oedd gan Dewi un math o gynllun; ond ei fod yn rhwygo yn ei flaen drwy bob peth heb feddwl am ddim a ddywedodd, na phrisio pa un a safai y peth brawf: ac y mae yn myned drwy yr un gorchwylion o hyd yn mhob ardal neu gwmwd newydd y mae yn ei ddarganfod, yr hyn sydd yn gwneyd y gân yn faith, ac i gynnwys yr un peth drosodd drachefn ormodedd o weithiau.

Y mae ei linellau gyda golwg ar sychu y traeth yn ardderchog,—

"Ar fyrder triner y traeth,
Ef a wnaer yn faenoriaeth;

Yr aradr a'i goreuro
Uwch Clwyd offrwm bwyd y bo.
Lle 'r ai 'r morllo a'r eog,
Ysgrafed, rhwyged yr og.
Poed medelwyr lloffwyr llon,
Maeronwyr a'u morwynion;
Yno boed mangoed, fil myrdd,
A rhai preiffion ger prif-ffyrdd.
Lle bu 'r dyfrlli' boed afrllad;
Y diliau mel, a dail mad;
Yno y rhodio 'n rhedwyllt,
Yn lle morfeirch—meirch a myllt."

Yna y mae efe yn dymuno i amaethyddiaeth fyned rhagddi dros y wlad, yr hyn sydd wedi ei ddymuno mewn effaith o'r blaen.

Y mae efe yn rhedeg yn bresennol at fwnyddiaeth a meini gwerthfawr.

"Pob gwisgoedd cywrain a glain foglynau,
Yr ariant a'r bliant eryb liwiau."

A neidia oddiwrth y pethau gwychion hyn at geryg, cregyn, a gwmon;

"Crugo yn gymysg cregyn a gwmon,
Prynu a gwerthu pob rhyw hen garthion,
Lludw a marliau llwydion—prif faethau
Er dwyn pob cnydau 'n llwynau llawnion."

Os nad oes yma ddiffyg barn, ni wyddom beth sydd yn arwydd o hyny. Nid ydyw ein bardd yn gallu sefyll ar unrhyw feddylddrych am amrantiad, a'i weithio allan yn dlws; ond y mae yn ysboncio o'r naill beth i'r llall, nes y mae ei waith, mewn rhai manau, fel y tryblith ei hunan. Y mae yn ddiammhau fod ynddo rai darnau digyffelyb; ond y mae efe yn casglu "pob rhyw hen garthion" i blith ei bethau goreu. Nid ydyw yn gweithio fel dyn â barn ynddo, a'i chwaeth wedi ei goethi. Y mae llawer iawn o bertrwydd yma ac acw drwy yr awdl hon, ond anfynych y cyfarfyddir ynddi â mawreddogrwydd yn peri i wallt dyn sefyll, ac i waed dyn oeri. Y mae llinellau fel y rhai canlynol yn bwysi digon tlws:—

"Lle bu gawn a phlu gweinydd.
Daw dail a llygaid y dydd;
Er cael dan aradr ac og,
Baryd o dud gwlybyrog.
Cloddio a rhwygo rhigol,
Arwain dwr o waen a dol;
A diodi 'r sychdir sal
O'r llynoedd a'r lle anial.

Y mae efe yn cynghori y mawrion a'r rhai mewn swyddau i ystyried chwys yr amaethon, ac am iddynt ei barchu; ei fod ef yn weithiwr diwyd. Y mae y llinellau canlynol yn farddonol iawn:—

"Dwyrewch sylwch ar chwys ei aeliau,
O loewed ei ddurfing wladaidd arfau;
Ardrwytho 'i anadl, brydio 'i wythenau,
I chwi gael llon newyddion neuaddau,
Pob ameuthyn, pob moethau—da beunydd,
Iach i'ch yw'r bwydydd—meirch a cherbydau.

Y gwr esgyrnawl mewn gwres ac oerni
Trabludd flin ddwy hin yn ei ddihoeni;
Gyru troellawg, orfanawg garfeni,
Trwy ia neu gesair trin ei gwysi."

Y mae efe yn dangos y pwys i'r amaethwr

"Iawn ddirnad rhin yr hin i hau,
Yd, a gwair a'r had gorau;"

Ond gyda eich bod yn ymbarotoi i edrych ar yr amaethwr, y mae y bardd ar garlam hwnt gyda'r garddwr; ac yn mynegu mai

"Goloewon yw gwelyau—y garddwr,
Fe gerdd yn mysg llysiau;
A sawyr ei bwysïau
Hafaidd o hyd i'w foddhau."

Y mae y darn canlynol yn dlws:—

"Y grawn olewaidd âg eirin liwiau
Naturiol yn edrych trwy lain wydrau;
Arno y gwenant, dirion eginau,
Siriol wridog, resenog rosynau."

Ar ol bod gyda'r garddwr, yn parotoi ei amryw fath o winoedd o'r llysiau a'r ffrwythau, daw at yr amaethydd drachefn, ac ä trwy waith y cynauaf gwair ac ŷd am fynyd neu ddau; a rhydd dro yn mysg yr adar, a'r moch, a'r boneddigion; y segurwyr, y llywodraethwyr, celfyddydwyr, masnachwyr, a phob math a rhyw sydd yn pwyso ar yr amaethwr, er fod hyny wedi cael ei ddyweyd o'r blaen. Y mae yn cwyno yn ddigon priodol yn yr englyn hwn,—

"Amaethon boddlon, yn bur—a'i ddwylaw
Yn ddilesg mewn llafur;
Gresyn fod gormod o'i gur
Er dwyn saig i'r dyn segur.

Mae bwytawyr meib tewion—yn trwytho
Eu trythyll goluddion;
Golwythaw eu boliau glythion,
Byw o'r brasaf heibio'r briwsion,
Gormodedd gwrw a mwydion,
Gosiglant megys Eglon,—eu hangau
Ddaw o'u moethau, eiddo Amaethon."

Y mae efe yn cloi yr Awdl gyda dymuniad am lwyddiant amaethyddiaeth dros y byd;—

"Ond pob mwynder a weler i Walia,
Bendithion fil ar epil Europa;
Aed mwy wythwaith o'r byd i amaetha,
Llawer rhyw filwaith llai i ryfela;
Hoff dysgwyl dyddgwyl mawr da,—o degwch
Heddwch, llonyddwch i holl hil Adda."

Y mae yr Awdl ar Amaethyddiaeth yn cynnwys dros wyth ar ugain o dudalenau; ond pe tynid y pethau anmherthynasol o honi, hanes ei mynediad yn ol ac ymlaen drwy y byd, a'r dymuniad am ei llwyddiant, nid ydys yn credu y cyrhaeddai y darnau ar amaethyddiaeth prin yr hanner, os na roddid yr un peth drosodd drachefn. Nid allem lai na gresynu wrth ddarllen yr Awdl yma, na fuasai rhywun yn gafael yn llaw Dewi, pan oedd yn ieuanc, ac yn ei hyfforddi yn y mater hwn; sef, mai nid prydyddu ar destun yw dwyn pob peth iddo, a gwneyd i'r gwaith fod yn debyg, o ran ei gynnwysiad, i arch Noah. Pan roddir testun ger bron, dylid ei ddilyn yn ei holl gysylltiadau; ond ni ddylid dwyn testunau eraill iddo. Yr oedd hwn yn ddiffyg mawr yn ein bardd; ac yn ddiffyg y dylai pob bardd ieuanc gilio oddiwrtho. Rhodder ei le i bob peth, a dim ond ei le; ac na ddyweder yr un meddylddrych o hyd; ac na ddyweder y cwbl a ellir ar destun ychwaith. Y mae modd gorweithio y peth goreu nes yr elo yn

gwbl ddiflas; ac y mae modd gwasgu y rhosyn tecaf nes yr elo y gwrthddrych mwyaf hagr. Y diffyg mwyaf ar lawer o'n dynion mawr yw, nid eisieu peth i'w ddyweyd, ond eisieu gwybod pa bryd i beidio dyweyd. Yn hyn yr oedd rhagor mawr rhwng R. ab Gwilym Ddu, Dafydd Ddu, a Gutyn Peris, a Dewi Wyn. Y mae yn rhaid i bawb addef fod gewynau meddwl Dewi agos can gryfed a phe gosodasid tri neu bedwar o feirdd cyffredin yn un; ond yr oedd efe yn amddifad iawn o farn. Gwyddai y gwyr a enwasom yn mha le i ddywedyd, ac yn mha le i dewi. Pe cymerid gwaith un o'r tri a enwyd, ni cheid dim yn eu cyfansoddiadau y byddid yn barod i ofyn, Pa beth sydd ar hwn eisieu yma? Y mae pob peth yn ymddangos yn naturiol, anghenrheidiol, ac yn gryno. Pe buasai rhywbeth wedi ei adael allan, buasai diffyg i'w ganfod ynddynt; ac y mae hyny i'w briodoli i'w gofal am drefn a chyfunedd yn eu gwaith; ond gellid dwyn hanner llawer cyfansoddiad i Dewi Wyn heb wybod ei golli; a gwneyd cyfnewidiadau yn ngosodiad y llinellau heb niweidio dim ar y gwaith. Y mae efe yn gwastraffu mater a meddylddrychau, a'r peth heb ateb unrhyw ddyben. Llusga gannoedd o syniadau dyeithr i'w gyfansoddiadau, a chyfrodedda y rhai hyny mewn hen eiriau tywyll a ddylasent fod wedi eu claddu er dyddiau Myrddin Wyllt. Yr oedd efe, yn ddiau, yn ddyn mawr, ond dyn mawr heb ei orphen ydoedd. Yr oedd ei fawredd a'i gryfder yn cael eu defnyddio yn fynych yn ofer ac am ddim. Dywedir wrthym mai rhyw gawri, neu gawresau, a daflasant rai o'r clogwyni anferth a welwn ar lechweddau rhai o greigiau Arfon a Meirion. Nid allwn lai na rhyfeddu at gryfder y bodau a allasent syflyd y fath ddarnau amrosgo; ond byddwn yn barod, ar yr un pryd, i ofyn i ba beth yr oedd hyny da? Y maent yn burion i edrych arnynt ac i'w rhyfeddu, ond ni ellir eu defnyddio at un pwrpas yn y manau lle y maent. Gwir werth peth yw y lles a wna. Y mae yn ddrwg genym orfod gwahaniaethu yn ein barn oddiwrth y rhai hyny sydd yn meddwl gormod o Dewi Wyn. Ond y mae yn rhy anhawdd genym wneuthur aberth o hyny o ddealltwriaeth sy genym i ganmol pethau y bydd yr oes nesaf yn chwerthin am eu penau; oblegid "y mae pechodau athrawon yn athrawon pechodau;" ac os na noda rhywun yr hyn sy ddiffygiol, caiff colliadau awdwyr eu trosglwyddo i'r oesau dyfodol; a bydd yr oes hon yn gyfrifol am adael iddynt basio ei sylw. Buasai yn dda gan ein calonau ni pe gwnaethai Dewi Wyn ddefnydd gwell o'r galluoedd mawrion a feddiannai, a phe cyfansoddasai efe arwrgerdd benigamp yn ei oes, na allasid beio arni mewn dim, fel y gallesid edrych arni megys cynllun teilwng o'i hefelychu; ond pwy a faidd wneyd hyny â chymaint ag un o'i gyfansoddiadau, er fod ynddynt yma ac acw rai pethau nad ellir rhagori arnynt? Dyna yr Awdl ar Elusengarwch, o herwydd yr hon y gwnaed cymaint o dwrf: er fod ynddi bethau sydd yn rhagori yn anfeidrol ar yr hon a gafodd y tlws, ni ddeil yn wyneb beirniadaeth deg o ran ei chynllun, ei chynnwysiad, na'i hiaith. Y mae yr awdwr wedi llusgo pethau hollol anmherthynasol i'r testun, i'r Awdl hon, ac y mae yr ystyr a rydd i eiriau yn hollol gyfeiliornus mewn amryw ranau. Y mae y pedair llinell cyntaf o honi yn cynnwys syniadau rhyfedd; megys,—

"Geiriau Elusengarwch;
Pob paladr yn ffladr a fflwch,
Mae plyfyn i'm palf, yn awr,
Cofadail fawr cyfodwch."

**Pwy a all fynegu pa beth a feddylir wrth**

**"Geiriau Elusengarwch?"**

**Pa beth ydyw "pob paladr," pa un ai "paladr" melin, ai "paladr" o oleuni? Nid oes dim yn mlaen nac yn ol i fynegu hyny. Pa ddyben oedd gan yr awdwr wrth ddefnyddio "ffladr a fflwch?" *Ffladr* yw peth ffol, gwenieithus, dotiog: *fflwch* yw peth llawn, helaeth, cryf, cyflym. Y mae efe yn dyweyd fod pob paladr, beth bynag ydyw hyny, yn *ffol* ac yn *gryf!***

**Y mae efe yn son am "*blyfyn*," sef yr ysgrifbin, y mae yn debyg; yn ei "*balf*," (yn ei law, gellid meddwl) er nad oes fawr o briodoldeb mewn galw llaw dyn yn *balf*. Crafanc y llew, palf yr arth, a llaw dyn.**

**"Cofadail fawr cyfodwch."**

**Pwy? Nid oes un gair o son wedi bod am neb hyd yma, ond am y "*plyfyn*" a'r "*balf;*" ai i'r rhai hyny y mae y bardd yn gorchymyn? Y mae y llinellau canlynol yn rhywbeth teilwng o'r testun:—**

"Gwel dylodion, a gwael adeiladau,
Gwragedd, plant, a thrichant o wrthddrychau;
Amddifaid, gweddwon, wareiddion ruddiau;
Un a dyn bychan yn dwyn ei beichiau;
Dyn feichiog, lwydion fochau,—mewn anghen,
Gweled Elusen dan gelyd loesau;
Lluoedd ar luoedd ar welyau,
Rhwng cilddaint echrysaint a chroesau;
Holl awch dannedd y lluchedenau;
Chwerw ffrewyll, ffiengyll, a phlâ angau;
Gan anghenion, cwynion yn cynau;
Elusen deimla'u heisiau,—a'i chynes,
Garuaidd fynwes, eu gruddfanau.

Pechodau, a chwymp chwai Eden,—a'u dug
I dagwm yr anghen;
Yn rhodd anfonodd nef wen,
O law Iesu, Elusen.

Disgynodd duwies gwiwnef
I'n daear ni, do, o'r nef:
Llysoedd brenhinoedd heini'
Islaw ei holl sylw hi;
Chwyddai serch y dduwies hon
At aelwydydd tylodion:
Agor o'i thrysor wrth raid,
A'i rannu i drueiniaid.
Ni lysir, gan elusen,
Un cnawd, yn ieuanc na hen;
Edwyn eisieu dyn isel;
Yn hen a gwan, hon a'u gwel:
A gnawd i hon gwneyd o hyd,
Hen elyn ei hanwylyd!
Dau anwylyn dynoliaeth,
Brawdyn a gelyn, nid gwaeth.
Haelionus i'w elynion
Euog a drwg, ydyw'r Iôn;
Bod, einioes, pob daioni,
A roes Nêr, o'i ras, i ni:
Pob peth yn ddifeth, hyfwyn;
Rhoi ei un Mab er ein mwyn!
A mwy braint, y Mab a roes,
Do, in' ei waed a'i einioes.

Ninnau, na fyddwn anhael,
O'i eiddo'i hun i Dduw hael:
Mor hawdd, yma, yw rhoddi;
Rhoddion Iôn yw'r eiddaw ni.
Yn awr, ai rhoi mawr im' yw?
Na, dyled, neu dâl ydyw.
Dadleudy i dylodion,
Ei dŷ sydd, pwy dawai son?
A rodder i'w rai eiddil,
Llesg, mân, lliosoga mil:
Ei blant ef a'i bobl y'nt hwy;
Dibrin rhydd eu Tad wobrwy.

Pan yw blew gwallt pen ei blant—o dan rif
Da in' roi eu porthiant;
Eu galw, cyn hir, gwir, a gâ'nt,
I giniaw y gogoniant.

Gwel'd brawd ar ddelw 'Nghreawdwr,
A delw Duw ar dylawd ŵr;
A chofio 'nhlawd Iachawdwr,
Fu un dydd yn gofyn dwr,
A enyna, yn uniawn,
Fy nhymer dyner a'm dawn.

Hanner yr eiddof, yn awr, a roddwn;
Ac heb ail wrtheb, y cwbl a werthwn,
I roi yn hael er Enw hwn:—Teyrnasoedd,
Llawnder y bydoedd oll, nid arbedwn."

Y mae y darluniadau blaenorol yn ddiguro, ac ar y testun yn hollol. Darlunia y bardd wrthddrychau elusen yn effeithiol;—duwies elusen yn disgyn o'r nef;—gofal Duw am ddynion;—y dylem ddilyn ei esiampl drwy ofalu am ein gilydd;—cofio tlodi Crist yn ddigon i ennyn awydd ynom i gofio am eraill. Yna helaetha yr awdwr ei derfynau, a dengys y rhwymau sydd arnom i gynnorthwyo pob un fyddo yn ein cyrhaedd. Y mae y darlun o'r hen ŵr a welodd well byd yn dra thoddiadol;—

"Fy nwr hallt yn ddafnau rhed,
Uthr weled f' ewythr William,[1]
Mamau hen neiniau anwyl,
I'r drysau mewn eisieu 'n wyl;
O'r hen wr mor druan yw!
Fy hen daid fy nhad ydyw:
Troednoeth a phennoeth a ffon
A'i gydau dan fargodion,
* * *

O gyneddfau gweinyddfawr,
Cyrus, Ahasferus fawr,
* * *

Nid oes yn nau Dŷ y Senedd—ei well;
Ow O! mae 'n beth rhyfedd
Na wnaed hwn yn ynad hedd;
Neu frenin o fawr rinwedd.

Ond yn lle hyn, adyn noeth
Dan benllwydni, byw'n llednoeth;
Syndod, rhyw Alecsander
Mawr fel hyn; Ow! mor afler."

Darlunia blant tlodion ac eraill yn dra effeithiol;—

"Rhosynau, blodau o blant—yn edrych
Yn odrist, ar ddifiant;
Eu rhinweddau gorau gant
A hwy'n ieuainc hen wywant.

Gwel lwydfoch âg ôl adfyd,—ac arwydd
Mai curio mae'r ysbryd;
Gwanychu, dygn gnoi iechyd,
A dwyn gwedd y dyn i gyd.
* * *

Hwy wyneblwydant yn eu blodau.
* * *

Gwel elusen, ac a glyw leisiau
Eu hocheneidion a'u tuchaniadau,
Er achub ei gwrth'rychau—go ebrwydd
Y gyr ei dedwydd, anwyl gardodau;
Arddengys ei bys bob eisiau;—estyn
Ei llaw i'r adyn ei holl reidiau."

Tra y mae ein bardd yn cadw gyda gwrthddrychau priodol elusen, y mae yn rhagorol: ond y mae yn gadael y tir yma yn mhen tua saith tudalen; ac y mae yn dechreu trin y gwahanol gymdeithasau fel sefydliadau elusenol; megys ein colegau, a phob cyfraniadau at bob achos Beiblawl a chrefyddol o bob natur a elwir yn elusen ganddo ef; yr hyn a ystyriwn ni yn anmhriodol; oblegid os elusen yw cynnal gwŷr ieuainc yn yr athrofaoedd, elusen yw cynnal gweinidogion yr efengyl; ac o elusen yr oedd y bobl yn cyfranu at y babell yn yr anialwch, ac at y deml yn Jerusalem, er mai "offrymau" y geilw yr ysgrythyr y rhoddion gwirfoddol a gyfranent. Pan fyddai Dewi Wyn yn ymddyddan am achos yr efengyl, mewn iaith rydd, nid fel hyn y byddai efe yn llefaru; canys clywsom am dano yn dyweyd, "Na ddylai neb roi at achos yr Arglwydd, fel rhoi i gardotyn yn y drws, ond yn hytrach y dylid rhoi fel rhoi anrheg i dywysog." Os ydyw y dywediad yma o eiddo y bardd yn gywir, y mae rhan fawr o'r Awdl ar Elusengarwch wedi ei ysgrifenu yn ofer; canys fe ddywedir yn yr Awdl,

"Golygir y prif golegau—mal hen
Erddi elusen o iraidd lysiau"

[1] Yr ydym yn meddwl mai "Wrth weled f' ewyrth William," yr ysgrifenwyd hwn gyntaf, ond yr oedd gwall yn yr iaith felly.

A golygir fod "Pindar, meib Handel, gwerth Newton a Herschel, Olen a Galen" yn dysgwyl am elusen: gwrandawer y bardd,—

"Mae Pindar a meib Handel,—wrth natur,
Gwerth Newton a Herschel,
Mae Olen a Galen, gwel,
Yn y drysau'n dra isel.

* * *

Ar ei thraul mawr a thrylen,
Megys gŵr llŷs a gŵr llên;
Y sy'n awr o'i oes yn ol,
Athraw fydd doeth ryfeddol.

Dyfynydd, beirniedydd noeth,
Chwalddart treithiau uchelddoeth;
Oni bo'i ddoethineb ef
Uwch ben Sulien a Selef:
Gwel ffaeledd Gil a Ffwler,
I wŷr mal hwynt rhoi aml her."

Y mae y golygiad yma yn hollol groes i'r hyn a dybiem ni am elusen. Nid ydym yn gallu gweled un tebygrwydd rhwng rhoi i gardotyn yn y drws, neu roi iddo drwy sefydlu meddygdŷ, neu dlotŷ ar ei gyfer, a rhoi at achos yr efengyl; canys wrth roi i dlawd, yr ydis yn rhoi yr arian am byth i'r dyn yn bersonol, o dosturi noeth, fel pe byddent yn cael eu suddo; nid ydis yn dysgwyl gweled dim o'r cynnyrch, heblaw a gynnwysa yr addewid o "dalu iddo ef drachefn," gan y Goruchaf: ond wrth roi at athrofa, yr ydis yn rhoi fel y rhoddid at y babell neu'r deml. Ni olygir fod yn y cardotyn ddim teilyngdod neu haeddiant, ac onidê, nid ellid edrych ar yr hyn a roddid iddo yn drugaredd neu yn elusen; ond teilyngdod yr achos yn unig, ac nid tosturi, sydd yn ein cymhell i gyfranu at athrofa, ac at bob achos crefyddol. Y mae hyn yn beth mwy cyhoeddus, ac yn cael ei roi yn fwy uniongyrchol i'r Goruchaf, er dwyn ymlaen amcanion ei deyrnas yn y byd. Y mae y peth ar dir uwch na rhoddi elusen o gymaint ag y mae pethau yr enaid yn fwy na phethau y corff. Yr esboniad a rydd Geiriadur Duwinyddol Jones, Pen-y-bont-ar-Ogwy, ar Elusengarwch yw, ei fod yn golygu "tosturi at ddynion mewn helbul a thrallod—cydymdeimlad â hwynt yn eu gofid a'u hanghenoctyd—parodrwydd i'w cynnorthwyo os bydd genym fodd—gofid am nad allem eu cynnorthwyo yn effeithiol a hollol—cyfraniad llawen, tirion, a helaeth yn ol ein gallu at eu hanghenion —dyfal barhad yn y gorchwyl clodwiw."

Y mae Doctor Paley yn dosbarthu y gair *charity* i dri pheth; sef "i roddi elusenau blyneddol i'r anghenus, i roddi swm at sefydlu meddygdai, ac i roddi cardod er gwared y cardotyn o gyfyngder." Dywed ef am y diweddaf "fod dynion yn cael eu goddiweddu gan gyfyngder y byddai pob gwaredigaeth arall yn rhy ddiweddar." Yr ydym yn gweled yr ystyriaethau a rydd Dewi Wyn i elusengarwch, yn gwneyd pob peth cysegredig yn elusen fel elusen i dlawd; ac y mae efe drwy hyny yn darostwng gosodiadau pendant yr efengyl, yn gymaint ag fod yr hwn sydd yn derbyn yr elusen ar is tir na'r hwn sydd yn cyfranu. Cymysgu pethau â'u gilydd yn ormodol y mae ein hawdwr, yn ddiammhau, heb feddu golygiadau clir ar y pethau y mae gwahaniaeth amlwg rhyngddynt.

Elusen y golyga efe waith Lot yn derbyn angelion. Os ydyw hyny yn wir, fel cardotwyr yn derbyn elusen y mae holl bregethwyr yr efengyl wedi bod, drwy y blyneddau, wrth gael eu derbyn i dai eu cyfeillion crefyddol; ac fel cardotyn yr oedd Iachawdwr y byd yn troi i dŷ Lazarus a Mair, a'r prophwyd Eliseus yn troi i dŷ y Sunamees. Gwrandawer y bardd,—

"Lot a roddodd lety, o'r eiddo
I engyl nef; haddef yw iddo;
Mwy 'r fraint a'r haeddiaint i a'i rhoddo
I'w breninoedd heb arian heno.

Cardotyn, bid cariad ato,—yn nheyrnas
Duw a deg dinas odidog dano.
Rhoi bwyd sydd well na'r bydoedd—i fagu
Pendefigion nefoedd;
Groesawu gwŷr sy ar g'oedd
Fry 'n eu henwau 'n freninoedd.

Darbodaeth Awdwr bydoedd,
Wrth ei air a'i gyfraith oedd;
Ordeinhad ni roed o nef
Fwy diddadl i fyd addef.

Hen Feibl, a hwn o'i faboed,
Sydd dros yr achos, erioed;
Yr Jubili ar ei blaid;
A degwm, dâl bendigaid:
Tâl ydoedd i'r tylodion;
A thâl at wasanaeth Iôn."

Y mae yr awdwr, yn ol ei arfer, yn cymysgu y Jubili a'r degwm at y pethau eraill, gan wneyd y cwbl yn elusen; pan mewn gwirionedd nad oedd elusen byth yn cael ei mesur, ond gadewid y peth at farn y rhoddwr. Yr ydym ni ymhell o fod o'r un farn a'r awdwr, gyda golwg ar gynnaliaeth neu lety, i'r rhai sydd

"Fry'n eu henwau'n freninoedd,"

oblegid fel hawl (*right*) yr ystyriwn ni gynnaliaeth pregethwr, pa un bynag ai gartref ai oddicartref y byddo, ac nid fel elusen; canys y mae gwerth am werth yn cael ei roddi; megys y dywed yr apostol, "Os nyni a hauasom i chwi bethau ysbrydol, ai mawr yw os nyni a fedwn eich pethau cnawdol?" (1 *Cor.* ix. 11.) Y mae yn debyg mai fel elusen y golygai efe bob tamaid a roddai i bregethwr a elai tua y Gaerwen; ac y mae yn debyg fod gormod o frodyr i'n bardd yn y Dywysogaeth eto, ac onidê, byddai eu cyfraniadau at achos crefydd, yn ei gwahanol ranau, yn llawer helaethach nag ydynt.

Y mae cyfeiriad ein bardd at Job yn chwilio allan y cwyn ni wyddai, yn briodol; a'i annogaeth i'r galluog i wneyd ciniaw i rai gweinion yn dlws,—

"Ac o cheri Iesu Grist fel cristion,
Amlyga dy gariad i'r tlawd gwirion;
Edrych am anwyl gadw ei orchymynion:
O gwnai ryw giniaw gwna i rai gweinion."

* * * *

Y mae ei ddarluniad o'r cyfoethog gorthrymus didrugaredd yn ddychrynllyd;—

"Yn ei liain main, mynai
Fyw 'n foethwych, dan fynych fai,
Llidiodd wrth bob llwydaidd ddyn,
Yn ei ddrysau 'n ddiresyn.
I ddwyn dim oedd yn ei dai
Ni thyciai gair na thocyn;
Rhoi i'w gwn ar ei giniaw;
Ond dal y trist ddyn tlawd draw.
Ymhyllai, dwrdiai bob dydd,
Cernodiai eu cornwydydd;
Dydd y farn gadarn ar g'oedd,
Eithradwy y gweithredoedd;
Duw a rydd ei dir a'i waith,
A'i hen eiddo yn oddaith,
A bydd yr hen gybydd gau
Yn eu canol yn cynau;
Ei dda am fyth am ddim fydd,
Ond i'w enaid yn danwydd.
Nis gwnaed gwisg i'w enaid gau,
Na 'i gorff llwm, ond gwaew 'r fflamau,
Ni cha yntef yn grefwr,
Byth yn ei safn ddafn o ddwr
I oeri tafod eirias,
Dloted fydd y cybydd cas."

Nid rhyw ganmoliaeth fawr a roddid i'n bardd am haelioni yn ei fywyd. Os ydoedd yn un caled, mae yn syn iddo allu tynu darlun mor erchyll o gyflwr y cybydd ar ol marw ag ydyw y darlun hwn. Nid allwn ni gytuno â'r awdwr fod y "cywir Ditus" yn gardotyn,—

"Cardotai 'r cywir Ditus;—trysorydd
Oedd a chasgliedydd i'w hachos clodus;
Bu 'r mad Ganwriad, yn wir,
Was cywir a Zachëus."

Y mae y llinellau yn gynghaneddol iawn, y mae yn wir; ond nid yn bryd-yddol nac yn gywir o ran eu syniadau.

Yr ydym yn cofio yr amser y meddylid llawer iawn o'r llinell hon:—

"Dacw 'r anwylyd Cornelius,"

o herwydd fod yr awdwr wedi gallu cynghaneddu enw Cornelius mor dda; ond nid oes ynddi ddim i daro neb ond y rhai a ddeallant ddirgelwch y gynghanedd.

Cymhelliad cryf i roddi elusen yw cofio yr hyn a wnaeth Crist drosom ni; megys y dywed y bardd yn effeithiol:—

"Ys Crist, yn drist, dan boen drom,
Fu o'i rad ras farw drosom,
Gwael na roem, o galon rydd,
Ein golud dros ein gilydd;
Gwiliwn ddrwg galon ddi ras
Annuwiol Annanias."

Rhydd i ni yn y rhan yma o'r awdl hanes athrawiaeth elusen yn dyfod o'r dwyrain i Brydain. Gymaint oedd y Derwyddon drosti:—

"Cyn cred, ddeheued oedd hon
O'i thu 'r oedd doeth Dderwyddon."

Rhed yn ol, yn bresennol, at ein Mordaf, a'n Nudd, ein Rhydderch, a'n Hifor Hael,—mai yn y nef y mae ffynnon elusen:—

"Pres fwnai Paris fynydd,—aur Peru
Eu parhad a dderfydd,
Rhad hon heb unon beunydd
Yn fwy fwy o nef a fydd.
Daioni a dywenydd
Ail i'r haul a'i oleu rhydd,
Y Duw da fu 'n gwneud y dydd
A'r twr ser yw'r trysorydd.
Efe a lywia 'n ddi lys,
Ei waith oll wrth ei wyllys;
Mewn mynyd, man y mynawdd,
Y dwr yn win a droi 'n hawdd.
Trumau Ew'rob, creig bro brid,
Eryri gwnai 'n fyrierid;
A'r clai'n fwnai neu ffanaur,
Ail i Beru, lwybrau aur,
Anian fawr a wna'n forwyn;
Ednod a physg dysg i'w dwyn;
Plydd aur ac epäod,
Ac oll a fu ac eill fod;
Y ddaear yw eiddo'r Iôn:
Holl nwyfau a llu Neifion?
Lloer a'i nwyfau, llu'r nefoedd,
Eiddo y cwbl, ddaw ac oedd.
Ei radau ymddiriedodd
Dan eu rhif, Duw in' a'u rhodd;
Nid ein heiddo ni ydynt,
Ei eiddo ef heddyw ynt.
O'i drysawr gwerthfawr ar g'oedd
Torwn eisiau teyrnasoedd:
Na chynnilwch, anwylyd,
Tâl Duw gost y tlawd i gyd."

Dyna ddarluniad prydferth a nerthol o feddiannau y Bod Goruchaf, a'r calondid sy genym i gyfranu i'r tlawd. Oddiwrth hyn y mae ein hawdwr yn rhedeg at drethi, at Sior y Trydydd, at ein seneddwyr, ac at y degwm; nid am fod y pethau hyny yn dal un berthynas neillduol âg elusen, ond am fod ar ein bardd eisieu rhywbeth i'w ddyweyd, y mae yn debyg, ac ei fod yn hoffi cael cyfleusdra i roi ergyd yn nhalcen yr Eglwys Wladol:—

"Rhoi 'r digon i weinion wyr,
Mae 'r degwm i'r diogwyr."

Y mae can gased genym ni ddegwm ag oedd gan Ddewi Wyn; ond yr ydym yn meddwl y gallesid gwneyd heb ei grybwyll yma, oni buasai i'r awdwr roi esboniad i ni arno; sef, fod rhan o hono i fyned i gynnal y tlodion. Ond ni fuasai dim a wnelai hyny drachefn âg elusen; canys peth i ddyfod yn wirfoddol yw hòno, heb gymhelliad na chyfraith. Y mae yr awdwr yn myned ymlaen wedi hyny i ddangos rhagoroldeb Prydain yn

estyn ymwared i deyrnasoedd oedd wedi eu darostwng i dlodi trwy ryfeloedd a thywallt gwaed:—

"Pan fu goruthrau, taranau, trinoedd,
Yn taro 'n isel iawn y teyrnasoedd.
* * * *
Aberthai Prydain lydain oludoedd
Blaendorai eu blinderoedd—bendithion
Y truenusion dd'ont arni oesoedd."

Y mae yn dangos fel yr ymwelai â charchardai,—

"Caethiwed llaw galed, lle y gwelai,
Gerwin lymder, croch oerder carchardai,
Yn dosturus, arwylus eiriolai,
Ar ran y dinerth er na adwaenai;
Casglodd, anfonodd fwnai—i'w gwared;
Hoew law agored, a hael y gyrai."

Prin y gallwn weled priodoldeb "croch oerder."

Yma cymer y bardd olwg eang ar weithrediadau y Feibl Gymdeithas. Y mae y darn a gyfansoddodd ar hyn mor adnabyddus ag unrhyw ran o'i waith; ond os nad elusen yw rhoddi at gymdeithasau crefyddol, y mae yn hollol anmhriodol mewn awdl ar elusengarwch; buasai yn fwy priodol mewn awdl ar lwyddiant yr efengyl. Y mae efe yn cyfrodeddu enwau gwledydd yn rhyfedd; ac y mae y darn yn llawn o gynhyrfiad. Nid allwn mewn un modd olygu fod yn briodol dyweyd am Jehofa,

"Hynod ddarbod e dderbyn,
Yntau o gardodau dyn.
Hynod iawn y daioni
Yr Ior nef, rhoi 'i air i ni,
Mwy rhyfedd, Duw mawr, hefyd,
A'i lyfr bach ar blwyfau 'r byd.

Yr ydym yn edrych ar y llinellau uchod fel truth disynwyr, a chwidr ffol, heb ddim cyffelyb iddo, hyd y cyrhaeddodd ein sylw ni, i'w weled mewn awdwr hen na diweddar. "*Duw ar y plwyf!*" Gwarchod pawb! Ni chlywyd erioed y fath athrawiaeth ryfygus! Y mae yma gymysgedd rhyfedd; oblegid os derbyn elusen y mae Jehofa, neu gardodau, pa briodoldeb sy mewn son am "fod ar y plwyf;" nid elusen yw dogn plwyfol, ond peth sydd yn dyfod drwy rym cyfraith y tir. Y mae gan yr awdwr mewn cysylltiad â hyn bregethu ar ben Golgotha, adeiladu

"Mil myrdd o demlau mân,"

bedyddio yn y Ganges a gwneyd y lle yn fwy enwog nag Ainon. Yr oedd ar Dewi chwant dangos mai Bedyddiwr trwy drochiad oedd efe, o ran ei farn, yn y fan yma; ond y mae hyny yn beth pell iawn oddiwrth y testun!

Ar ol gyru eilun-addoliaeth o'r byd, y mae efe yn dangos fel y terfynir caethfasnach,

"Y rhawg cofir rhoi cyfoeth,
Ac aur nef i Negro noeth.
Nid tywys Indiaid duon,—mwy 'n orthrwm,
Yn wrthddrych tor calon;"
* * *

Yr oedd y bardd wedi colli arni yn y fan yma yn lân; oblegid nid oes "Indiaid *duon*" i'w cael yn un man!

Y mae y llinellau canlynol ynghylch caethiwed yn effeithiol:—

"Ow! dyn, bryfyn brau, afiach,
Yn dwyn ei bwn, adyn bach!
Rhag ei weled rhed yr haul,
Wres araul yn brysurach."

Y mae efe yn rhoi dyrnodiau trymion ar ben gormes, ac yn talu molawd priodol i Wilberforce. Y mae efe yn rhedeg yn ei ol eto at lwyddiant yr efengyl a chyfieithu yr ysgrythyrau i iaith y paganiaid; a dychwela i Frydain, ac â drwy y senedd, a gwaedda yn groch am i dreth yr yd gael ei dileu, a threthi eraill nad ydynt mewn bodolaeth yn bresennol. Pa faint bynag o berthynas oedd rhwng hyn ag elusen, nid oes un ammheuaeth na fu—

"Symudwch y dreth sy'n eu dyfetha,
Un gio 'n aberoedd, un gwlan a bara,"

yn foddion i roi marc ar dreth yr yd; canys daeth y llinellau hyn mor hysbys a'r pethau mwyaf cyffredin yn ngwaith Thomas Edwards, o'r Nant, drwy y wlad oll:—

"Treth ydd ŷd nid rhith o dda."

Daw gorthrymwyr i fewn yn y fan yma am ddyrnod grymus o herwydd eu bloddest a'u hanghof o'r tlawd; a chawn un o'r darluniadau goreu a feddwn yn yr iaith o'r gweithiwr.

"Yn ymyl barn, aml y bu,
Drudaniaeth yn dirdynu;
Gwaethu cyflog y gweithiwr,
Arno bu curo, bob cwr;
Mae y gŵr yn ymguraw,
A'i dylwyth yn wyth neu naw:
Dan oer hin yn dwyn y rhaw,—mewn trymwaith
Bu ganwaith heb giniaw.

Aml y mae yn teimlo min
Yr awel ar ei ewin;
A llwm yw ei gotwm, gwel;
Durfing i'w waed yw oerfel.
Noswylio yn iselaidd,
A'i fynwes yn bres oer, braidd!
Bu helynt cael ei blant cu,
Oll agos a llewygu!
Dwyn ei geiniog dan gwynaw,
Rhoi anghen un rhwng y naw.
Edrych yn y drych hwn dro
Gyr calon graig i wylo:
Pob cell a llogell egyr,
A chloiau dorau a dyr."

Y mae yr englynion canlynol yn ddarluniadol o gyflwr cardotyn,—

"Credu ateb cardotyn—gwan, distadl,
Gan dystion sy'n canlyn;
Nabod iaith wyneb y dyn
Tecach na darllen tocyn.

Digon o dystion dystaw—yw'r corpws
A'r carpiau am danaw;
Tru yw dull hwn, troed a llaw,
'Rwy'n gweled bron ag wylaw."

Go dywell yw

"Tecach na darllen tocyn."

Y mae yn debyg mai at bapyr fydd gan gardotwyr yn mynegu eu hachos y cyfeiria.

Y mae yn yr awdl hon rai tarawiadau i'r byw o farddoniaeth bur, eithr y mae ynddi ormod o bethau anmherthynasol. Os caiff dyn ryddid i wneyd fel y myno â thestun, nid oes lun na thery ef yr hoel ar ei phen weithiau; ond rhywbeth yn fwy o ddamwain fydd hyny nag o fwriad. Yr oedd gan Dewi Wyn feddwl mawr o'r awdl hon; ac y mae yn ddiau i'r a wnaed â hi yn Ninbych ei dwyn i fwy o sylw ddengwaith nag y i heb hyny, er fod ynddi bethau gorchestol. Ond nid allwn edrych fel cyfanwaith ardderchog, eithr yn hytrach fel darnau o farddoniaeth, rthyn i lawer iawn o destunau, wedi eu dodi wrth eu gilydd heb

gynllun na threfn. Y mae yn cynnwys rhai o'r pethau mwyaf gorchestol a wnaeth ein bardd, ac hefyd, yn eu plith, rai o'r pethau gwaelaf a gyfansoddodd efe erioed. Meddyliem, wrth ddechreu ysgrifenu, am fyned drwy "Flodau Arfon" yn lled lwyr mewn un ysgrif; ond gwelwn, erbyn hyn, fod genym ddefnyddiau gogyfer â rhifyn eto o'r "Traethodydd."

---

## SABBOTH YN NGHAERLLEON.

RHODDES y ddaear lawer cylchdro o gwmpas yr haul er pan y cawsom yr hyfrydwch o dreulio Sabboth yn Nghaerlleon Gawr. Yr oeddym yno yn gynnarol ddydd Gwener, a thrwy hyny, wedi diwallu yr awydd oedd ynom am weled ei gemau hynafiaethol, a chywreinrwydd ei heglwys gadeiriol, cyn dyfod y Sabboth; a theimlasom dueddfryd cryf am wneyd hyny, fel y caffem hamdden i gydaddoli â'n cenedl yn eu synagog, yn nysymlrwydd ein dull a'n iaith ein hunain.

Wedi holi yn lled fanwl am y Cymry, ac ansawdd crefydd yn eu plith, yn hen ddinas Caerlleon, cawsom allan fod y *barometer* crefyddol yn arddangos cynhesach tymher yn yr awyrgylch na dim a synid yn gyffredin. Yr oedd yno, y pryd hyny ddau gapel gan y Cymry—ond erbyn heddyw yr ydym yn deall fod ein cyfeillion yr Annibynwyr wedi agoryd capel yno hefyd, a chanddynt eglwys fechan wedi ei ffurfio. Tarawsom wrth ŵr lled dafodrydd a gwybodus o ansawdd ein cenedl; a chawsom ddifyrwch ac adeiladaeth yn ei gwmni. Dywedai ein cyfaill wrthym, fod yn y ddinas boblog hòno, heblaw yr hen eglwys gadeiriol, ddeuddeg o rai is-raddol yn dyrchafu eu pinaclau i'r awyr, ond fod un neu ddwy o honynt wedi eu cau i fyny o herwydd rhyw ddiffygion anhysbys iddo ef. Y mae yno hefyd un capel mawr ac eang gan y Wesleyaid Seisonig—un yn perthyn i'r *New Connexion*—un gan y Presbyteriaid—un gan Gyfundeb Lady Huntington—un gan y *Primitive Methodists*—dau gan yr Annibynwyr Seisonig—un gan y Bedyddwyr Seisonig—ac un gan y Pabyddion, heblaw amryw fân-ystafelloedd gan eraill oedd yn llochi barn a mympwy wahanol: a chyda y rhai hyny ddau gapel gan y Cymry—y Trefnyddion Wesleyaidd a Chalfinaidd. Bwriasom olwg hefyd ar boblogaeth y dref, a pha nifer o'r rhai hyny oedd yn arfer myned i leoedd o addoliad ar y Sabboth, a pha faint o honynt oedd yn Gymry. Dywedai ein cyfaill, fod o fewn i gaerau, ac yn amgylchedd, neu faesdrefi, y ddinas, o saith i ddeng mil ar hugain o drigolion; ac yr ydoedd efe yn lled sicr yn ei dyb, fod yno o bump i chwe' mil o leiaf o honynt yn Gymry. Ond yn gysylltiol â hyny, dywedai, fel ffaith gofidus, ddarfod i gyfrifiad gofalus gael ei wneyd o nifer yr addolwyr yn ninas Caerlleon yn y dull canlynol:—Daeth i feddwl rhai gwŷr duwiol, ag oedd "yn galaru o herwydd anwiredd y ddinas," geisio sefydlu "Cenadaeth ddinasol," a chael gwŷr llafurus ac ymroddgar i fyned o dŷ i dŷ, i ymweled â'r rhai ag oeddynt yn baganaidd eu moes a'u harferion, yn y ddinas aml ei themlau. Ar un nos Sabboth arbenig, gosodwyd

gŵr yn mhob capel, eglwys, ac addoldŷ, heb adael heibio gapel y Pabyddion na'r mân lofftydd neillduedig, i gyfrif y gynnulleidfa; a chafwyd cyfanswm yr addolwyr yn WYTH MIL (8,000) o eneidiau. Ha! ddinas esgobawl Caerlleon, sydd yn llawn o adfeilion crefydd-dai yr oesoedd, pen, a phinaclau deuddeg o Lanau "yn cyfeirio tua'r nef," a chynnulleidfaoedd deg o gapeli yn gwau drwy eu gilydd ar dy heolydd ar nos Sabbothau, ai gwir yw, nad oes ond llai na'r drydedd ran o'th drigolion yn ymgynnull o amgylch dy allorau crefyddol o bob natur a rhyw! Cywir y barnodd rhai gwŷr crefyddol yn addas roddi y peiriant galluog hwnw, sef y genadaeth ddinasol, ar waith ynot. Boed iddynt bob llwydd, a gwened Duw ar eu gwaith.

Daeth y Sabboth, a chyda gwawr y dydd, dyma y clychau yn y gwahanol eglwysi yn dechreu chwareu—chwareu a ddywedasom—ïe, chwareu, a pha air a gawn yn well? Er hoffed yw y Sais o'i "*Church-going bell*," a'i "*Sabbath-bell*," nid dyna oedd pob cloch oedd yn canu. Galwai cloch yr eglwys gadeiriol, mae yn wir, i weddïau saith o'r gloch y boreu,—ond felly y gwnelai bob dydd—a'r swn arall, gan mwyaf, oedd dinciad y clychwyr yn rhugl-ddysgu erbyn yr awr yr oeddynt i alw i'r eglwys!

Wedi troi ac ymdroi tipyn ar hyd yr heolydd, a chael ein cyfarwyddo at y capel Cymraeg, troisom tuag yno. Yn awr, goddefer i ni roi yma grybwylliad o sefyllfaoedd y capeli Cymreig yn ninas Caerlleon, canys dichon y bydd o gynnorthwy i rai a elo yno o'r Dywysogaeth, yn ddyeithr hollol, ac heb fedru gair o Seisoneg. Dodasom i lawr ar y pryd yn ofalus, fel nad anghofiem, fod addoldŷ y Trefnyddion Wesleyaidd mewn heol fechan o'r enw *Hamilton-place*, yn troi allan o *Northgate-street*; a bod eiddo y Trefnyddion Calfinaidd mewn heol a elwir *Commonhall-street*, yn troi allan o *Bridge-street*; a deallwn fod capel ein cyfeillion yr Annibynwyr yn *Back Brook-street*. Nac eled Cymro uniaith fyth i Gaer am Sabboth heb ymweled âg un o'r tri lle hyn.

Yr oedd oddeutu deg o'r gloch pan aethom at y capel, ac yn foreu lled oeraidd; a buan y deallasom ein bod mewn cymydogaeth Gymreig, o herwydd y moes-gyfarchiadau cyfeillgar a daflai y mynedyddion prysur at eu gilydd, er nad oeddynt mor lïosog a Chymry brwdfrydig Lle'rpwll a Chaerdyn (os dyna enw *Manchester* yn Gymraeg). Aethom i oriel y capel rhag blaen; ac er nad oedd yno ŵr wrth ei swydd yn dodi dyeithriaid mewn eisteddleoedd, aethom i fewn i un, ac yr oedd gwên y meddiannwyr, tybygem, a ddaethant i mewn ar ein hol, yn dyweyd fod i ni gyflawn groesaw. Lled deneu oedd y gynnulleidfa ar y cyfan, ac nis gallem lai na gofidio, os oedd amcan-gyfrif ein cyfaill y nos o'r blaen, o boblogaeth Gymreig y ddinas, yn gywir, "fod yno o bump i chwe' mil o Gymry diledryw," pa fodd yr oedd yno gynnifer o eisteddleoedd heb eu llenwi? Fel rheswm am hyny, cynnygiwyd i ni yr ateb canlynol:—"Y mae prif nerth cynnulleidfaoedd y Cymry yn Nghaer yn cael ei wneyd i fyny o wasanaethyddion, y rhai na allent ddyfod ond ar brydiau."

"Diboen i ddyn dybio yn dda."

Dechreuodd y moddion. Wedi ymdwymno ychydig wrth *stove* wresog yn nghanol y capel, esgynai i'r areithfa, neu y pulpud, hen ŵr prydferth yr olwg arno—heb fod yn dâl o gorffolaeth, nac yn crymu gan henaint ychwaith. Yr oedd ganddo ar y pryd gap du am ei ben, "a chôt fawr"

S. W. oedd berson Llangunllo, yn sir Aberteifi.

8. ¶ "Yr Ymarfer o Dduwioldeb, &c. Y chweched argraffiad yn Gymraeg, wedi gwella llawer o gam yspeiliadau oedd yn yr argraffiadau eraill. Argraffwyd yn y Mwythig gan Thomas Jones."

Gwel rhif. 1, 1630; rhif. 2, 1656; rhif. 4, 1675; rhif. 2, 1685; a rhif. 11, 1700.

9. "Tour to Hafod, by J. E. Smith, M. D., F. R. S., &c. Accompanied with splendid Views of the Scenery in the Grounds and adjacent Country. London 7110." Unplyg mawr.

10. "Cardiganshire described with the due form of the Shire Towns, as it was surveyed by J. T. 1710. (John Speed)."

1711.

1. "Yr Athrawiaeth y sydd yn ol duwioldeb, gwedi ei seillio ar Sanctaidd Scrythyrau'r Gwirionedd; ac yn gytunol a rhan athrawiaethol Erthyglau a Chyfaddefiadau Protestaniaid Lloegr. At yr hyn y chwanegwyd byr Hanes o Drefn Eglwys 'r Efengyl yn ol y Scrythyrau. Gan Isaac Chauncy, M. A. A chwedi ei gyfieithu i'r Cymraeg gan Matthias Maurice, er cynnydd Gwybodaeth a derchafiad Cyfiawnder, Cariad, ac Efengyl Iesu Ghrist yn marn a bywyd ei Frodyr a'i Gid-Wladwyr anwyl y Cymru. Argraffwyd yn Llundain i'r Cyfieithydd, gan Edm. Powell, yn Black-friars, yn agos i Ludgate. 1711."

2. "Traethawd Ymarferol am gyflawn-awdŷrdod Duw a'i Gyfiawnder ef, ynghyd â'r Pethau pwysfawr ereill, y rhai sydd yn tarddu oddiwrth ei awdurdod ef, sef Etholedigaeth, Prynedigaeth, Galwedigaeth Effeithiol, a Pharhad mewn Gras. Gan Eliseus Cole. O gyfieithiad H. Powell, o Faesclettwr, yn sir Frecheiniog. Llundain."

Hwn oedd y cyfieithiad a'r argraffiad cyntaf o'r llyfr a elwir yn awr "Traethawd Ymarferol ar Benarglwyddiaeth Duw." Y mae yn ei ragflaenu y "Llythyr at y darllenydd," yn cynnwys dau dudalen, a'i arwyddo "H. Powell, Masclettwr, yn sir Frycheiniog, Tachwedd 2, 1711." Yr oedd dadleuon y "pum pwnc" yn frwd iawn yn eglwysi yr Annibynwyr, Presbyteriaid, a Bedyddwyr, yn y Deheudir y dyddiau hyny. Yn un o gymanfaoedd y Bedyddwyr yr annogwyd cyhoeddi y gwaith hwn, fel cais er attal cynnydd yr hyn a ystyrid yn gyfeiliornad gan yr hen bobl. Aeth H. Powell i America tua'r flwyddyn 1712, a sefydlodd yn weinidog i gynnulleidfa yn Cohensey, Jersey Newydd, lle y bu farw, yn 1716.

3. "Holl Ddyledswydd Dyn. Llundain, argraffwyd gan Edm. Powell, yn Black Fryers, yn agos i Ludgate. MDCCXI."

Trydydd argraffiad. Gwel rhif. 2, 1684.

4. Boreuol a Phrydnhawnol Weddiau, i'w harfer mewn Teuluoedd, a chan un Dyn ar ei ben ei hun o'r neilldu. O gyfieithiad Gwr Bonheddig o Sir Gaerfyrddin. Mwythig." 12plyg.

5. "Y Llyfr Gweddi Gyffredin y Cydymaith goreu, &c. Mwythig." 8plyg.

Ail argraffiad. Gwel rhif. 8, 1693.

6. "Ymarferol-waith i'r Elusen Ysgolion, yn egluro Natur Conffirmasiwn. Gan Robert Nelson, Esqr. O gyfieithiad Moses Williams, Llundain. Argraffwyd gan Joseph Downing." 12plyg.

Yr oedd J. Downing yn byw yn *St. John's Lane*, ac yn argraffydd i'r "Gymdeithas er lledanu Gwybodaeth Gristionogol."

7. "Boreuol a Phrydnhawnol Weddi i Deulu. O gyfieithiad Moses Williams. Llundain, argraffwyd gan Joseph Downing." 12plyg.

8. "Cas gan Gythraul, neu Annogaeth i bawb ochelyd myned i ymgynghori: â Dewiniaid, Brudwyr, a Chonsurwyr, gydac Eglurhad ynghylch y perigl mawr o fyned i ymgynghori â hwynt, a chrybwylliad ynghylch llawer o arferion a thraddodiadau drygionus, sydd yn cael eu harferyd yn Nghymru. Argraffwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, gwerthŵr Llyfrau."

Y mae "T. P." wrth ei ragymadrodd, gyda yr amseriad, "Mis Medi y 15, 1711."

9. "Llyfr y RESOLUTION, neu hollawl ymroad i roi'r cwbl o'n Bryd, a'n meddwl, a'n holl nerth, a'n gallu i Wasanaethu Duw. Er mwyn cael dedwyddwch ac Iechydwriaeth i'n Heneidiau. Cyfieithwyd o'r Saesnaeg i'r Gymraeg gan Doctor John Davies, o Fallwyd, yn sir Feirionydd. Argraffwyd yn y Mwythig yn y flwyddyn 1711. Ac ar werth yno gan Thomas Durston." 24plyg.

Dywedir mewn lle arall mai T. Jones a'i hargraffodd. Y rhan gyntaf yn unig a gynnwysai yr argraffiad hwn—yn lwmp o lyfr bychan trwchus. Y trydydd argraffiad ydoedd; gwel rhif. 2, 1632; a rhif. 4, 1684. Rhoddwyd argraffiad da a llawn wedi hyn, gwynebddalen yr hwn sydd fel y canlyn;—"LLYFR Y RESOLUTION—DYHEWYD Y CRISTION, yn ddwy ran. Y Rhan Gyntaf sydd yn dysgu i ni bawb roi ein bryd yn Llwyr ar fod yn Gristionogion Gwir, Ac ymadael a buchedd ddrwg, a throi at ddaioni a Duwioldeb. Yr Ail Ran a Draetha am y Rhwystrau i ddynion roi eu bryd ar wasanaethu Duw. A gyfieithwyd gan y Dr. Davies, o Fallwyd. Y iv. Argraffiad. Ar draul Cymro, un o ddinasyddion Llundain. Llundain: Argraffedig gan John Jones, Heol y Capel. 1802." Y mae yn niwedd hwn Weddi yr Arglwydd yn ieithoedd Llydaw a Chernyw, gyda deongliad Cymraeg o'r unrhyw: hefyd "Emyn Ambros ac Awstin, yr hwn a elwir y *Te Deum*, ac a gyfieithwyd yn Gymraeg gan y Ddafydd Ddu o Hiraddug."

10. "Llaw-lyfr y Llafurwr. O gyfieithiad Moses Williams. Llundain, Argraffwyd gan Joseph Downing." 12plyg.

11. "Catecism Sacramentaidd, a amcanwyd er cyfarwyddyd i wasanaeth dynion tlodion, ac a gyflwynwyd at bob Caredig Gristianogion. Mwythig." 12plyg.

12. Llythyr Edward Wells, D. D. at Ymneillduwyr o'i blwyf o farn y Presbyteriaid. O gyfieithiad L. Evans, Athraw Ysgol St. Clears. Mwythig." 12plyg.

13. "Llythyr Edward Wells, D. D., &c. O gyfieithiad G. J. Mwythig." 8plyg.

Yr oedd yn beth lled gyffredin gynt i ddau argraffiad o'r un llyfr gael eu cyhoeddi yn yr un flwyddyn, gan wahanol bersonau. Cyfarfuasom âg amryw esiamplau o'r fath, er nad allwn roddi rheswm boddhaol am hyny.

14. "Llyfr Gweddi Gyffredin, a Gweinidogaeth y Sacramentau, a Chynneddfau a Ceremoniau Eraill yr Eglwys, yn ol arfer Eglwys Loegr, a Psalmau Dafydd, &c. Argraffwyd yn Llundain gan Edm. Powel."

15. "Iolii Vitalis Epitaphicum Commentario. Musgrove."

16. "Mine Adventurer laid open. By T. Waller."

Gwel rhif. 12, 1700; rhif. 5, 1705; a rhif. 8 a 9, 1707.

1712.

1. "Hynodeb Eglwysydd, &c. O gyfieithiad W. Rowlands, A. B., Llundain." 12plyg.

2. ¶ "Yr unrhyw, gan G. J., h. y. Griffith Jones, &c. Wells."

Nid oes amseriad wrtho, a gall mai nid yn yr un flwyddyn y cyhoeddwyd y ddau argraffiad.

3. ¶ "Pregethau gan Edward Jones."

Rhoddwyd y tri uchod yn null ac ar awdurdod Moses Williams.

4. "Cydymaith i Ddyddiau Gwylion ac Ymprydiau Eglwys Loegr, &c. Wedi ei droi yn Gymraeg, allan o'r argraffiad berffeithiaf yn Saesoneg. Gan Thos. Williams, M. A., Eglwyswr Dimbech. Argraffwyd yn Llundain gan W. Bowyer, yn White Fryers. 1712."

Aeth argraffdŷ Mr. Bowyer ar dân yn 1712. Cafodd ganiatâd i gasglu i wneyd y golled i fyny, a daeth y cyfraniadau i 2,539*p*. 15*s*. 2*c*. Yr oedd yn mysg y cyfranwyr 120 o argraffwyr a llyfrwerthwyr, a'u cyfraniadau yn amrywio o 10 swllt i 10 *gini*. Yr oedd *gini* y pryd hyny yn werth 1*p*. 1*s*. 6*c*.[1]

5. "Undeb yn orchymynedig i ymarfer. Llundain."

Ailargraffiad, fe allai, o rhif. 7, 1710.

6. "Hanes y Ffydd. Gan Edward Samuel."

Crybwyllir am yr argraffiad hwn yn y "Diddanwch teuluaidd." Gwel hefyd rhif. 2, 1671; rhif. 1, 1676; a rhif. 5, 1677.

7. "A Reply to the Mine Adventurer laid open." 1712.

Gwel rhif. 12, 1700; rhif. 5, 1705; rhif. 8 a 9, 1707; a rhif. 16, 1711.

1713.

1. "Llyfrgell y Cristion Ifainc, &c. Gan R. Ll. Mwythig." 8plyg.

2. ¶ "Pregeth gan R. Lloyd."

Tebygol mai ail neu drydydd argraffiad o rhif. 1, 1692.

3. "Catechism yr Eglwys wedi ei egluro trwy holion ac atebion, a'i Profi o'r Ysgrythyr, yn bum rhan, a deuddeg dosparth, yn cynnwys byrr ac eglur hanes 1. Cyfammod Cristianogawl; 2. Y Ffydd Gristianogawl; 3. Ufudd-dod Cristianogawl; 4. Y Weddi Gristianogawl; 5. Sacramentau Cristianogawl. Gan John Lewis, Gweinidog Margate, yn Nghent. Mwythig." 8plyg.

Dywedir hefyd mai ei enw priodol oedd James Davies.

4. "Dwys ddifrifol Gynghor i hunan-ymholiad. Wedi ei draethu mewn v. o Bregethau ar 2 *Cor.* xiii. 5. Gan Tho. Wadsworth, M. A., Gweinidog yr Efengyl, Newington, Bucks. Wedi ei gyfieithu gan Thomas Baddy, er mwyn cymmorth i'r cymru i'w hadnabod eu hunain. Caer-Llewon, argraphwyd yn 1713."

5. "Ymddygiad Gweddus yn yr Eglwys, Neu ychydig rhagrybyddiadau ac hyfforddiadau mewn trefn i fwy Defosiynol a pharchedig gyflawniad o addoliant public Duw, megis yr appwyntiwyd gan Eglwys Loegr. O gyfieithiad R. Ll. Mwythig." 8plyg.

1714.

1. "Llythyr Edward Wells, D.D., at Gyfaill ynghylch y Pechod mawr o gymeryd Enw Duw yn ofer, &c. O gyfieithiad Iaco ab Dewi. Mwythig." 8plyg.

Gwel rhif. 12, 1711. Dywed Mr. J. Thomas, yn ei "Hanes y Bedyddwyr," mai gŵr o Landysul, sir Aberteifi, ydoedd "Jaco ab Dewi;" enw yr hwn a geir mor fynych yn gysylltiedig â hen lyfrau; ac y bu fyw flyneddau ger Pencader, gan symud wedi hyny i blwyf Llanllawddog, a marw yn 1723; ond dywed Dr. W. Owen Pugh, yn ei "*Cambrian Biography,*" mai "Bardd enwog, a hynafiaethwr," o Blaen-gwyli, sir Gaerfyrddin, ydoedd, ac iddo farw yn 1722. Nid ydym yn alluog i gysoni yr hysbysiadau hyn.

2. "Holl Ddyledswydd Cristion. Gan John Jones, D. D., Chancellor Llandaff. O gyfieithiad Rees Lewis. Mwythig." 8plyg.

3. "Myfurdodau Bucheddol ar y Pedwar Peth Diweddaf, sef Angau, Barn, Nef, ac Uffern. Llundain." 12plyg.

[1] "*Timperley's Dictionary of Printing and Printers.*"

Ailargraffiad, fe allai, o rhif. 1, 1707, o dan enwad arall.

4. "Cyfeillach beunyddiol â Duw yn Gynddelw neu Ensampl yn muchedd Sanctaidd Armele Nicholas, &c. O gyfieithiad Iago ab Dewi. Mwythig." 8plyg."

5. "Pregeth ynghylch yr hen Ffydd, &c. Caerlleon." 8plyg.

6. "Gemmau Doethineb, neu Ymadroddion doethion, wedi eu chwilio a'u trefnu mewn ffordd (nid anghynefin yn hollawl) i ddyscu Gwybodaeth i Ddynion. Yn gantoedd ac yn ddegau, &c. Gan Rees Prydderch, gweinidog yr efengyl yn sir Gaerfyrddin. Argraphwyd yn y Mwythig gan Thos. Durston tros D. Lewys a Chist. Samuel, yn y flwyddyn 1714."

Un o'r enwogion a ddystawyd yn amser Siarl II. oedd Rees Prydderch. Wedi hyny, bu yn cadw ysgol, neu athrofa, mewn lle a elwir Ystrad-Walter, ger Llanymddyfri, lle y cafodd llawer o ddynion a godasant yn enwog eu dysgeidiaeth. Gorphenodd ei yrfa yn 1698. Ar ol ei farwolaeth y cyhoeddwyd ei waith gan y ddau ŵr a enwir uchod; un o ba rai, sef Christmas Samuel, oedd weinidog i'r Ymneilldüwyr. Y mae "Y Llythyr at y Darllenydd," gan "William Evans," yr hwn oedd yn athraw athrofa Caerfyrddin. Y mae ei bennodau wedi eu dosbarthu yn ddeg adnod, a phob deg pennod yn gwneyd yr hyn y mae ef yn ei alw yn "Cant. 1," a "Cant. 2," &c., hyd "Cant. 7." Gan fod y llyfr hynod hwn mor ddyeithr, ni a roddwn esiampl o hono:—

"Cant. 7, deg. 7."

"1. Fe addawodd Duw gadw ei Bobl, ac efe a geidw ei Addewid.

"2. Nid oes gymmaint o wahaniaeth rhwng y mwyaf a'r lleiaf o'r rhai Duwiol; ac y sydd rhwng y lleiaf o'r Duwiol, a'r mwyaf moesol o'r Annuwiol.

"3. Mae rhai yn gweled Bai lle nad yw ac heb weled bai lle mae llawer.

"4. Os mynnwn fôd fel y Sainct yn y Nef mewn Gogoniant: y mae yn rhaid i ni fôd fel hwynteu, mewn ufydd-dod ar y Ddaiar.

"5. Gwell yw troi oddiwrth Eulynod at Dduw; na throi oddiwrth Dduw at Eulynod.

"6 Nid digon i ni ymgadw rhag drygioni y Rhith; ond y mae yn rhaid i ni ymgadw rhag Rhith y drygioni.

"7. Nid yw pôb Dŷn di ail anedig yn anhywaith; ond y mae pôb Dŷn anhywaith yn ddi ail anedig.

"8. Mae Gweithredoedd y cyfiawn yn gymmeradwy yn ei ôl ef; ac nid efe ei hun, yn ôl ei weithredoedd.

"9. Nid a fu sy'n parhau heddy, Ac nid y sydd dros byth a bery.

"10. Fe a ŵyr y Credadyn pe pechei efe, na chondemnid ef am ei Bechod: ond y mae efe yn ofni pechu, fel pe condemnid ef am ei Bechod."

Yna y canlyn "Holiadau ynghylch amryw bethau; buddiol i'r Oes ryfygus yma eu hystyried, a meddwl yn ddifrifol am y Cyfrif a ofyn Duw am danynt, ac am bob gweithred yn ol hyn." Ni a roddwn un esiampl:—

"*Holiadau* vi."

"*Ynghylch dodi Plant i Weddio cyn Bwyd, ac wedi Bwyd, yn rhithiol mewn Tafod leferydd i'r Teulu.*

"1. Onid yw y rhai a ddodant eu Plant i ddywedyd Gweddi, cyn, ac ar ôl Bwyd, lle y bo rhai mwy eu hoedran, a'u gwybodaeth na hwynt; yn euog o Offrwm y Clôff a'r Dall i'r Arglwydd; yr hyn oedd Duw yn argoeddi, ac yn ei ffieiddio yn ei Bobl gynt. *Mal.* 1. 8.

"2. Onid yw gwaith pen Teuluoedd yn dodi plant ifeingc o'r Ysgol i weddio, cyn, ac wedi Bwyd, yn Saesonaeg, Ac yn ymfoddloni ar eu gwaith yn gwneuthur hynny, yn arogli yn grŷf o *Opus operatum* y Pabistiaid, yr hyn sydd dyb afiachus.

"3. Onid yw dodi Plant i ddywedyd Grâs, [fel y dwedant] cyn, ac ar ôl Bwyd yn Saisoneg ymysc Cymru, yn ddiadeiladaeth; ac am hynny 'n groes i'r 1 *Cor.* 14.

"4. Onid yw y rhai a wnant fel hyn yn gwatwor Duw, ac yn cymeryd ei Enw ef yn ofer; pan y maent yn dodi y rhai lleiaf eu deall i wasanaethu Duw, yn y môdd nad

ydynt hwy yn ei ddeall; ac yn ymfoddloni ar hynny; pa fôdd yr amddiffynir hyn rhag bôd yn ddiystyrwch, ac yn ddirmyg ar Dduw; yn ôl *Mal.* 1.

"4. Onid yw y rhai a wnant hyn, yn Rhagrithiolac yn dwyllodrus, ac felly 'n mynd tan y wae y mae Duw yn gyhoeddi; yn erbyn y cyfryw rai; *Jer.* 48. 10. Ac yn gwneuthur eu hunain, ac yn dodi eraill y wneuthur, yn groes i'r hyn oedd yr Apostol yn ei ddywedyd, a wnai efe; 1 *Cor.* 14. 19.

"6. Onid yw y rhai a wnant hyn a hwy yn Gymru heb ddeall Saisneg; wrth uno· felly: Yn addoli yr hyn ni wyddant fel y *Samariaid* cyfeiliornus, ac megis rhai yn llefaru wrth yr Awyr; yr hyn ni wnai 'r Apostol Sancteidd, 1 *Cor.* 14. 9.

"7. Onid yw y rhai a wnant fel hyn yn ymfodloni ar ffurf Duwioldeb; ac yn gwadu ei grym hi; 2 *Tim.* 3.

"8. A ydyw 'n gweddu 'n dda, i rai oedranus, a deallus, a Phenteyluoedd, ddodi eu Dyledswyddau ar yscwyddau plantos yn eu Teyluoedd: megis Gweddio cyn, ac yn ol Bwyd, ond y rhai mwyaf eu gwybodaeth mewn duwioldeb, a ddylent flaenori ymhob gweithred Ddyledswydd, ac os plant a'u blaenorahwynt; onid yw hynny yn wradwydd iddynt; *Psal.* 8. 2.

"9. Onid yw 'r cyfryw rai yn dewis y rhai gwannaf anneallusaf, fel y dewisodd *Jeroboam* y rhai gwaelaf, i wasanaethu 'r Arglwydd.

"*Gwrth.* Onid yw Duw 'n ein perffeithio ei Nerth, o Eneuau plant bychain; *Psal.* 8. 2.

"*Atteb.* Ydyw i wradwyddo ei Elynion beth gwradwyddus i henafgwyr a rhai Dyscedig yw fôd plant yn blaenori arnynt hwy, mewn Crefydd.

"*Gwrth.* Y mae 'r Arglwydd yn addo tywallt ei Yspryd ar Blant.

"*Atteb.* Felly y mae efe, fel y cyflawnont eu Dyledswyddau eu hun, yn eu lle, ac nid yn amgenach.

"*Gwrth.* Ni waharddodd Crist i blant Weddio Hosana.

"*Atteb.* Na ddo, fel y Gogoneddyd Enw Duw, trwy wradwyddo ei Elynion y *Phariseaid* cenfigenus."

Y mae yr "Holiadau" eraill yr un mor hynod, ac yn cael eu trin mor gywrain; sef "am Ddawnsio Cymmyscedig"—"Am ddodi Ceiliogeu i ymladd"—Am blant yn priodi heb gennad eu rhieni"—"Am Occreth"—"Am roi Plant iw Magu i eraill"—"Ynghylch codi Bediw, ar Farwolaeth Deiliaid"—"Ynghylch Canueu masweddol a Llygredig"—"Ynghylch Swyno" —"Ynghylch Dewinio, a Thesnio wrth y Ser, ac Amser y Genedigaeth" —"Ynghylch yfed Iechyd"—"Ynghylch Gwallt Llaes." Yna terfyna gyda dernyn rhagorol o'r enw "Dadleuon pechadurieid wedi eu Gostegu, trwy Fuddugoliaeth y Gwirionedd mewn ymddiddan rhwng Gweinidog âg amryw Bechadurieid." Yr ydym yn barnu y byddai adgyhoeddi y llyfr bychan hwn—gyda chofiant bywyd yr awdwr, yn wasanaeth gwerthfawr. Er fod rhai pethau yn anmherthynasol i'r oes hon, y mae y rhan fwyaf o lawer mor briodol yn awr ag oeddynt ddau gant o flyneddau a aethant heibio.

7 "Dirgelwch i rai i'w Ddeall Ac i eraill i'w Watwar Sef Tri aderyn yn ymddiddan yr Eryr a'r Golomen, a'r Gigfran. Neu Arwydd i Annerch y Cymru. Yn y flwyddyn 1653, *Cyn dyfod* 666. Argraffwyd gan J. S. *tros* Nicholas Thomas, â Lewis Thomas, 1714." 32plyg.

Y mae rhaglythyr iddo gan "L. T."—Lewis Thomas—"Mehefin 22, 1714 Om stafell yn y Mwythig dan lun y delyn Gymreig." Dywedir, mewn hysbysiad yn ei ddiwedd, "Y llyfr hwn a werthir mewn Amryw fanau yn Ghymru yn Enwedig gan Lewis Thomas, o Blwy Llangrannog a Nicholas Thomas o Blwy Kennaerth. Pris 9 Ceiniog." Mae yn debyg mai egwyddorwas yn yr Amwythig oedd N. Thomas y pryd hyn. Yn mhen ychydig flyneddau eto, ceir ef yn argraffu ar ei draul ei hun, wedi sefydlu yr ail argraffwasg yn Nghymru.

8 "Rhybudd Teg Mewn Pryd da. Sef Llyfr bychan yn dair rhan; Rhan i. Yn cynnwys Stori yn dangos mor wag yw 'r Byd i hydery arny. Rhan ii. Yn

cynnwys Deunydd a chymmwysiad yr ystori. Rhan iii. Yn cynnwys cyfarwyddiadeu i gadw cydwybod lân. E las a gafas rybudd, ac ni las a'i Cymmerodd. Argraffwyd yn y Mwythig gan Tho: Durston. 1714."

9. "Cyfoeth i'r Cymru. Neu Drysor y Ffyddloniaid, wedi ei Egoryd Mewn amryw o Bregethau; Er Mwyn gwneuthur gwerthfawrogrwydd hawddgarwch a godidawgrwydd Christ yn fwy adnabyddus dymunol a Chymeradwy. A'r Nefoedd yn agored, a'r uniawn Ffordd iddi, Mewn dwy bregeth, Gyda Galwad i bechaduriaid gan Grist ei hun. A Rhybydd o'r nefoedd i wilio a gweddio, ac ymbaratoi erbyn Marwolaeth a'r farn. Gan William Dyer. Argraffwyd yn 1714." "Hwn yw 'r ail Argraffiad or llyfr hwn yn Gymrag. Wedi ei brintio yn llawer mwy cywir a chyflawn na 'r Argraffiad cyntaf." *Cefn y Gwynebddalen.*

Gwel rhif. 4, 1688.

10 "Caniadau Nefol; Sef Agoriad ar y Bennod gyntaf o Ganiadau *Solomon*, ar fesur Cerdd, Ynghyd. A rhai Hymnau Ysprydol. O Waith *Davydd Lewys*, Gweinidog yr Efengyl. Argraphwyd yn y Mwythig Gan Tho. Durston yn y Flwyddyn 1714."

1715.

1. "Trugaredd a Barn, &c., Llundain."

Ailargraffiad. Gwel rhif. 1, 1687.

2. "Pregeth a bregethwyd ar y dydd cyntaf o fis *Mawrth* yn y Flwyddyn 1714, Yr hwn oedd Ddydd Gwyl St. Dafydd. Gan George Lewis, M.A. Caplan i'r gwir Barchedig Arglwydd Ioan Escob Bangor. Argraphedig yn *Llundain* gan Edm. Powel, Ac ar werth gan Charles King yn Westminster Hal, a chan Edm: Powel yn *Black-fryres* yn Llundain 1715."

3 "Cydymmaith i'r Allor yn dangos anian ac angenrheidrwydd ymbaratoad Sacrafennaidd modd y derbyniwn y Cymmun bendigedig yn Deilwng, &c O Gyfieithiad Moses Williams. Llundain." 12plyg.

4. ¶ "Galwedigaeth ddifrifol i'r Crynwyr, i'w gwahawdd hwy i ddychwelyd i Grist'nogaeth. O gyfieithiad Theophilus Evans. Mwythig." 8plyg.

5. ¶ "Godidowgrwydd, Rhinwedd, ac Effaith yr Efengyl. Mwythig." 8plyg.

9. ¶ "Euchologia, neu yr Athrawiaeth i arferol Weddio. Gan Ioan Prideaux, Esgob Caerfrangon. O gyf. Rowland Vaughan, Esqr." 8plyg.

1715—1716.

¶ "Ymddangosiad dilys a disymmwth CRIST i Farnu 'r Byd."

Traethawd ydyw ar *Dad.* xxii. 20, o fwy na 350 o dudalenau. Y mae yn ei ddiwedd "Ysbysiad" am gyhoeddi cyfansoddiad newydd o'r Salmau ar gân; ynghyd â chynllun o hono, yn cynnwys y Salm I, fel hyn:—

"Y dŷn nid â dŷn dedwydd yw
i Gynghor Gwyr dirâs,
Ni thramwy 'w Ffyrdd tra byddo byw
ni châr mou gwawdjaith gâs.

Yng Nghelloedd gwych ei Galon jach
mae'n cuddio Geiriau Duw,
Ei Feistr Gwaith yw'r Beibl bach
ei Gyfaill Gwely yw.

Saif hwn yn beraidd bren o hŷd
ar Lan ŷ Nefol Nant:
Nid Dig y Diawl, nid Bâi y Byd
all chwythu hwn i bant.

Bydd Dail ei Broffes byth yn llawn,
tra gwyrf a gwyrdd eu Gwawr
A Ffrwyth Sancteiddrwydd fel y Grawn
fai'n pyngo 'r llwyn i'r llawr.

Ond nid fel hwn, medd Duw, fydd Rhan
yr enwir drwg eu Hynt;
Fel main Us mân eu Gobaith Gwan
a chwelir gan y Gwynt.

Fe aiff gan Ddiawl i Uffern dân
y Dorf annuwiol drist
Pan gaffo 'r Saint mewn Braint a Bri
Le ar Ddeheulaw Crist.

Can's Calon Duw a'i Serch y sy
ar Ffyrdd y Cyfion call
Ond Trawsffyrdd y Troseddwyr hy
sy'n mynd i Lety'r Fall."

Pa un a gafwyd cefnogaeth i gyhoeddi y salmau hyn, nis gwyddom; ac nid ydym yn gallu anwesu unrhyw ofid am yr amddifadrwydd o honynt, os yw yr uchod yn gynllun cywir o'r cyfansoddiad a'r argraffwaith. Gwell genym yr hen "Archddïacon Meirionydd," er ei waethed.

1716.

1. "Llythyr at y Merthyron yngharchar. Gan St. Cyprian. O Gyfieithiad J. Morgan. Llundain." 12plyg.

2. "Llythyr at y cyfryw o'r Byd, ac sydd raid eu deffroi a'u cyfarwyddo, er lleshad a Budd tragwyddol eu Heneidieu, tan y penau a ganlyn, sef, Meddwl ac Ystyried, i. Pa beth ydynt, A chydâ hynny Eglurhad byrr i'r Credo, &c. Gan Garwr Eneidieu, &c. Wedi ei gyfieithu gan *Iaco ab Dewi* i'r Gymraeg. Printiedig yn y Mwythig, gan John Rhydderch, ar Draul David Lewis, Christmas Samuel, a William Davies. 1716."

3 "Gweledigaeth David Evans, o'r Plâs Du, yn Sir Drefaldwyn. Mwythig." 8plyg.

4. "Drych y Prif Oesoedd, Yn ddwy Ran. Gan Theophilus Evans. Argraphwyd yn y Mwythig, gan John Rhydderch tros yr Awdur 1716."

5. "Y Cymunwr ystyriol, neu Eglurhâd Athrawiaeth Sacrament Swpper yr Arglwydd, &c. Gan William Fleetwood, D.D. Esgob Llan Elwy, yn awr Esgob Eli. Llundain." 12plyg.

6. "Pregeth a bregethwyd yn Nghapel Tŷ Ely, yn Holburn, yn Llundain, ar Ddydd Mercher, ym Mehefin y 7, 1716, Dydd y diolchgarwch cyhoeddus am fendŷth Duw ar Gynghorion a'r arfau ei Fawrhydi yn llonyddu y Gwrthryfel annaturiol diweddar. O Gyfieithiad Iago ab Dewi. Mwythig." 12plyg.

Y "Gwrthryfel annaturiol" hwnw oedd yr un a gododd yn Scotland ar ddyfodiad Sior I. i orsedd Lloegr.

7. "Ufudd-dod Eglwys Loegr i'r Brenin George, &c. Llundain." 12plyg.

8. "Llawlyfr y Gwir Gristion. Mwythig." 12plyg.

9. "Regæ Societatis Utriusque Socii Geta Britannicus—Musgrove. 1716."[1]

10. "Gwirionedd y Grefydd Grist'nogol. O waith Hugo Grotius. A gyfieithwyd gan Edward Samuel, Person Betws *Gwerfil Goch*. Argraphwyd yn y *Mwythig*, gan John Rhydderch, yn y Flwyddyn 1716."

11. "Cywydd i'r Merthyron. Llundain." 12plyg.

12. ¶ "Myfyrdod Comfforddus i Gristionogion. Llundain." 8plyg.

13. "Ufudd-dod i Lywodraeth a Chariadoldeb, wedi eu gosod allan mewn pregeth a adroddwyd yn Eglwys St. Paul, yng Ngardd y Myneich, ar Ddydd gwyl Ddewi, sef y dydd cyntaf o Fawrth, 1715. Llundain." 8plyg.

Cyhoeddwyd y bregeth uchod yn y ddwy iaith, gan yr un, ac yn yr un plygiad.

14. "Pregeth ar Act. xxi. 30, 31. O Gyfieithiad R. Llwyd. Mwythig." 12plyg.

15. ¶ "Defosiwnau Priod, o gyfieithiad W. L. M.D. Argraffwyd yn y Mwythig, gan John Rhydderch, tros Dafydd Lloyd." 32plyg.

Y mae rhagymadrodd y llyfr bychan hwn gan "John Owen," yr hwn a briodola ei awduriaeth i Dr. Valantine. Er fod cyfeiriad ato o'r blaen, ddwy waith, gan Mr. Moses Williams (gwel rhif. 3, 1655, a rhif. 1, 1684), yr ydys yn tueddu i feddwl fod y rhai hyny yn osodiadau anturiaethus; ac na bu ond un argraffiad, heb amseriad.

[1] Gwel "Gwyliedydd," Medi, 1832: tudal. 260.

16. "Ffordd y Cristion i'r Nefoedd, Neu pa beth sydd raid ef wneuthur i fod yn Gadwedig: Gwedi i droi 'n Gymraeg, allan o'r trydydd Argraffiad yn Saesonaeg. Gan R. Llwyd, Eglwyswr Llangedwyn. Argraffwyd yn y Mwythig."

17. "Gweddi yr Arglwydd wedi ei hegluro mewn amryw Ymadroddion neu Bregethau Byrion. Gan G. Griffith, D.D. Esgob Llanelwy."

Ailargraffiad: gwel rhif. 1, 1685. Rhoddwyd argraffiad o'r unrhyw yn y ganrif hon, gan gymdeithas o Eglwyswyr yn esgobaeth Bangor.

18. "Athanæ Britanicæ. By Myles Davies. 1716."

Un o Dre'r Abad oedd Myles Davies, ac o deulu y Dafisiaid o Lanerch, ger Dinbych.

19. "A true (though a short) account of the antient Britons, in respect to their descent, qualities, settlement, country, language, learning, and religion; with the effigies of Llewelyn ab Gruffydd, the last Prince of Wales of the British Blood. By J. L. a Cambro Briton. London. 1716." 4plyg.

1717.

1. "Mynegai 'r Bibl Cyssegrlân, &c. Gan William Nicholas, &c. O gyfieithiad Samuel Williams. Llundain." 8plyg.

Person Llangynllo, yn sir Aberteifi, oedd Mr. Williams, a brawd, mae yn debyg, i Moses Williams.

2. "Pregeth a Bregethwyd yn Nghapel Ty Ely, &c. O Gyfieithiad un o ffyddlon ddeiliaid Brenin George. Mwythig." 8plyg.

Fe allai cyfieithiad newydd, ac ailargraffiad o rhif. 6, 1716.

3. "Meddyliau neillduol ar Grefydd. O Gyfieithiad Iago ab Dewi. Llundain." 12plyg.

Dïau mai y llyfr rhagorol hwnw, o'r enw uchod, o waith yr Esgob Beveridge, ydoedd. Y mae yn ei ddiwedd "Cywydd i'r Iesu, o gynhildeb wyneb yn wrthwyneb." Gan Ieuan Griffith, yr hwn ydoedd fardd yn byw yn Nghefn y-maes, yn Meirionydd.

4. "Cofrestr o'r holl lyfrau Printiedig, gan mwyaf a gyfansoddwyd yn yr Iaith Gymraeg, neu a Gyfieithwyd iddi hyd y Flwyddyn 1717. Printiedig yn Llundain, gan Brintwyr y Brenin, 1717."

Gan i ni roddi pob hysbysiaeth o'r blaen am y gofrestr hon, a'r awdwr, nid oes galw am ychwanegiad yma; yn unig i ni ddyweyd ar y cyntaf iddo gael ei eni yn y Glaslwyn (gwel y "Traethodydd," Ionawr, 1852), ac wedi hyny mai yn y Cellan y ganwyd ef. Rhoddasom yr hysbysiad cyntaf ar awdurdod Syr Samuel R. Meyrick, yn ei "*History of Cardiganshire;*" a'r ail ar awdurdod Dr. Thos. Rees, yn ei "*Description of South Wales,*" yr hwn oedd yn Gymro—mab i'r diweddar Barch. Josiah Rees, o'r Gellionen, yn sir Forganwg. Gall fod y ddau yn gywir, gan fod *Cellan* yn enw cymydogaeth a phlwyf, a *Glaslwyn* yn enw annedd-dŷ.

5. "Catechism o'r Scrithur, Yn Nhrefn gwyr y Gymanfa a Scrifenwyd yn Saesoneg gan Fatthew Henry Gweinidog yr Efengyl, ac yn Gymraeg I ddangos i'r Cymro uniaith (1) Y pethau a ddylai efe eu credu (2) Y dyledswyddau a ddylai efe ei cyflawni (3) Y cyfryngau neu 'r Moddion a ddylai efe ei harfer (4) Y pethau a ddylai efe eu gofyn gan Dduw mewn gweddi a hyny allan o air Cyssegrlan Duw ei hun. O brintiad Cyntaf yr awdwr gan Ioan ab Dewi Ai Brintio yn y Mwythig gan John Rhydderch, Ddavid Jones, Christmas Samuel, a William Davies, 1717."

1718.

1. "Beibl Cyssegrlan &c. Printiedig yn Llundain, gan Brintwyr y Brenin Ioan Basged, Asseins *Thomas Newcwm*, a *Harri Hils*, a fuant feirw MDCCXVIII." 8plyg.

Hyd yma, nid oedd un gymdeithas i argraffu yr Ysgrythyrau—dim ond ymdrechiadau personol; ond erbyn hyn yr oedd "Cymdeithas er lledaenu gwybodaeth Gristionogol" wedi ei ffurfio, er mwyn anfon Beiblau a Llyfr y Weddi Gyffredin i ddeiliaid Prydain Fawr—eithr gan mwyaf yn gartrefol. Y Beibl uchod oedd y cyntaf a argraffwyd gan y gymdeithas yn Gymraeg. Y mae yn cael ei alw yn gyffredin "Beibl Moses Williams," oddiwrth y Parch. Moses Williams, Ficer Defynog, yn sir Frycheiniog, am yr hwn y crybwyllwyd amryw weithiau yn barod, gan mai efe oedd yn edrych dros, neu yn golygu, yr argraffiad hwn. Yr oedd hwn yn argraffiad tlws, yn cynnwys llawer iawn o welliadau ar yr argraffiadau blaenorol. Rhoddodd oes y byd ar ben uchaf y dalenau. Cyfieithiodd hefyd yr Apocrypha, ynghyd â gweddïau a chanonau yr Eglwys Sefydledig, ac a'u cyhoeddodd yn gysylltiol â'r Beiblau; ond daeth nifer mawr hefyd allan hebddynt. Y mae y rhai sydd heb y Gweddïau Cyffredin, &c., yn gysylltiedig â hwy wedi eu hamseru 1717, yr hyn a achosa beth dyryswch i'r ymofynydd, gan yr arwain i dybio ddarfod cyhoeddi dau argraffiad. Ymddengys, er hyny, mai yr un argraffiad ydyw; a darfod iddo adael i'r Ymneilldüwyr gael rhan o honynt heb y Llyfr Gweddi Gyffredin, ac i'r rhai hyny ddyfod allan wrthynt eu hunain, cyn gorphen y lleill. Yr oedd yr ymroddiad hwn i'r Ymneilldüwyr yn ei ddangos yn ddyn tyner a pharchus o gydwybodau eraill, nad oeddynt yn Eglwyswyr—ei fod yn Eglwyswr cymedrol, fel yr holl ddynion defnyddiol yn mhob oes.

2. "Llyfr Gweddi Gyffredin, &c. Printiedig yn Llundain, gan Brintwyr y Brenin Ioan Basged, Asseins *Thomas Newcwm* a *Harri Hils*, a fuant feirw MDCCXXVIII."

Hwn oedd y llyfr gweddi a gyhoeddwyd yn gysylltiol â'r Beiblau uchod.

3. "Pregeth gan y Parch. Moses Williams."

Cyfeirir yn fynych at y bregeth uchod yn y "Diddanwch teuluaidd."

4. "Holl Ddyledswydd Dyn. O gyfieithiad Edward Samuel, Person Bettws Gwerfi Goch. Argraffwyd yn y Mwythig gan John Rhydderch, tros yr Awdwr yn y Flwyddyn 1718."

Yr oedd hwn yn bedwerydd argraffiad: gwel rhif. 3, 1671; rhif. 2, 1684; a rhif. 3, 1711.

5. "Holl Ddyledswydd Dyn. Argraffwyd yn Ngwrecsam gan Edward Wicksteed."

Gellir galw hwn yn bummed argraffiad: gwel rhif. 5, 1671; rhif. 2, 1684, rhif. 3, 1711; a rhif. 4 uchod. Hynod oedd i ddau argraffiad o lyfr cryn faint ddyfod allan yn yr un flwyddyn. Dichon i un gael ei gyhoeddi yn nechreu y flwyddyn; a chan eu bod yn gyffredin yn cael eu dosbarthu yn fuan i'r tanysgrifwyr, fod galw ebrwydd am ychwaneg; ac felly i argraffiad arall, o leiaf y gwynebddalen, gael ei argraffu cyn diwedd y flwyddyn. Nis gallwn roddi cyfrif arall am ddau argraffiad o lyfr mor fawr ddyfod allan o fewn corff yr un flwyddyn. Yr ydym wedi cael hen lyfrau yn amseru felly lawer gwaith—dau argraffiad o'r un llyfr, o wahanol fanau, yn yr un flwyddyn.

1719.

1. "Eglurhad o GATECHISM Byrraf y Gymanfa. O waith Thomas Vincent, Gweinidog Mandlin yn heol y Llaeth yngaer Ludd. Printiedig yn Nhref-Hedyn, gan Isaac Carter, dros Tho. Beynon, John Davies, Da. Davies, Tho. Mackaeg, Nick. Thomas, Edw. Morris. Ac a gyfieithiwyd i'r Cymraeg gan J. P. a T. J. 1719."

Hwn oedd y llyfr CYNTAF Cymraeg a argraffwyd yn NGHYMRU. Y lle oedd Tref-Hedyn-yn-Emlyn, neu Gastell-newydd-yn-Emlyn; y parth sydd yn sir Gaerfyrddin; a'r flwyddyn—y mae yn werth sylwi—oedd 1719; cant a phedair ar ddeg ar hugain o flyneddau a aethant heibio.

2. ¶ "Tyred a Chroesaw at Iesu Grist, &c. Yn Gymraeg gan Iago ab Dewi, o'r unfed Printiad ar ddeg yn Saesonaeg. Printiedig yn y Mwythig gan John Rhydderch tros B. W. a J. R."

3. "Antiquitates Britanno Belgicæ Prægique Romanæ—Musgrove."

4. "Testament y Deuddeg Patriarch, sef Meibion Jacob. A gyfieithwyd allan o'r Groeg gan Robert Grosthead, Esgob Lincoln: Ac allan o'i gopi ef a gyfieithwyd yn Ffrangeg, ac yn *Dwits* gan eraill, ac yn awr yn Gymraeg, Er parch i ba un i mae yn Scrifenedig yn y brif Ysgol yn Nghambridge ar Barsment Coppi o hwn yn y Groeg. At yr hwn y Chwanegwyd Epistol Pawl yr Apostol at y Laodiceaid. Hefyd ychydig yn mherthynas Marwolaeth Paul yn Rhufain dan Nero Cæsar. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan John Rogers, 1719." 12plyg.

Ailargraffiad: gwel rhif. 5, 1700. Nid oes enw cyfieithydd, er fod "At y Darllenydd," yn ei ragflaenu.

1720.

1. ¶ "Cyffes ffydd y Bedyddwyr. Cyfieithiedig gan Jenkin Jones."

Jenkin Jones ydoedd weinidog Presbyteraidd yn Llwyn-rhyd-Owen, yn sir Aberteifi; ac efe oedd y cyntaf o'r gweinidogion hyny a ymwrthododd â'r âch Galfinaidd yn nadleuon y "Pum' pwngc." Ceir cryn lawer am dano yn ngwaith y Parch. D. Morgan.

2. ¶ "Cywir a Phrydlon. Gan Mathias Morice."

Ganwyd M. Morice yn Llanddewi Velfrey, yn sir Benfro, yn y flwyddyn 1684. Addysgwyd ef yn athrofa yr Ymneilldüwyr yn Nghaerfyrddin, o dan ofal Mr. Wm. Evans. Wedi bod yn weinidog yn Henllan a Rhydyceisiaid, efe a symudodd i Olney, yn sir Buckingham, ac oddiyno i Rodwel, yn sir Northampton, lle y bu farw, yn 1738.[1] Cyhoeddodd amryw lyfrau; ond nid ydys yn gwybod am yr un arall yn Gymraeg, ond cyfieithiad o'r "*Social Religion Exemplifyed*," a'r "Wir Eglwys," gan Mr. Evans, o'r Drewen. Gwel rhif. 3, 1709.

3. "An Appendix to Delaune's Plea: Neu Lyfr Newydd yn cynnwys Ymddiddanion Buddiol a ddigwyddodd yn ddiweddar yn Ninas Bethel, rhwng Adam Gojem a Ben. Kahal, Ynghylch Matterion Crefydd. Yr hwn sydd yn Amddeffyn cywir dros bobl Dduw, a wradyddir yn gyffredin ar enw *Sismaticiaid*. A gyhoeddwyd yn awr er lles cyffredinol, Gan Enosh Mophet. Argraffwyd ym Mhen Gwern-Bowys dros Ewyllysiwr da i'r Cymru. 1720."

Pen-gwern-yn-Mhowys oedd enw gwreiddiol y Mwythig, neu Amwythig.

4. "Survey of the Cathedral of St. Asaph, with an Account of Bishops, &c. By Browne Willis."

5. "Llyfr Carolau a Dyriau Duwiol. At ba un y chwanegwyd, yr Ail Rhan, yr hon na fu erioed o'r blaen yn argraffedig. Y trydydd argraffiad. Argraffwyd yn Mwythig gan T. Duston."

Gwel rhif. 3, 1686; a rhif. 1, 1696.

6. ¶ "Gweledigaethau y Bardd Cwsg. Gan Ellis Wynne. Mwythig, argraphwyd gan Thos. Durston."

Gwel rhif. 6, 1703.

[1] "*Williams's Dictionary of Eminent Welshmen.*"

1721.

1. "Canwyll y Cymry, sef gwaith Mr. Rees Prichard, gynt Ficer Llanddyfri. Argraffwyd yn y Mwythig gan John Rogers."

Pummed argraffiad: gwel rhif. 1646; rhif. 6, 1672; rhif. 2, 1681; a rhif. 9, 1700.

2. "Dyfyrwch Crefyddol, neu Lyfr o Ganiadau Newyddion ar Destynau 'Scrythyrol, yn gyttunol ag athrawiaeth amryw Ddefnyddion clodfawr • Eglwys Loegr. O Waith John Prichard Prys, Eglwysael, neu Langadwaladr, yn Sir Fôn. Y Rhan Gyntaf. Argraphwyd yn y Mwythig, gan John Rhydderch, tros yr Awdwr, yn y flwyddyn 1721." 24plyg.

Maint y llyfr bychan crefyddol hwn yw 174 o dudalenau o gorff y gwaith, a 30 o dudalenau yn cynnwys arweiniadau, cynnwysiad, &c.—oll yn 204 o dudalenau.

3. "Pechadur Jerusalem yn gadwedig: Neu Newyddion Da i'r Gwaelaf o Ddynion: A chynnorthwy i'r Eneidiau Anobeithiol: Gan ddangos y mynneu Iesu Grist gynnig Trugaredd yn gyntaf i'r Gwaethaf o Bechaduriaid. Scryfenwyd yn Saesoneg gan Ioan Bunyan, Awdwr Taith y Pererin, ond yr awron yn Gymraeg gan Benjamin Meredith. Argraffwyd yn Henffordd gan William Parks. 1721."

4. "Hanes y Byd a'r Amseroedd, Er Hyfforddiad rhai o'r Cymru. O Waith S. T. Argraffwyd yn Llundain gan J. Betty, tros David Lloyd, yn y flwyddyn 1721." 16plyg.

Yr ydys wedi methu cael dim o hanes yr "S. T." hwn, yn amgen nag y bernir mai Samson Thomas, gweinidog i'r Ymneilldüwyr, yn sir Benfro, ydoedd, am yr hwn nad oes nemawr o hanes ar gael. Cyfansoddodd lyfrau eraill, fel y ceir gweled eto. Yr ydym yn tueddu i feddwl mai y David Lloyd, a enwir fel cyhoeddwr y llyfr uchod, ydoedd y Parch. David Lloyd, a fu wedi hyny yn weinidog eglwys Llwyn-rhyd-Owen, yn sir Aberteifi; am yr hwn y rhoddir ychwaneg eto.

1722.

1. "Prif Ddyledswyddau y Cristion. Gan W. Beveridge, ac o Gyfieithiad Edward Samuel. Argraffwyd yn y Mwythig gan John Rhydderch."

Yr Edward Samuel uchod oedd person Llangar, ger Corwen, "gynt person Bettws-Gwerfil-Goch," nid pell o'r un lle, yn nghŵr isaf sir Feirionydd. Bu farw Ebrill, 1748. Y mae pedwar englyn ar ei farwolaeth yn y "Gwyliedydd," am Mehefin, 1831, tudal. 185. "Y Parch. W. Wynne, o Langynhafal, a'i cânt, 1748;" "a Dafydd Samuel, ŵyr yr hen Samwel o Langar, a'u hysgrifenodd yn Llundain, Gorph. 15, 1790," ar y ddalen o'r hwn y cafwyd hwynt gan Glyn Myfyr. Yr oedd Dafydd Samwel yn law-feddyg ar fwrdd y llong *Discovery*, gyda y Cadben Cook, ar ei fordaith o gylch y byd. Yr oedd yn llygad-dyst o'r gyflafan echrydus a ddygwyddodd i'r morwr enwog hwnw ar lan yr Owyhee, am yr hyn y cyhoeddodd hanes manwl yn y flwyddyn 1786. Bu D. Samuel farw yn y flwyddyn 1799.[1]

2. "Y Ffydd Dduffuant, sef, Hanes y Ffydd Gristianogol, Ai Rhinwedd.—The Unfeigned Faith. Containing a brif History of the Christian Religion, And a Proof of its Verity and Efficacy. The Fourth Edition. Argraphwyd yn y Mwythig, gan John Rogers, MDCCXXII."

3. "Prydferthwch Sangcteiddrwydd yn y Weddi Gyffredin, mewn pedair

[1] Gwel "*Cambrian Register*."

pregeth, O waith y Parchedig Thos. Besse, D.D. A chyfieithiad Theophilus Evans. Argraffwyd yn y Mwythig, gan John Rhydderch."

4. ¶ "Y Llyfr a elwir Holl Ddyledswydd Dyn, Wedi ei Grynhoi yn fyrr, Er lles i'r Tlodion a'r Gwanaf eu Coffadwriaeth, &c. Gan Edmund Stacy, a'i osod allan yn *Gymraeg*, Gan G. J. Argraphwyd yn y Mwythig, gan John Rogers, Gwerthwr Llyfrau."

Gwel rhif. 8, 1672; rhif. 5, 1684; rhif. 3, 1711; a rhif. 4 a 5, 1718; gan hyny, yr oedd hwn yn chweched argraffiad.

5. Dwysfawr rym Buchedd Grefyddol, wedi ei gyflwyno gan A. T., at yr anrhydeddus foneddigion Stephen Parry o Neuadd Trefawr, Esgwair, Ustus o'r heddwch, ac aelod o Barlament dros Dref Abertifi, a Walter Llwyd o Goedmor, Esgwair, ac uchel Sirydd presenol Sir Aberteifi. Argraphwyd yn Nhrehedyn, gan Isaac Carter, tros J. Ll. ac A. T. yn y flwyddyn 1722: ac ar werth gan Thomas Lewis, gwerthwr llyfrau yn Caerfyrddin; a Dafydd Evans yn Nhrehedyn."

6. "A Critical History of the Establishment of the *Bretons* among the *Gauls* and of their Dependence upon the Kings of France, and Dukes of Normandy. By Monsieur the Abbot of Vertot, &c. London, Printed for W. Taylor, &c. MDCCXXII."

Cynnwysa y llyfr hwn lawer iawn o wybodaeth am darddiad cenedl y Cymry.

7. ¶ "Taith neu Siwrnau y Pererin, Tan Rith neu Gyffelybiaeth Breuddwyd; yn yr hwn y dangosir, Modd y mae Pechadur yn Cychwyn neu yn Dechreu ei Siwrnau o'r byd hwn tua'r Nefoedd—Y Peryglon y mae fo'n cyfarfod a hwynt yn ei Daith, a'i ddyfodiad o'r diwedd i'r Wlad ddymunol, i'r Nefoedd mewn Diogelwch. Argraphwyd yn y Mwythig, gan Thos. Durston."

Nid oes amseriad wrth hwn; ond dywedir, yn tudal. 280, y deuai "Hanes y Ffydd allan cyn pen tri mis, wedi ei ddiwygio gan J. Rhydderch." Rhoddwyd ef yn yr un flwyddyn a hwnw, er y gall mai 1721 y dylai fod.

1. "Llun Aggrippa, neu'r o fewn ychydig wedi ei ddadguddio: Wedi ei 'Sgrifenu yn Saesneg, gan F. Mead, ac yn Gymraeg gan Jenkin Jones, a'i Brintio Yng-nghaerfyrddin, dros Christmas Samuel a Lewis Griffies. A.D. 1723."

Jenkin Jones ydoedd weinidog y Presbyteriaid yn Llwyn-rhyd-Owen, sir Aberteifi. Efe ydoedd un o weinidogion cyntaf y corff hwnw yn Nghymru a wyrodd oddiwrth Galfiniaeth, yr hyn sydd er's talm wedi terfynu mewn Ariaeth a Sosiniaeth. Wrth F. Mead y deallir Mathew neu Fathew Mead, yn ol dull y cyfieithydd o roddi F. yn lle M.

2. ¶ "Annogaeth Ddifrifol Gweinidog i'w Blwyfolion i ofalu am eu Heneidiau, yn cynnwys yr ystyriaethau hyn,—1. Anfeidrol Odidowgrwydd a Gwerthfawrhydi'r enaid. ii. Mai Colled yr enaid yw'r anhawsaf ei ddioddef o'r holl Golledion. iii. Y mawr Berygl y mae'n Heneidiau ynddo o herwydd Pechod. iv. Rhyfeddol Drugaredd Duw yn darparu moddion, &c. Yr ail argraffiad. Mwythig argraffwyd."

3. "Mona Antiqua Restaurata. An Archælogical Discourse on the Antiquities, Natural and Historical, of the Isle of Anglessey, the ancient Seat of the British Druids, &c. By Henry Rowlands, Vicar of Llanjdan, in the Isle of Anglesey. Dublin, Printed by Aaron Rhames, for Robert Owen, Bookseller in Skinner's Row. MDCCXXIII."

Dywed "Henry Owen," golygydd yr ail argraffiad—"Daeth yr argraffiad cyntaf, a argraffwyd yn Nublin, A.D. 1723, allan yn anghywir iawn, o ddiffyg rhyw ddyn cyfaddas i edrych dros y llenau. Bu yr awdwr farw cyn iddo gael ei gyhoeddi."

4. "Patrwm y Gwir Gristion, neu ddilyniad Iesu Grist, &c. Wedi ei droi yn Gymraeg gan W. M., A. B. Argraffwyd yn Nghaerlleon, gan W. Cooke. 1723."

Ymddengys fod hwn yn gyfieithiad ac argraffiad newydd o "Thomas à Kempis." Cyfieithydd yr argraffiadau eraill oedd "H. O." o Fôn.

1723—24.

"Trefn Ymarweddiad Gwir Gristion. Neu Lwybr Hyffordd i'r Cymro i rodio arno beunydd gyda'i Dduw. Gan Edward Wynn, D. D. Yr ail argraphiad. Argraphwyd yn y Mwythig gan John Rhydderch, tros Thomas John Morgan, yn y flwyddyn 1723—4." 24plyg, a 160 o dudalenau.

Y mae rhagymadrodd yr awdwr "At Blwyfolion Llangeirwen a Llangaffo, yn ynys Fôn. Gwel rhif. 1, 1662.

1724.

1. "Hanes y Byd ar Amseroedd; neu Lyfr Gwybodaeth y Cymro. O Waith S. T. Yr Ail Argraphiad yn gyflawnach na 'r Argraphiad cyntaf. Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Rogers."

Gwel rhif. 4, 1721.

2. ¶ "Ystyriaethau o gyflwr Dyn yn y bywyd hwn ac yn yr hwn sydd i ddyfod. Gan Jer. Taylor, D. D. O Gyfieithiad Gr. Wynn, Offeiriad Llan Cadwaladr. Printiedig Ynghaerlleon, gan Roger Adams."

3. "Oes-Lyfr. *Gan* Thos. Williams."

Gweinidog i gynnulleidfa o Ymneilldüwyr yn y Mynydd-bach, sir Gaerfyrddin, ydoedd yr awdwr.

4 "Y Cristion Cyffredin, &c. Argraphwyd yn Nhrerhedyn, gan J. Carter, 1724."

1725.

1. "Rhai Datguddiadau o'r Nefoedd Newydd ar Daear Newydd, ac hefyd dyfal ddisgwyliad y Creadur am ollyngdod o'i Caethiwed i Rydd-dyd gogoniant Plant Duw. Ynghyd a rhai arwyddion yn yr hwn y byddant yn gynnwysedig. Gwedi eu casglu allan o'r Ysgrythyrau. Gyda thebygoliaethau or Amser yn yr hwn y Gellir eu disgwyl. A Defnyddiau buddiol i'w i wneuthur o honaw fel yn Petr iii. 14. A ysgrifenwyd gan Wm. Allaeini, Ag a Drowyd i'r Gymraeg gan Ioan Harri. Argraffwyd yng Nghaerfyrddin gan Nicholas Thomas, Dros Ioan Harri, Ioan Phillips, a Miles Harri."

Y mae teitl arall i'r ail ran, gan yr un gwŷr oll, ac yn yr un flwyddyn. Y mae y cyfieithiad a'r argraffiad yn wallus iawn, fel na ellir gwneyd rheswm o hono mewn llawer o fanau. Gweinidog y Bedyddwyr yn y Blaenau, sir Fynwy, oedd Harri, yr hwn a fu farw yn 1737. Cymerodd y gwaith o gyfieithu a chyhoeddi y llyfr uchod ar annogaeth cymanfa y Bedyddwyr. Yr oedd llawer o'r Bedyddwyr, y pryd hyny, yn dal y golygiad am deyrnasiad personol Crist yn ystod y milflwyddiant, yr hyn a amddiffynir yn y llyfr hwn. Miles Harri oedd gynnorthwywr iddo yn y weinidogaeth, ac a fu wedi hyny y gweinidog cyntaf ar eglwys y Bedyddwyr yn Mhen-y-garn, ger Pont-y-pwl, ac a fu farw yn 1776.[1] Am Ioan Phillips, gall mai aelod neu ddïacon lled gysurus ei sefyllfa yn y byd ydoedd, yr hwn a gydymrwymodd â Miles Harri i gynnorthwyo Ioan Harri; neu yn gysylltiol â'u gilydd a gymerasant holl gyfrifoldeb y draul o argraffu arnynt eu hunain; yr hyn oedd raid ei fod yn gryn lawer, gan ei fod yn llyfr lled drwchus, o faint hen argraffiad "Llyfr y Ficer."

2. "Golwg ar y Byd, sef llyfr, yn cynnwys Briwsion oddiar fwrdd y Dysgedigion i'r Cymru dymunol; ac yn dangos Gallu Doethineb a daioni Duw, a dyled

[1] Hanes y Bedyddwyr.

Dyn yn y Creadigaeth. Gan Dafydd Lewis, Ficar, Llangatwg, yn Morganwg, Caerfyrddin. Argraphwyd gan Nicholas Thomas, 1725." 12plyg.

3. "Caniad Solomon, Wedi ei drefnu ar fesurau i'w Ganu A Byrr Agoriad o'r Gân hon, wedi ei drefnu o adnod i adnod ar gyfer y Caniad. Gan Thos. Baddy. Argraffwyd yn Nghaerlleon."

4. ¶ "Teml Solomon wedi ei hysbrydoli, neu oleuni 'r Efengyl wedi ei gyrchu allan o'r Deml yn *Jerusalem*. Gan John Bunyan. Printiedig yng Haerfyrddin gan Nicholas Thomas."

5. "The English and Welch Dictionary: or the English before Welch. Y Geirlyfr Saesoneg a Chymraeg; Neu 'r Saesneg o flaen y Cymraeg Containing all the Words that are Necessary to understand both Languages; but more especially for the Translâtion of the English into Welch. Yn cynnwys yr holl Eiriau sy'n angenrheidiol i ddeall y ddwy Jaith. eithr yn fwy enwedigol i Gyfieithu 'r Saesneg i'r Gymraeg. Wherein you may easily find the Welch word,or words to every English Word. Ym mha un y bydd hawdd i chwi daro wrth air, neu Eiriau Cymraeg i bob Gair Saesneg. Salop; Printed and sold ere by the Author John Roderick, 1725. Argraphwyd yn y Mwythig, ac a werthir yno gan yr Awdwr John Hydderch, MDCCXXV."

Fe allai y byddai yn foddhaol gan lawer weled rhagymadrodd y Geirlyfr cyntaf hwn at wasanaeth y cyffredin a gyhoeddwyd yn ein hiaith. Wele yma:—

"*Anwyl Gydwladwyr,* Fe ddarfu i mi o'r diwedd megys ymdeithydd hwyr drwm anibenus, trwy ddirfawr boen a manwl chwilio hyd Lwybrau anghynefinol, a thrwy faith rwystrau attaliedig a diffygion, (yr hyn a wiria 'r hen Ddihareb, mai *hir y bydd y Mûd ymhorth y Byddar*) gyrraedd at y diben nôd, neu gyflawni f'aml addewidion ynghylch Argraphu y Geirlyfr *Saesneg* a *Chymraeg* hwn, Ac er wrth hir ddisgwyl i amryw anobeithio, gan dybiaid na byddai i mi byth ddwyn y gorchwyl i ben; Ac yn wir i chwi fy nghymwynasgar gydwladwyr haelionus, y mae fy rhwymedigaeth fy niolchgarwch am fynghynorthwy iw yrru ymlaen, onite fe fasai debyg i ddigwydd megis Plentyn y ddaethai hyd yr anedigaeth heb rym i esgor, ac fe allasid dywedyd am danai fel y dywedwyd am yr adeiladydd ynfyd, y gwr hwn a ddechreuodd adeiladu, ac nid allai orphen, pa fodd bynnag er bod geni yn fy ymyl fel yr addefais i o'r blaen dri math ar ysgrifen law o'r Llyfr hwn o ysgrifeniad tri o wyr, etto er hynny mae ynddo ef o'm casgliad fy hun, heblaw y geiriau Egwyddorig oedd yn y tair ysgrifen ragddywededig yn dynn ddwy fil o Eiriau Saesneg. Canys mi a rifais o'm casgliad yn y Llythyren S. bedwar cant a deg a deugain tros ben y cwbl oedd yn y rhei'ny. Felly mae 'ngobaith y bydd i'r llyfr hwn fod yn dra buddiol a llesol i drigolion *Gwynedd* a *Deheubarth,* oherwydd un o'r tairysgrifen Eirlyfr a soniais i am danynt o'r blaen, a ysgrifenodd y Parchedig Mr. Erasmus Lewis, Periglor Eglwys Llanbedr Pont Stephan, o gasgliad pa un y mae fy hyder i cewch yn yr arweiniol Eiriau gymmaint ag sy'n arferedig ym mhob parth o Ddeheubarth, ac sy ddieithrol i ni Yngwynedd, At ba un fe chwanegodd amryw Eiriau o gasgliad y Brytwn Dysgedig a Llafurus hwnnw Mr. Edward Llwyd A.M. Diweddar geidwad Tryssorgell y Teganau a'r pethau mwya' dieithr a rhyfeddol yn Rhydychen. Ac er bod amryw o'r geiriau hynny, yn anyspys, ac yn dywyllion jawn i fro' nganedigaeth i, etto fi a'i rhoddais ar lawr yn olaf, yn yr arweiniol Eiriau, gan obeithio y bydd i'r rhei'ny hefyd fod yn wasanaethgar i ryw frô, neu duedd gan mwyaf, oni byddant eu gyd. Weithian Gymru un fath nid oes amgenach i'w wneud na'i gyflwyno ef megis lledfegyn i'ch mysg, tan obeithio y bydd i chwi ei goledd a'i achlesu, a chyd-ddwyn am ddiffygion a'r beiau, a lithrodd o'm hanfodd, pa un bynag ai camgymmeriad, a'i musgrellni, a bod mor hynaws a'i wellau, a dygymmod ag ef 'n dirion farn, o herwydd mai hwn yw'r cyntaf a ddaeth allan ar Saesneg yn y ddull hon, o flaen y Cymraeg, Ac ni roed orchwyl o'r fath yma ond antur allan y tro cyntaf erioed yn ddifeius, gan hyny pwy bynnag a fyddo mwya llithiedig a pharodol i feio arno, pan gymmero ef gymmaint o boen a thrafferth arno'i hun i ddwyn ymlaen un gorchwyl ag a gymmerais i wrth hwn, nid amheua na bydd mwy cwyllysgar i esgusodi, ac i roi atteb hynawsedd dros bob gwall ac anaf a welo 'Ngwaith *Eich ufuddaf Wasanaethwr* JOHN RHYDDERCH.

"MWYTHIG Ebrill yr 10fed Dydd 1725."

1725—26.

1. "Maddeuant i'r Edifeiriol. Traethawd ar Ddammeg y Mab Afradlon. Gan J. Goodman. Ac a gyfieithwyd trwy ddirfawr boen a diwydrwydd gan y Diweddar a'r Dysgedig Mr. Wm. Lewis o'r Llwyn Derw, a Mr. Evan Pryce, o Ryd-y-benne. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin, gan Isaac Carter y Printiwr. 1725—6."

Mae y llyfr hwn yn cynnwys 450 o dudalenau 12plyg; a'r prif eiriau yn y gwyneb-ddalen wedi eu hargraffu yn gochion.

2 "Meddyliau ar Grefydd. Gan y Gwir Anrhydeddus Dad yn Nuw, Gwilim Beveridge, D.D., gynt Arglwydd Esgob Llanelwy. O gyfieithiad Iago ab Dewi. Printiedig yn Llundain; ac ar werth yno gan W. Roberts, ar Lambeth Hill." 12plyg.

Ailargraffiad a chyfieithiad: gwel rhif. 3, 1717.

3. ¶ "Llyfr Weddi Gyffredin, a Salmau Cân, yr Erthyclau, &c. Argraffwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Thos. Durston." 4plyg.

Nid oes amseriad wrtho; ond y mae y Calendar sydd yn ei ddechreu, yn dechreu ei flyneddau yn 1726, yr hyn sydd yn brawf mai y pryd hwn y cafodd ei gyhoeddi.

1726.

1. ¶ "Siwrnai, Neu Daith Cristiana a'i phlant o Ddinas Distryw tua'r Ganaan Nef ar ôl ei phriod, yn dangos am y Blinderau mawrion a gyfarfu a hwynt ar y ffordd, a'u dyfodiad diogel o'r diwedd i'r wlad ddymunol. Sef, Ail ran o Daith y Pererin. Gan John Bunyan. Argraphwyd yng Haerfyrddin gan N. Thomas."

1727.

1 "Y Beibl Cyssegrlan, sef yr Hen Destament a'r Newydd, &c. Printiedig yn Llundain gan Brintwyr y Brenin, Ioan Basged, ac Asseins Harri Hills, a fu farw 1727."

Hwn oedd yr ail argraffiad, o dan olygiad y Parch. Moses Williams, ac ar draul y "Gymdeithas er lledaenu Gwybodaeth Gristionogol." Ychwanegwyd ato daflen o arwyddocâd geiriau anghyfiaith. Yr oedd heb ystyr y pennodau, neu gynnwysiad, na chyfeiriadau ymylenawl; ac yr oedd tuchan mawr ymhlith y cyffredin, oblegid y gommeddiad hwn, gan eu bod wedi ymgynnefino â hwynt.

2. "A Grammar of the Welch. By W. Gambold."

Ganwyd W. Gambold yn Aberteifi, 1672. Dygwyd ef i fyny i'r Eglwys, a bu yn gweinidogaethu plwyfau Puncheston a Llanychan, yn sir Benfro. Bu farw yn 1728. Ei fab ef oedd John Gambold, yr hwn a roddodd ei le i fyny yn yr Eglwys Sefydledig, ac a ymunodd â'r Morafiaid. Ordeiniwyd ef yn esgob yn y cyfundeb hwnw. Y mae capel a chynnulleidfa Forafaidd—yr unig un yn Nghymru—yn Hwlffordd, sir Benfro, fel gweddillion ei lafur. Yr oedd yn gyfaill gwresog i holl eglwyswyr Methodistaidd ei oes, yn arbenigol John a Charles Wesley.

3. "Dydd y Farn fawr, neu sain yr Udgorn diweddaf. Gan Thos. Vincent. Yn awr wedi ei Gyfieithu, a'i osod allan goreu y gellid at wasanaeth ac achos presenol y Cymry. Gan Jenkin Jones. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Nicholas Thomas. 1727. (Pris 1s. 6c.)"

4. "Y Cywir Ddychwelwr, &c. Gan Thos. Shepherd, cyfaill gynt o Ysgol-dŷ Emanuel, Ynghaer-garddu, yn Lloegr newydd. Printiedig Yng-Haerfyrddin gan Nicholas Thomas, dros W. Williams a J. Thomas, ac a werthir yno gan Crispianus Jones yn Heol y Farchnad. 1727. Pris 1s. 6c."

Yr oedd hwn yn ailargraffiad. Gwel rhif. 7, 1657. Rhoddwyd hysbysiad am argraffiad arall yn gysylltiedig â llyfr hymnau John Roberts (yr Almanaciwr), a argraffwyd yn Bodedern, yn Môn, tua'r flwyddyn 1760; ond nid ydys yn deall iddo gael ei gyhoeddi. Y mae yn blaenori y llyfr hwn lythyr maith "At y Darllenydd Cristionogol," gan W. Greenhill.

5. "Myfyrdod erbyn angau."

6. "Gwaedd yng Nghymru yn Wyneb pob Cydwybod: Gan Morgan Llwyd o Wynedd."

Y mae yn gysylltiedig ei "LYTHYR i'r CYMRY cariadus," ynghyd â "Hanes ei Fywyd ysbrydol, a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun." Y mae hefyd ragymadrodd gan Thos. Williams, Mynydd bach, sir Gaerfyrddin.

1728.

1. "Hanes y Byd a'r Amseroedd, er Hyfforddiad rhai o'r Cymru, o waith S. T. Llundain."

Trydydd argraffiad, mewn saith mlynedd! Gwel rhif. 4, 1721; a rhif. 1, 1724.

2. ¶ "Dwy daith i Gaersalem, yn cynnwys yn gyntaf cywir a rhyfeddol o ymdaith Dau bererin o Loegr er ys blynyddoedd, a pha ddigwyddiadau a fu iddynt yn eu hymdaith o Gaersalem i Great Cairo, Alexandria, &c. Yn ail, ymdaith pedwar gwr ar ddeg o Saeson, yn y flwyddyn 1669, o Scanderoon i Drepoli, Joppa, Rama, &c. Gan T. B. At ba un y chwanegwyd, pa beth a ddaeth o'r Deg llwyth a Gaethgludwyd i Siria, a helynt presenol Palestine. Ynghylch y Gynghorfa fawr yn Hungaria yn nghylch Grist. Gan S. B. Sais oedd yn y man a'r lle. Siomedigaeth yr Iuddewon gan Gau Grist yn Smyrna, 1666. Yn ddiweddaf y Dnghedddfol a therfynol ddestrywiad yr Iddewon yn Mhersia yn y flwyddyn 1666, a'r achosion o hyny. O Gasgliad R. B. yn Saesneg, a chyfieithiad William Lewis, yn ddiweddar o'r Llwyn Derw, yn Sir Gaerfyrddin, Wr Bonheddig. Argraphwyd yn y Mwythig gan John Rhydderch, ac ar werth ganddo ef yno."

3. "Golwg ar Destament Newydd Ein Harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist, sef Crynhoad o Swm a sylwedd y pethau hynny a gynnwysir ym mhob Llyfr, ac ym mhob Pennod, wedi ei gasglu allan o Esboniad helaith y Diweddar a'r Parchedig Mr. Mathew Henry, Gweinidog yr Efengyl. At yr hwn y chwanegwyd Tabl ar fesur Cerdd yn ol yr Egwyddor A. B. C. I helpu 'r Côf, ac i wneuthur i fynu y diffyg o Concordans bychan i'r Testament Newydd, wedi ei gyfieithu i'r Cymraeg gan Josua Thomas. Caerfyrddin, Printiedig gan Nicholas Thomas dros Christmas Samuel. 1728."

Gweinidog eglwys yr Ymneilldüwyr yn y Pantteg, ger Abergwili, yn sir Gaerfyrddin oedd C. Samuel. Bu farw yn 1764, yn 90 oed.

4. "Grammadeg Cymraeg. Yn cynnwys Athrawiaeth Llafaryddion, a Lliosseiniaid, Helaeth Ddosparth ar y Sillafau a'u hamryw berthynasau. Wyth Rann Ymadrodd a'i Chynneddfau. Hyfforddiant i jawn Yscrifennyddiaeth, beth yw Enw, Rhag Enw, Gorair, Arorair, Cenedl ryw, Nôd Bannog, Cyssylltiad, y Pum Amser a'r Moddau, Cystrawen, &c. Colofnau Cerdd Dafod, a chyflawn Athrawiaeth Awdurdodawl y Prif Feirdd, ym Mhrydyddiaeth a Barddoniaeth, yn gyflawnach nag erioed o'r blaen. Gorchestion Dafydd Nanmor ac eraill, Beiau ac Anafau Cerdd Dafod, Hanes Eisteddfodau a'r modd y trefnid gynt. Statud Gruffydd ab Cynan. Ac amryw bethau eraill tra Angenrheidiol i'w deall cyn y meiddio neb Ryfygu bod yn Bencerdd, nag jawn Ysgrifenydd ychwaith. O Gasgliad, Myfyriad, ac Argraphiad John Rhydderch, ac ar werth ganddo ef yn y Mwythig. 1728."

Crynodeb ydyw o'r eiddo Sion Dafydd Rhys, gyda rhai pethau ychwanegol.

1729.

1. "Pregeth neu Draethawd yn erbyn cymmeryd Enw 'r Arglwydd yn ofer, a osodwyd allan er rhybydd i'r sawl a chwenychant drefnu eu Buchedd yn ddieuog ger bron Duw, am iddynt hwy ymogelyd eu llygru a'r arfer ddiffeith, o Gymmeryd yn ofer Enw y Gwr a'i gwnaeth. Iago i. 26. Llundain."

2. ¶ "Gwaith a Gwobr ffyddlon gweinidogion yr Efengyl, a wnawd yn gyhoeddus ar ddeisyfiad eglwys Llangloffan. Argraphwyd yn Nghaerfyrddin, dros Mr. John Evans, o Bistillmeugan."

Pregeth ydyw ar *Can.* viii. 12; a bregethwyd yn nghymanfa y Bedyddwyr, yn Llangloffan, sir Benfro, yn 1729, gan Enoch Francis. Ganwyd ef yn Pant-y-llaeth-dŷ, ar làn afon Teifi, ger Castell-newydd-yn-Emlyn. Dechreuodd bregethu yn 19 oed. Yr oedd yn byw yn mlodau ei ddyddiau yn Nghapel Iago, ger Llanbyddar. Gweinidog ydoedd i eglwysi Castell-Newydd-yn-Emlyn a'r Pantêg a'u cangenau. Bu farw Chwefror 4, 1740, yn 57 oed.[1]

3. "Y Llythyr Bugeilawl. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Isaac Carter. 1729."

4. "Traethawd ar Ben-arglwyddiaeth Duw. Gan Eliseus Cole."

Ailargraffiad. Gwel rhif. 2, 1711. Cyhoeddwyd yr argraffiad hwn yn ol annogaeth cymanfa y Bedyddwyr, a gynnaliwyd yn Llangloffan, sir Benfro, yn 1729, oblegid y ddadleuaeth Galfinaidd ac Arminaidd oedd yn terfysgu eu heglwysi y pryd hyny.[2]

5. "Catecism gan B. Keach."

Yn y gymanfa uchod, gwnaed y penderfyniad hwn, "Fod y Catecism," fe allai, yr eiddo Mr. Keach, a "Cole ar 'Benarglwyddiaeth Duw,' y ddau i gael eu hargraffu yn Gymraeg," gan fod athrawiaethau Arminaidd yn awr yn anesmwythâu y Bedyddwyr. Gwnaethant lawer ymhlith yr Annibynwyr a'r Henaduriaethwyr am agos i ugain mlynedd o'r blaen, yn fuan ar ol y dadleuon yn Llundain o berthynas i weithiau Dr. Crisp, ac ysgrifeniadau Dr. Daniel Williams. Yr oedd y diweddaf yn enedigol o Wrexham.[3]

1730.

1. "Yr ymarfer o Lonyddwch. I gyfarwyddo Cristion pa fodd i fyw yn Llonydd yn y Byd trafferthus hwn. Gan George Webb. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Iago ab Dewi o'r pummed Argraffiad yn Saesonaeg. Argraffwyd yng Haerfyrddin gan Nicolas Thomas, dros Gryffydd Sion o Bant yr Haidd. 1730."

2. "Cyd-gordiad Egwyddorawl o'r Scrythyrau, neu gyfarwyddiad i gael pôb lle, o'r Scrythur Lân. Gan Abel Morgan. Philadelphia, Argraphwyd gan Samuel Keimer, a Dafydd Harry. 1730."

Gwelir yr argraffwyd y llyfr hwn yn Philadelphia, America; a myn rhai mai Benjamin Franklin oedd y gweithiwr arno; oblegid, meddant, nad oedd un wasg yn Philadelphia y pryd hwn ond yr un hòno wrth ba un yr oedd Franklin yn gweithio. Y mae wedi ei gyflwyno i Dafydd Lloyd, Ysw., prif ynad talaeth Pensylfania, ac y mae gyda hyny anerchiad at y cyhoedd, gan John Cadwaladr—Cymro cyfoethog o Philadelphia. Mynegai neu *goncordance* i'r Beibl ydyw, yr hwn a gymerodd Mr. Peter Williams yn gynllun i'r eiddo ef, ac am yr hwn y mae yn crybwyll yn ei ragymadrodd. Yr oedd Mr. Abel Morgan yn enedigol o le a elwir yr Allt-goch, yn

[1] "Hanes y Bedyddwyr."
[2] Eto.
[3] "*Thomas's History of the Welsh Associations*:" am Llangloffan, 1729.

mhlwyf Llanwenog, yn sir Aberteifi, oddeutu y flwyddyn 1673. Dechreuodd bregethu gyda'r Bedyddwyr yn 19 oed. Ordeiniwyd y gweinidog cyntaf ar eu cynnulleidfa yn Mlaenau Gwent, sir Fynwy. Aeth i America, yn 1711. Wedi bod am ryw amser yn Philadelphia, symudodd i le a elwid Pen-y-pec, lle y cymerodd ofal cynnulleidfa o Fedyddwyr. Bu farw yn 1722, a chladdwyd ef yn Philadelphia. Gwelir mai wedi ei farwolaeth y cyhoeddwyd ei lyfr. Cyfieithodd hefyd "Gyffes Ffydd y Bedyddwyr" i'r Cymraeg; ond ni wyddom a argraffwyd ef.[1]

3. "The History of the Principality of Wales, in three parts:—1. A brief account of the ancient Kings and Princes of Britain and Wales, till the final extinguishing of the Royal British line. 2. Remarks upon the lives of all the princes of Wales of the Royal families of England, from Edward i. to Charles ii. 3. Remarkable observations on the most memorable persons and places in Wales, and of many considerable transactions and passages that have happened therein for many hundred years, &c. By Robert Burton. 1730." 12plyg.

Ailargraffiad: gwel rhif. 3, 1695.

4. "Y cyfrif Cywiraf o'r Pechod-Gwreiddiol, I geisio rhagflaenu twyll a hudoliaeth rhyw bapurun Cableddus na fyn neb ei arddel, heb na Thad na Mam, ond y Press; heb nag Enw nag Amser wrtho yn dwyn yr enw Cyfrif Cywir o'r Pechod Gwreiddiol, fel Swm y peth y mae yn ei gynnwys yntho, yr hwn sydd yn llwyr anheilwng o'r fath enw: Can's y mae 'n cyfeiliorni yn ddirfawr yn ei gylch, ac yn crybwyll am bechod gweithredol Adda yn ei le ef. Argraphwyd Ynghaerfyrddin, gan Isaac Carter, Mis Mehefin, y 27, 1730. Dros Mr. James Lewis a Mr. Christmas Samuel, Gweinidogion yr Efengyl."

Am Christmas Samuel, gwel rhif. 3, 1728. Yr oedd Mr. J. Lewis yn un o Ddinas Cerdin, yn mhlwyf Llandysul, sir Aberteifi; ac yn weinidog yr Ymneillddüwyr yn Mhen-cader, sir Gaerfyrddin, lle y bu farw yn 1747, yn 73 oed.[2]

5. "Cyvreithiau Hywel Dda, ac eraill, seu Leges Ecclesiasticæ et Civiles Hoeli Boni et Aliorum Wallicæ Principum ques ex variis codicibus manuscriptis ernit, by Dr. Wotton and Moses Williams; and published with learned Preface, by Mr. Clarke. London. 1730." Unplyg.

Cynnwysa y "Myvyrian Archæology" y cyfreithiau hyn yn gyflawn yn Gymraeg, allan o ysgrifau y ddeuddegfed ganrif yn llyfrfa yr Ysgol Rad Elusengar Gymreig, yn Llundain. Y Mr. Clarke uchod ydoedd y Dr. D. E. Clarke, y teithydd. Dywedir mai yr ysgrif lawnaf o gyfreithiau Hywel Dda a gafwyd yn sir Aberteifi, oddeutu 460 mlynedd yn ol.

Tybygem ein bod wedi rhoddi llam eithaf digon bellach i'r ganrif hon. Yr ydys yn gweled fod hyn hefyd yn gwneyd cyfnod wrtho ei hun. Bydd y cyfnodau nesaf yn godiad Methodistiaeth. Hyd yn hyn, llyfrau Eglwyswyr, a'r "*tri* enwad o Ymneillddüwyr," oedd y cwbl; ond o hyn allan, ceir y *pedwar* enwad. Y tri enwad, a enwid ac a gydnabyddid yn mhob ymdriniaeth gyfreithiol, oeddynt—yr Annibynwyr, y Bedyddwyr, a'r Henaduriaethwyr. Yn awr y mae yr Henaduriaethwyr wedi diflanu, heb ddim o'u henaduriaeth i'w hadnabod; a'r unig fodd i'w hadnabod yw, nid wrth eu cyfundrefn eglwysig, eithr wrth eu gwahaniaethau athrawiaethol. Collasant yr hyn oedd yn hynodi eu hynafiaid fel cyfundeb, a chodasant wahaniaethau athrawiaethol nad oedd eu hynafiaid yn eu cydnabod; ac ar yr un pryd yn galw eu hunain yn Henaduriaethwyr! Y pedwar enwad

[1] "Hanes y Bedyddwyr;" a "Cyfaill o'r Hen Wlad."
[2] "Hanes Ymneillduaeth:" tudal. 406—7.

yn awr yw, yr Annibynwyr, Bedyddwyr, y Methodistiaid Wesleyaidd, a'r Methodistiaid Calfinaidd: neu gellir eu gwneyd yn *dri* enwad eto, er cau yr hen Bresbyteriaid Sosinaidd allan, trwy gymeryd y ddau enwad Methodistaidd yn un enwad Henaduriaethol neu Bresbyteraidd, yr hyn ydynt mewn rheswm llawer cryfach na'r Sosiniaid. Yn awr, o'n blaen y mae y cyfnod Methodistaidd yn gwawrio, a bydd y llyfrau a roddwn ger bron yn ei hynodi yn amlwg. Fel y bydd y cyfnod hwn yn dyfod ymlaen, bydd llai o gyhoeddi ffurf o weddïau, gan y bydd mwy o weddïo o'r galon, ac â'r ysbryd, a mwy o ddefnyddiau canu—mwy efengylaidd—nag a fu y cyfnodau a aethant heibio. Yr ydys yn anwesu y dyb fod ein sylwadau hyn yn eithaf cywir, ac y ca ein darllenwyr brawf o'u cywirdeb yn nghorff y tair erthygl nesaf.

---

# ATHRONIAETH KANT.

CAWSOM gyfle yn ddiweddar i ddarllen llythyr a anfonasid at un o olygwyr y "Traethodydd" yn cynnwys dymuniad am "ychwaneg o draethodau dyfnion ac athronyddol, cyffelyb i'r '*Edinburgh Review*' neu y '*North British*.'" Y mae yn rhaid i ysgrifenydd y llythyr hwn roddi cenad i ni sylwi ei fod wedi syrthio i ychydig o gamgymeriad; oblegid nid oes un o gyhoeddiadau y Seison wedi anrhegu ei ddarllenwyr mewn cyn lleied amser â chynnifer o draethodau "dyfnion ac athronyddol" ag a ymddangosodd yn y "Traethodydd." Yn yr "*Edinburgh Review*" nid oes nemawr o draethodau gwir ddyfnion wedi ymddangos er ys blyneddau lawer, oddieithr chwech neu saith o eiddo Syr William Hamilton; ac yn y "*North British*" ni chafwyd uwchlaw tair neu bedair ysgrif o'r natur yma er y dechreu. Ar yr un pryd, y mae darlleniad y llythyr hwn, ynghyd â'r wybodaeth a gawsom yn achlysurol am ddymuniad cyffelyb o fanau eraill, wedi rhoddi i ni hyfrydwch nid bychan; yn gymaint a'i fod yn peri i ni obeithio fod llawer o fechgyn Cymru wedi eu deffro i feddwl, ac yn dechreu dyfod yn alluog i ymborthi ar fwyd cryf. Dichon fod rhyw ychydig o hunan a ffolineb yn gymysg â'r dymuniad hwn mewn rhai o honynt; ond y ffordd debycaf i'w hargyhoeddi o'u hanwybodaeth yw eu harwain at y materion mwyaf dyfnion; ac o bob athroniaeth, mae yn ddïau mai yr athroniaeth ddyfnaf —yr athroniaeth sydd wedi rhoddi gwaith i'r meddyliau mwyaf dyfnbwyll, a'r hon sydd yn sicr o effeithio yn ddyfnaf yn y pen draw ar bob gwybodaeth arall—yw athroniaeth y meddwl. Fe allai hefyd nad oes neb wedi treiddio yn ddyfnach i'r athroniaeth hon—o'r hyn lleiaf, nid oes neb wedi achosi chwyldroad llwyrach yn ngolygiadau y dynion callaf mewn perthynas iddi, na'r hyglod Immanuel Kant, awdwr y "*Kritik der reinen Vernunft*" (Beirniadaeth y Rheswm pur). Y mae wedi ysgrifenu amryw lyfrau eraill ar wahanol faterion. Yn y "*Kritik der practischen Vernunft,*" a'r "*Metaphysik der Sitten,*" yr ydym yn cael ei olygiadau ar y Gydwybod a'r Ewyllys. Ond y llyfr cyntaf a enwyd, yn yr hwn y traethir am gynneddfau gwybodaeth, a gynnwys y gyfundrefn a adnabyddir yn neillduol

wrth ei enw: ac y mae hwn yn ddigon i ni am ddwy neu dair o erthyglau. Wrth ddwyn y gwaith hwn, yn hytrach na'n syniadau ein hunain, ger bron y darllenydd, yr ydym yn teimlo fod genym hawl i addaw y bydd ein herthyglau yn ddyfnion ac athronyddol: ac wrth gyfyngu ein hunain at un awdwr, yn lle rhedeg yn arwynebol dros lïaws o enwau, bydd genym well mantais i wneyd cyfiawnder â'r pwnc. Fel y caffo y darllenydd gyfle, nid yn unig i foddio ei chwilfrydedd, ond i ffurfio barn deg a chywir, rhoddir cryn nifer o ddyfyniadau yn ngeiriau Kant ei hun. Byddant yn werth llafurio i'w deall; ac i'r sawl a fyddo yn meddu ar ddigon o benderfyniad meddwl, ni fyddant yn annealladwy. Ac yma y mae yn iawn i ni roddi gair o ocheliad o flaen y darllenydd. Os nad yw yn dewis darllen dim ond sydd hawdd i'w ddeall, nid yw yn un dyben iddo son am athroniaeth y meddwl. Mae yn wir am lawer sydd wedi cymeryd arnynt ysgrifenu cyfrolau ar hyn, nad ydynt yn gofyn llawer o weithrediad meddwl yn y darllenydd, mwy nag yn yr ysgrifenydd. Ni ddylid eu dïystyru; oblegid y mae y gorchwyl o boblogeiddio gwybodaeth yn fuddiol i blant. Er hyny, fel rheol gyffredin, os na fydd awdwr yn galw holl feddwl y darllenydd i lawn weithrediad, gallwn benderfynu ei fod yn ysgrifenu yn arwynebol. Ond un lled wahanol i hyn yw awdwr y "*Kritik der reinen Vernunft.*"

Cyn ymddangosiad y gwaith hwn, yr oedd athroniaeth y meddwl wedi ei chladdu mewn tryblith o ansicrwydd, ac yn ei chwymp wedi tynu duwinyddiaeth i lawr i'w chanlyn. I gael gafael yn yr achos o'r dirywiad hwn, mae yn rhaid i ni fyned yn ol at y llygredigaeth a'r annuwiaeth a ddygwyd i mewn i'r deyrnas hon gydag adferiad Siarl yr Ail.' Priodolir ef yn fynych i Locke; ond y mae hyn yn anghyfiawnder dirfawr, oblegid yr oedd ei athroniaeth ef yn fwy ysbrydol i raddau anghymharol na'r eiddo rhai o'i ragflaenwyr. Gwnaeth ef ei oreu i godi argae yn erbyn y ffrwd; ond nid oedd ganddo safle digon cadarn i sefyll arno, gan ei fod yn gwadu meddylddrychau cynhenid, ac yn priodoli y cwbl i'r synwyrau corfforol. Mae yn wir ei fod weithiau yn son am adfyfyrdod fel ffynnonell meddylddrychau; ond os na fydd gan ddyn ddim i fyfyrio arno ond sydd yn dyfod i mewn trwy y synwyrau, o ba le y dichon iddo gael gwybodaeth am ddim heblaw am briodoliaethau ymddangosiadol y byd gweledig? Os yw meddwl dyn fel papyr gwyn, yn derbyn ei holl feddylddrychau trwy y synwyrau, yna er iddo eu cymharu trwy adfyfyrdod, a'u gwahanu, a'u rhanu fel y myno, y maent o hyd yn rhwym o aros yn argraffiadau corfforol, ac nid yw gwybodaeth dyn o ran natur yn ddim uwch na gwybodaeth yr anifel. Pe buasai Locke yn cymeryd yr un tir a Cudworth, buasai yn alluog i droi yn ol annuwiaeth Hobbes a'i ganlynwyr; ond gan iddo roddi i fyny y brif amddiffynfa, er cymaint ei ddawn, ac er cystal ei ddyben, bu ei ymgais yn aflwyddiannus. Yn ganlynol, daeth Hume ymlaen i brofi nas gallai dyn fod yn sicr am ddim ond yr hyn a welai â'i lygaid ac a deimlai â'i ddwylaw; ac mai prin y gallai fod yn sicr o hyny mewn gwirionedd: ac heb ryw athroniaeth uwch na'r eiddo Locke, nid oedd modd ei wrthsefyll. Yn y cyfyngder hwn, cymerodd Reid afael yn yr egwyddor o "synwyr cyffredin:" ond gyda phob parch i Reid, ac i'w amddiffynwr, Syr William Hamilton, nis gallwn lai na meddwl fod yr egwyddor hon ei hun yn lled ansicr ac anmhenderfynol i feddwl adeiladu arni; a buasai yn anhawdd i'r meddwl dynol bwyso ar unrhyw egwyddor

o'r fath yma, heb i ryw athronydd dreiddio yn ddyfnach na Reid, i ddangos pa beth sydd yn ei chyfansoddi, pa gymaint o bwysau y mae yn alluog i'w gynnal, a phaham y dylid cymeryd rhyw wirioneddau mwy nag eraill yn sylfaen i'r holl adeilad. Dyma y gorchwyl yr amcanwyd ei gyflawni gan Kant. Cymered y darllenydd un dyfyniad byr ar y mater, o'i ragymadrodd i'r argraffiad cyntaf o'r "*Kritik der reinen Vernunft.*"

"Gyda golwg ar *sicrwydd*, yr wyf wedi gosod i lawr y penderfyniad, nad oes caniatad mewn unrhyw fodd, yn y fath yma o ymchwiliadau, i *dybied*, a bod y cwbl sydd ynddynt yn ymddangos yn debyg i dybiaeth yn eiddo gwaharddedig, yr hwn nis gellir ei gynnyg ar werth am y pris iselaf; ond mor fuan ag y ceir ef allan, mae yn rhaid ei attafaelu."

Er mwyn gweled ei amcan yn eglurach eto, darllener ymhellach un dyfyniad o'i ragymadrodd i'r ailargraffiad.

"Hyd yn hyn cymerwyd yn ganiataol fod yn rhaid i'n holl wybyddiaeth reoli ei hun yn ol y gwrthddrychau: er hyny y mae pob ymgais i wneyd allan rywbeth mewn perthynas iddynt *a priori* trwy ein hamgyffredion, trwy yr hyn y gallesid eangu ein gwybyddiaeth, wedi bod dan y dybiaeth hon yn ddieffaith. Profer gan hyny am unwaith a lwyddir ddim yn well yn ymchwiliadau uchanianaeth, ar y dybiaeth fod yn rhaid i'r gwrthddrychau reoli eu hunain yn ol ein gwybyddiaeth, yr hyn sydd eisoes yn cydfyned yn well â'r dichoniaeth dymunedig o wybyddiaeth o honynt *a priori*, yr hwn sydd i benderfynu rhywbeth am wrthddrychau cyn eu rhoddi o'n blaen. Yr amgylchiadau yn yr achos hwn ydynt yn hollol yr un a chyda meddyliau cyntaf Copernicus, yr hwn, gan nad oedd yn llwyddo i esbonio symudiadau y cyrff nefol, wrth dybied fod yr holl ffurfafen yn troi oddiamgylch yr edrychydd, a chwiliodd pa un a atebai yn well os gadawai yr edrychydd ei hun i droi, a'r ser yn y gwrthwyneb i aros. Yn awr, mewn uchanianaeth, gallwn gynnyg yr un ffordd gyda golwg ar ganfyddiad gwrthddrychau. Os rhaid i'r canfyddiad reoli ei hun yn ol ansawdd y gwrthddrychau, nid wyf yn gweled pa fodd y gall neb wybod dim mewn perthynas iddo *a priori;* ond os yw y gwrthddrych yn rheoli ei hun (fel gwrthddrych y synwyr) yn ol ansawdd ein gallu o ganfyddiad, gallaf yn hawdd amgyffred fod hyn yn ddichonadwy."

Yn awr, awn rhagom at yr arweiniad i mewn, yr hwn sydd yn dechreu gyda'r gwahanaeth rhwng gwybodaeth bur a gwybodaeth brofiadol. Wrth wybodaeth bur y meddylir y wybodaeth sydd yn tarddu o'r meddwl ei hun; wrth wybodaeth brofiadol y meddylir yr hyn sydd yn dyfod i ni trwy brofiad; ac o ganlyniad y mae y gwahaniaethad hwn yn ymddibynu ar yr olwg a gymerir ar ddeilliad meddylddrychau. Dyma wreiddyn y ddadl yn mhob oes er dyddiau Plato. O'n rhan ni, yn hytrach na phriodoli y cwbl i'r argraffiadau sydd yn dyfod trwy y synwyrau corfforol, byddai yn haws genym gymeryd cyfundraith Plato yn ei chrynswth, a golygu ein holl wybodaeth yn adgofiad o'r hyn oedd yn y meddwl mewn rhyw gyflwr blaenorol. Nid yw hyn mor afresymol ag y mae y rhan fwyaf o'r beirniaid yn ceisio ei ddesgrifio. I'r gwrthwyneb, er fod Plato yn myned yn rhy bell wrth gynnyg esbonio y ffaith, eto y mae cnewyllyn y ffaith ei hun yn aros yn anwadadwy, sef mai yn nghyfansoddiad gwreiddiol y meddwl y mae i ni edrych am elfenau sylfaenol ein meddylddrychau. Gan fod y blaid wrthwynebol, megys Locke, Hartley, Hume, Brown, &c., mor dueddol i ddarostwng y meddwl, a'i wneyd yn gyffelyb i'r corff, mae yn rhyfedd na chofient fod y prif achos sydd yn troi yr ymborth yn rhanau o gorff byw, nid yn yr ymborth, ond yn nghyfansoddiad blaenorol y corff ei hun. Er fod y defnydd yn dyfod iddo oddiallan, eto oddifewn y mae yr achos sydd yn gwneuthur y defnydd hwnw yr hyn ydyw fel rhan o'r corff. Ond diau y dewisai ein darllenwyr gael geiriau Kant ei hun ar y mater hwn. Fel y canlyn y mae efe yn dechreu ei Arweiniad i mewn:—

"Fod ein holl wybyddiaeth yn dechreu gyda phrofiad, sydd yn ddiammheuol; oblegid pa fodd y gallai y gynneddf o wybyddiaeth gael ei deffro i ymarferiad, oni b'ai fod hyn yn dygwydd trwy wrthddrychau y rhai a effeithiant ar ein synwyrau, ac mewn rhan o honynt eu hunain a gynnyrchant arddangosiadau, ac mewn rhan a ddygant ein gallu deallol i weithrediad, i'w cymharu, i'w cysylltu, neu i'w gwahanu, ac fel hyn i weithio defnydd annelwig y teimladau i wybyddiaeth o wrthddrychau, yr hyn a elwir profiad. Gyda golwg ar amser, gan hyny, nid oes un wybyddiaeth ynom ni yn rhagflaenu profiad, ac y mae y cwbl yn dechreu gyda phrofiad.

Ond er fod ein holl wybyddiaeth yn dechreu gyda phrofiad, nid yw y cwbl oblegid hyny yn tarddu o brofiad. Oblegid gall yn hawdd ddygwydd fod hyd yn nod ein gwybyddiaeth brofiadol yn cael ei gyfansoddi o'r hyn a dderbynir trwy y synwyrau, ac o'r hyn y mae ein gallu gwybyddol ei hun (trwy gymhelliad yr argraffiadau synwyrol) yn ei gynnyrchu o hono ei hun, yr hwn ychwanegiad nis gallwn ei wahaniaethu oddiwrth y defnydd gwreiddiol mewn dadl, nes y byddo hir ymarferiad wedi tynu ein sylw ato, a'n gwneyd yn fedrus i'w wahaniaethu.

Y mae gan hyny, o leiaf, yn un o'r holiadau sydd o hyd yn gofyn ymchwiliad manylach, ac nas gellir ar yr olwg gyntaf yn ebrwydd ei ateb,—a oes y cyfryw wybyddiaeth yn annibynol ar brofiad, ac ar argraffiadau y synwyrau. Y cyfryw wybyddiaethau yr ydym yn eu galw *a priori*, i'w gwahaniaethu oddiwrth y rhai profiadol, (*empirischen*, *Saes. empirical*) y rhai sydd yn tarddu *a posteriori*, hyny yw, o brofiad."—*Kritik der reinen Vernunft: Einleitung*, § 1.

Yn yr ail adran o'r Arweiniad i mewn, dangosir ein bod yn meddu rhyw wybodaeth *a priori*, sef gwybodaeth anymddibynol ar y synwyrau corfforol. Nodau y wybodaeth hon yw *anghenrheidrwydd* a *chyffredinolrwydd*. Os cyfarfyddir â gwirioneddau sydd yn ymddangos yn anghenrheidiol anhebgorol, ac yn gyffredinol ddieithriad, mae yn hawdd gweled fod yma rywbeth nad yw yn cael ei ddysgu gan brofiad y synwyrau corfforol. Y cwbl a ddichon profiad ei ddangos yw fod y peth yn wirionedd hyd y mae ein sylw ni wedi cyrhaedd; ond nid yw mewn un modd yn profi ei fod yn wirionedd anghenrheidiol a chyffredinol. O ba le y daeth yr anghenrheidrwydd hwn? Mae yn amlwg nad yw wedi dyfod oddiwrth brofiad; ac y mae yn rhaid gan hyny ei fod wedi tarddu o gyfansoddiad y meddwl ei hun. Y mae yma wahaniaeth, nid yn unig mewn graddau, ond mewn natur; oblegid yn y naill amgylchiad yr ydym yn teimlo y gallasai fod fel arall, ond yn y llall yr ydym yn teimlo mai felly y mae yn rhaid iddi fod. Ac nid hyny yn unig, ond y mae gwirioneddau anghenrheidiol yn profi eu hunain ar unwaith, yn eu goleuni eu hunain, fel nad yw ychwaneg o brofiad yn ychwanegu dim at yr anghenrheidrwydd. Yn awr, i ddangos fod y fath wirioneddau anghenrheidiol *a priori* yn bod, cymerer y dyfyniad a ganlyn:—

"Gellir dangos yn hawdd fod y cyfryw farnau anghenrheidiol, a chyffredinol yn yr ystyr fanylaf, ac o ganlyniad pur *a priori*, mewn gwybyddiaeth ddynol. Os dymunwn anghraifft mewn gwyddiant, nid rhaid i ni ond edrych ar wirioneddau sylfaenol rhifyddiaeth. Os dymunwn anghraifft oddiwrth arferiad mwyaf cyffredin y deall, gwasanaetha y gosodiad, "fod i bob cyfnewidiad ryw achos." Ac yn yr amgylchiad olaf, mae yr amgyffrediad o achos yn cynnwys mor amlwg yr amgyffrediad o'r anghenrheidrwydd o gysylltiad ag effaith, ac o hollol gyffredinolrwydd y rheol, fel y collid ef yn llwyr pe dewisem gyda Hume ei briodoli i gydfynediad mynych yr hyn sydd yn dygwydd a'r hyn sydd yn ei ragflaenu, a'r arferiad yn tarddu oddiwrth hyny (o ganlyniad anghenrheidrwydd tufewnol yn unig) o gysylltu arddangosiadau. Ac heb eisieu y cyfryw anghreifftiau i brofi gwirionedd egwyddorion pur *a priori* yn ein gwybyddiaeth, gellid dangos eu bod yn anhebgorol er gwneuthur profiad ei hun yn ddichonadwy, ac o ganlyniad yn anghenrheidiol *a priori*. Oblegid o ba le y gallai profiad gael ei sicrwydd, pe buasai yr holl reolau yn ol pa rai y mae yn gweithredu yn tarddu eu hunain o brofiad? Pe felly, prin y gallesid edrych arnynt yn gedyrn fel egwyddorion cyntefig."—*Ibid.* § 2.

Ar ol dangos mewn adran arall fod athroniaeth yn sefyll mewn anghen am ryw wyddiant i benderfynu posiblrwydd, egwyddorion, a chylch yr holl wybyddiaethau *a priori*, y mae Kant yn myned ymlaen i egluro y gwahaniaeth rhwng barnau dosranol a chyfosodiadol (*analytical and synthetical*). Wrth ffurfio barn, yr ydym yn cymeryd rhyw wrthddrych fel sylfon (*subject*) mewn cysylltiad â rhyw briodoledd fel mynegiad (*predicate*). Mae y berthynas hon rhwng y sylfon a'r mynegiad yn ddichonadwy mewn dwy ffordd: un ai y mae y mynegiad B yn perthyn i'r sylfon A fel rhyw beth a gynnwysir (mewn dull cuddiedig) yn yr amgyffrediad A; neu ynte y mae y mynegiad B yn gorwedd yn hollol y tuallan i'r sylfon A, er ei fod yn sefyll mewn cysylltiad âg ef. Yn yr amgylchiad cyntaf yr ydym yn galw y farn yn ddosranol, yn yr ail yn gyfosodiadol. Er anghraifft, os dywedir, "Y mae pob corff yn meddu hyd a lled," dyma farn ddosranol; oblegid nid oes raid i ni fyned allan o'r amgyffrediad am gorff i gael gafael ar hyd a lled yn gysylltiedig âg ef; ond y cwbl sydd eisieu yw dosranu yr amgyffrediad i gael y mynegiad. I'r gwrthwyneb, os dywedir, "Y mae pob corff yn meddu pwysau;" y mae y mynegiad hwn yn rhywbeth gwahanol i'r hyn a gynnwysir yn yr amgyffrediad am gorff. Gan hyny, y mae ychwanegiad y cyfryw fynegiad yn rhoddi barn gyfosodiadol. Mae yn amlwg mai barnau cyfosodiadol sydd yn eangu ein gwybodaeth, a dyma y barnau sydd yn tarddu o brofiad. Ond a ydyw ein *holl* farnau cyfosodiadol yn tarddu o brofiad? Nac ydynt yn ddiau. Cymerwch y gosodiad, "Y mae achos i bob dygwyddiad;" y mae hwn yn cynnwys barn gyfosodiadol; oblegid y mae y meddylddrych am achos yn ychwanegiad at y meddylddrych am ddygwyddiad. Ond nis gall darddu o brofiad; oblegid y mae yn cario gydag ef anghenrheidrwydd, yr hwn nis gallai profiad byth ei roddi; ac o ganlyniad y mae yn farn gyfosodiadol *a priori*. Ar y cyffelyb farnau y mae rhifyddiaeth a mesuryddiaeth, ac athroniaeth naturiol hefyd, i raddau, yn sylfaenedig.

Ond heb aros yn hwy gyda'r arweiniad i mewn, yr ydym yn brysio at gorff y llyfr, yr hwn sydd yn dechreu gyda "Theimladaeth Uchanianol." Gweithrediad y meddwl ar wrthddrychau, trwy yr hyn y mae y meddwl yn dyfod yn wybyddus o honynt, a elwir canfyddiad (*Anschauung*). Y gallu synwyrol sydd yn ein cynnysgaethu â chanfyddiadau, ond meddylir hwynt gan y deall, a thrwy hyn y mae amgyffrediadau yn tarddu. Y canfyddiad hwnw sydd yn cyfeirio at wrthddrych trwy gyfrwng argraffiad synwyrol a elwir yn ganfyddiad profiadol. Y gwrthddrych anmhenderfynol o ganfyddiad profiadol a elwir yn ymddangosiad. Dosbarthir ymddangosiadau yn ddwy ran, sef mater a ffurf. Dyma wahaniaeth sydd yn teilyngu sylw neillduol, oblegid y mae yn dwyn perthynas, nid yn unig âg athroniaeth y meddwl, ond â phob gwybodaeth arall. Beth yw yr achos o'r holl amrywiaethau sydd o flaen ein llygaid mewn blodau a choedydd a chreaduriaid? Nid gwahaniaeth yn y defnydd yn gymaint ag yn y ffurf. Mewn fferylliaeth, dangosir fod y sylweddau mwyaf uchelbris a'r rhai mwyaf diwerth yr un mewn mater, ond yn wahanol mewn ffurf. Gwreiddyn llawer cyfeiliornad mewn duwinyddiaeth yw talu rhy fach o sylw i ffurf, yn yr ystyr yr arferir y gair yn y lle hwn. Felly mewn perthynas i athroniaeth y meddwl, buasai yn haws penderfynu y ddadl am ddeilliad meddylddrychau pe cadwesid y gwahaniaeth hwn mewn golwg. Geiriau Kant ar y pwnc hwn sydd fel y canlyn:—

"Yr hyn sydd mewn ymddangosiad yn cyfateb i argraff y synwyr yw y *mater*, ond yr hyn sydd yn peri fod amrywiaeth yr ymddangosiad yn drefn mewn perthynasau penodol yw *ffurf* yr ymddangosiad. Gan nas gall hyny fod yn argraff y synwyr, trwy yr hwn yn unig y mae argraffiadau y synwyrau yn cael eu trefnu a'u dwyn i ffurf benodol, y mae mater yr holl ymddangosiadau yn cael ei roddi fel hyn, mae yn wir, yn unig *a posteriori*, ond y mae yn rhaid fod y ffurf o honynt yn gorwedd yn barod iddynt oll yn y meddwl *a priori;* ac am hyny gellir ei ystyried ar wahan oddiwrth holl argraffiadau y synwyrau.

Yr wyf yn galw pob arddangosiad yn bur, yn yr hwn ni chyfarfyddir â dim sydd yn perthyn i argraff y synwyr. Y ffurf bur o ganfyddiadau synwyrol yn gyffredinol a geir gan hyny *a priori* yn y meddwl, trwy yr hyn y mae holl amrywiaeth ymddangosiadau i'w canfod mewn perthynas neillduol. Y ffurf bur yma o synwyr a elwir hefyd yn ganfyddiad pur. Felly, os gwahanaf oddiwrth yr arddangosiad o gorff yr hyn y mae y deall yn ei feddwl ynddo, megys sylwedd, gallu, hyranedd, ac hefyd yr hyn o hono sydd yn perthyn i argraff y synwyr, megys anhydreiddrwydd, caledrwydd, lliw, &c., y mae rhywbeth eto yn aros yn ol i mi o'r canfyddiad profiadol hwn, sef eangder a llun. Y rhai hyn a berthynant i ganfyddiad pur, yr hwn *a priori*, ac heb wrthddrych gwirioneddol o synwyr neu deimlad, sydd yn meddu lle yn y meddwl fel ffurf bur o'r gallu synwyrol.

* * * Mewn Teimladaeth athronol, gan hyny, ni a neillduwn y gallu synwyrol yn gyntaf fel ag i wahanu pob peth a feddylir ynddo gan y deall trwy ei amgyffredion, nes na byddo dim yn aros ond canfyddiad profiadol. Yn ail, ni a wahanwn drachefn oddiwrth hyn bob peth sydd yn perthyn i argraff y synwyr, nes na byddo dim yn aros ond canfyddiad pur a ffurf noeth yr ymddangosiadau; yr hyn yw yr unig beth a dderbynir *a priori* oddiwrth y gallu synwyrol. Yn yr ymchwiliad hwn ceir fod dwy ffurf bur o ganfyddiad synwyrol, fel egwyddorion gwybyddiaeth *a priori*, sef lle ac amser."—*Ibid. Transcendentale Aesthetik:* § 1.

Fel cynnorthwy i ddeall y dyfyniad uchod, cymerir cymhariaeth agos, yr hon a ddichon fod yn fantais i'r anghyfarwydd, er ei bod yn rhwym o fod yn anghelfydd, ac i raddau yn anmhriodol. Tybier fod canfyddiadau yn y meddwl fel papyrlen yn yr argraffwasg yn derbyn argraff o arluniadau celfydd, a'r rhai hyny yn cael eu lliwio yr un pryd yn y modd mwyaf prydferth. Yn awr, ar un llaw, mae yn rhaid gadael allan o'r sylw y lliwiau a dderbynir oddiwrth y deall; ac ar y llaw arall, mae yn rhaid gadael allan y defnydd sydd yn dyfod oddiwrth wrthddrychau allanol; yna bydd genym feddylddrych am ffurf noeth yr arluniau. Er mor anmherffaith yw y gymhariaeth hon, y mae yn llawer mwy cymhwys na'r hen gyffelybiaeth am y meddwl fel papyr gwyn. Yr hyn sydd yn dyfod i'r meddwl trwy y synwyrau yw y papyr, ar yr hwn y mae y meddwl yn rhoddi ei argraff ei hun. Y deall sydd yn llanw ac yn lliwio yr arluniad: ond cyn dyfod i sylwi yn fanwl ar waith y deall, yr hyn a wneir yn yr erthygl nesaf, mae yn fuddiol cymeryd golwg yn gyntaf ar yr amlinelliad noeth. Yr ydym wedi gweled uchod mai ffurfiau pur y gallu synwyrol yw lle ac amser. Ond beth yw y ffurfiau hyn? Ac yn gyntaf, beth yw lle? I'r gofyniad hwn y mae Kant yn ateb fel y canlyn:—

"Trwy gyfrwng y synwyr allanol (fel priodoledd ein meddwl) yr ydym yn gosod o'n blaen wrthddrychau fel yn allanol i ni, ac oll mewn lle. Felly yr ydym yn penderfynu, neu yn alluog i benderfynu, eu llun, a'u maint, a'u perthynas â'u gilydd. Y synwyr tufewnol, trwy yr hwn y mae y meddwl yn canfod ei hun neu ei gyflwr tufewnol, nid yw, mae yn wir, yn rhoddi un canfyddiad o'r enaid fel gwrthddrych; ond eto y mae ffurf benodol dan yr hwn y mae canfyddiad o'i gyflwr tufewnol yn unig yn ddichonadwy, fel y mae yr oll sydd yn perthyn i'r penderfyniadau tufewnol yn cael eu gosod ger bron mewn perthynasau o amser. Yn allanol nis gellir edrych ar amser, mwy na lle, fel rhywbeth ynom. Yn awr pa beth yw amser a lle? A ydynt yn fodau sylweddol? A ydynt mewn gwirionedd yn ddim mwy na phenderfyniadau, neu hefyd yn berthynasau pethau, ond ar yr un pryd yn gyfryw ag a berthynant i'r pethau hyn ynddynt eu hunain, pe na chanfyddid hwynt; neu a ydynt yn gyfryw ag a lynant yn unig wrth ffurf y canfyddiad, ac felly wrth briodoledd dufewnol ein meddwl, heb y rhai nis gellid priodoli y gosodiadau hyn i unrhyw wrthddrych? Er mwyn addysgu ein hunain ar hyn, ni a esboniwn yn gyntaf y syniad o le.

1. Nid yw lle yn syniad profiadol wedi ei gael oddiwrth brofiadau allanol. Oblegid cyn y gallaf olrhain teimladau at rywbeth y tuallan i mi (hyny yw at rywbeth mewn lle gwahanol i'r hwn yr wyf fi ynddo), ac hefyd cyn y gallaf eu gosod o'm blaen fel y tuallan i, ac yn agos at eu gilydd, o ganlyniad, nid yn unig yn wahanol ond mewn gwahanol leoedd,

mae yn rhaid i'r syniad am le i'r perwyl hwn fod yn sylfaen i'r cwbl. Gan hyny nis gall y syniad am le gael ei dderbyn trwy brofiad oddiwrth berthynasau ymddangosiadau allanol, ond y syniad dywededig sydd yn gyntaf yn gwneyd y profiad allanol hwn yn ddichonadwy.

2. Y mae lle yn syniad anghenrheidiol *a priori*, yr hwn sydd yn sylfaen i bob canfyddiad allanol. Nis gallwn wneuthur i ni ein hunain y syniad hwn—nad oes un lle—er y gallwn yn hawdd feddwl am dano heb un gwrthddrych o'i fewn. Edrychir arno, gan hyny, fel ammod o bosiblrwydd ymddangosiadau, ac nid fel penderfyniad yn ymddibynu arnynt; ac y mae yn syniad *a priori*, yr hwn o anghenrheidrwydd sydd yn sylfaen i bob ymddangosiad allanol.

3. Nid yw lle yn syniad cyffredinol am berthynasau pethau â'u gilydd, ond yn ganfyddiad pur. Oblegid, yn y lle cyntaf, nis gall neb ddychymygu mwy nag un lle, a phan soniwn am lawer o leoedd, yr ydym wrth hyny yn deall rhanau o'r un a'r unrhyw le. Nis gallasai y rhanau hyn ychwaith ragflaenu yr un lle sydd yn cynnwys y cwbl, i wneuthur y cyfanswm yn ddichonadwy; ond yn yr oll yn unig y gellir meddwl am y rhanau. Y mae yn hanfodol un—yr amrywiaeth, ac o ganlyniad y syniad cyffredinol am leoedd, a orphwys yn unig ar derfyniadau. Oddiyma y mae yn canlyn mewn perthynas iddo, fod canfyddiad *a priori* (yr hwn nid yw yn dyfod trwy brofiad) yn sylfaen i bob syniad am dano. Fel hyn holl osodiadau mesureg, er anghraifft yr un a ganlyn, "fod swm dwy ochr i driongl yn fwy na'r drydedd," nis gallent ddeilliaw gyda sicrwydd dieithriad oddiwrth ddychymygion cyffredin am linell a thriongl, ond oddiwrth ganfyddiad, ac yn ddïau *a priori*.

4. Y mae lle yn ymddangos fel yn ddiderfyn. Y mae yn wir fod yn rhaid i ni feddwl am bob amgyffrediad fel ymddangosiad yr hwn a gynnwysir mewn rhifedi diddiwedd o amrywiol ymddangosiadau dichonadwy (fel eu harwydd cyffredin), o ganlyniad y mae yn cynnwys y rhai hyn dano ei hun; ond nis gellir meddwl am un amgyffrediad yn y fath fodd, fel pe byddai yn cynnwys rhifedi diderfyn o ymddangosiadau ynddo ei hun. Ond yr ydym yn meddwl fel hyn am le (oblegid y mae holl ranau lle yn cydhanfodi yn ddiderfyn). Gan hyny, y mae yr ymddangosiad gwreiddiol o le yn ganfyddiad *a priori*, ac nid yn amgyffrediad."—*Ibid.* § 2.

Fel atebiad drachefn i'r gofyniad, Beth yw amser? yr ydym yn cael sylwadau fel hyn:—

"1. Nid yw amser yn rhywbeth sydd yn bod o hono ei hun, neu yn perthyn i bethau fel penderfyniad gwrthddrychol, ac o ganlyniad yn aros ar ol i ni gymeryd ymaith holl ammodau tufewnol eu canfyddiad: oblegid ar y dybiaeth gyntaf, byddai yn rhywbeth, yr hwn heb un gwrthddrych sylweddol a fyddai er hyny yn sylweddol; a chyda golwg ar yr ail dybiaeth, nis gallasai, yn unig fel penderfyniad perthynol i bethau ynddynt eu hunain, neu drefn, ragflaenu y gwrthddrychau fel eu hammod, a chael ei wybod a'i ganfod *a priori* trwy osodiadau cyfosodol. Ar y llaw arall, y mae y dybiaeth olaf hon yn dygwydd yn hawdd os nad yw amser yn ddim ond yr ammod tufewnol dan yr hwn y mae pob canfyddiad yn cymeryd lle ynom. Oblegid yna gellir arddangos y ffurf yma o'r canfyddiad tufewnol yn rhagflaenol i'r gwrthddrychau, ac o ganlyniad *a priori*.

2. Nid yw amser yn ddim ond y ffurf o'r synwyr tufewnol, hyny yw, o'r canfyddiad o honom ein hunain ac o'n cyflwr tufewnol. Oblegid nis gall amser fod yn benderfyniad o ymddangosiadau allanol: nid yw yn perthyn i lun nac i sefyllfa; i'r gwrthwyneb, y mae yn penderfynu arddangosiadau ein cyflwr tufewnol. Ac oblegid nad yw y canfyddiad tufewnol hwn yn rhoddi un llun, yr ydym yn ceisio cyflenwi y diffyg trwy gyfatebiaethau, ac yn arddangos olyniad amser trwy linell ddiderfyn, yn yr hon y mae amrywiaeth yn cyfansoddi cyfres, yr hon nid yw yn meddu llydanrwydd, ac oddiwrth briodoliaethau y llinell hon yr ydym yn casglu holl briodoliaethau amser, oddieithr yn unig fod rhanau y gyntaf yn gyfamserol, ond rhanau yr olaf yn olynol. Oddiwrth hyn, hefyd, y mae yn ymddangos fod yr arddangosiad o amser ei hun yn ganfyddiad, gan y gellir dynodi ei holl berthynasau mewn canfyddiad allanol.

3. Amser yw yr ammod ffurfiol *a priori* o bob ymddangosiad yn gyffredinol. Lle, fel y ffurf bur o bob canfyddiad allanol, a gyfyngir fel ammod *a priori* yn unig i ymddangosiadau allanol. Ar y llaw arall, gan fod pob arddangosiadau, pa un bynag a fydd ganddynt bethau allanol yn wrthddrychau ai peidio, eto yn perthyn ynddynt eu hunain, fel penderfyniadau y meddwl, i'r cyflwr tufewnol, ond gan fod y cyflwr tufewnol hwn dan ammod ffurfiol y canfyddiad tufewnol yn perthyn o ganlyniad i amser, felly y mae amser yn ammod *a priori* o bob ymddangosiad yn gyffredinol, ac mewn ffaith yn ammod uniongyrchol i ymddangosiadau tufewnol ein meddyliau, a thrwy hyny yn ammod anuniongyrch i ymddangosiadau allanol. Os gallaf ddywedyd *a priori*, fod pob ymddangosiad allanol mewn lle, ac yn cael ei benderfynu yn ol perthynasau lle *a priori*; gallaf ddywedyd yn ddieithrad oddiwrth egwyddor y synwyr tufewnol, fod pob ymddangosiad yn gyffredinol, hyny yw, holl wrthddrychau y synwyr, mewn amser, ac yn sefyll o anghenrheidrwydd mewn perthynas âg amser.

Os cymerwn ymaith ein dull o ganfod ein hunain yn dufewnol, ac o gynnwys trwy y canfyddiad hwn yr holl ganfyddiadau allanol yn y gallu arddangosiadol, ac o ganlyniad, os

cymerwn y gwrthddrychau fel y maent ynddynt eu hunain, y mae amser felly yn ddim. Nid oes iddo hanfod gwrthddrychol ond yn unig gyda golwg ar ymddangosiadau, gan fod y rhai hyn eisoes yn bethau a dderbynir genym fel gwrthddrychau ein synwyrau; ond nid yw amser mwyach yn wrthddrychol, os cymerwn ymaith allu synwyrol ein canfyddiad, ac o ganlyniad y dull o arddangosiad sydd yn briodol i ni, ac os soniwn am *bethau yn gyffredin.* Amser gan hyny nid yw ond ammod tufewnol ein (dynol) ganfyddiad (yr hwn sydd bob amser yn perthyn i synwyr, hyny yw, mor bell ag yr effeithir arnom gan wrthddrychau), ond y mae ynddo ei hun, yn annibynol ar y meddwl, yn ddim. Er hyny, y mae gyda golwg ar bob ymddangosiad, ac o ganlyniad gyda golwg ar bob peth sydd yn cyfarfod â ni trwy brofiad, o anghenrheidrwydd yn wrthddrychol. Nis gallwn ddywedyd, "Y mae pob peth mewn amser," oblegid yn yr amgyffrediad am bethau yn gyffredinol yr ydym yn gadael allan bob math o ganfyddiad o honynt, ond y mae y canfyddiad hwn yn ammod penodol dan ba un y mae amser yn perthyn i'r arddangosiad o wrthddrychau. Yn awr, os unir yr ammod â'r amgyffrediad, ac os dywedir "Y mae pob peth fel ymddangosiad (gwrthddrych ein canfyddiad synwyrol) mewn amser," y mae yr egwyddor felly yn meddu ar gywirdeb gwrthddrychol a chyffredinolrwydd *a priori*."—*Ibid.* § 6.

Os teimla rhai yn anhawdd rhoddi derbyniad i'r golygiadau hyn, eto meddyliem y bydd yn fwy anhawdd iddynt gyfarfod âg esboniad gwell. Ond fel cynnorthwy pellach i ddeall y mater, rhoddwn yma rai sylwadau ychwanegol allan o'r bennod olaf ar "Deimladaeth Uchanianol."

"Y mae yn anghenrheidiol i ni egluro mor fanwl ag y gellir pa beth yw ein golygiad mewn perthynas i ansawdd sylfaenol pob gwybyddiaeth synwyrol yn gyffredinol, er mwyn rhagflaenu pob camesboniad.

Ein meddwl gan hyny ydyw, nad yw ein holl ganfyddiad yn ddim amgen nag arddangosiad o ymddangosiad, nad yw y pethau a ganfyddir genym yn gyfryw ynddynt eu hunain ag yr ydym ni yn eu canfod; nad yw eu perthynasau ychwaith ynddynt eu hunain wedi eu cyfansoddi fel y maent yn ymddangos i ni, ac os gadewir allan y meddwl, neu ansawdd meddyliol y synwyrau yn gyffredinol, byddai holl briodoliaethau, holl berthynasau gwrthddrychau mewn lle ac amser, ac hyd yn nod lle ac amser eu hunain, yn diflanu, ac nis gallant hanfodi fel ymddangosiadau ynddynt eu hunain, ond yn unig ynom ni. Y mae yn hollol anhysbys i ni beth yw natur y gwrthddrychau ynddynt eu hunain, ar wahan oddiwrth holl amgyffrediad ein gallu synwyrol. Nis gwyddom ddim ond ein dull o'u canfod, yr hyn sydd yn perthyn yn neillduol i ni, a'r hyn nid yw o anghenrheidrwydd yn perthyn i bob Bod, er ei fod i bob dyn. Gyda hyn yn unig y mae a wnelom. Lle ac amser yw ffurfiau pur y gallu hwn, argraffiadau synwyrol yn gyffredinol yw y mater. Ffurfiau lle ac amser yr ydym yn eu gwybod yn unig *a priori*, hyny yw, yn flaenorol i bob sylwad gweithredol, ac am hyny gelwir y canfyddiad yn bur. Ond yr argraff synwyrol yw yr hyn yn ein gwybyddiaeth sydd yn achosi i'r wybyddiaeth gael ei galw *a posteriori*, hyny yw, canfyddiad profiadol. Mae y cyntaf yn aros yn y gallu synwyrol o anghenrheidrwydd, beth bynag fyddo natur yr argraffiadau synwyrol; ond dichon i'r olaf fod yn dra gwahanol. Pe gallem gario ein canfyddiad hwn i'r graddau uchaf o eglurdeb, eto ni ddeuem trwy hyny yn nes at ansawdd y gwrthddrychau ynddynt eu hunain. Y cwbl a allem fyth ei wybod yn gyflawn fyddai ein dull ni o ganfyddiad, hyny yw, ein gallu synwyrol, a hyn o hyd dan ammodau lle ac amser yn unig, y rhai sydd yn perthyn yn wreiddiol i'r meddwl. Pa beth y dichon i'r gwrthddrychau fod ynddynt eu hunain nis gallem byth ei wybod trwy y canfyddiad egluraf o'u hymddangosiad, yr hwn ymddangosiad yn unig a roddir i ni.

2. Er cadarnhad i'r ddysg hon am feddylddrychiaeth *(ideality)* y synwyr allanol yn gystal a'r tufewnol, a holl wrthddrychau y synwyrau o ganlyniad, fel ymddangosiadau, buddiol fyddai sylwi nad yw yr oll sydd yn perthyn i ganfyddiad yn ein gwybyddiaeth (oddieithr y teimlad o hyfrydwch a phoen, a'r ewyllys, y rhai nid ydynt mewn un modd yn wybyddiaethau) yn cynnwys dim ond perthynasau lleoedd mewn canfyddiad (hyd a lled), cyfnewidiad lle (symudiad), a'r deddfau yn ol pa rai y mae y cyfnewidiad hwn yn cael ei benderfynu (galluoedd symudol). Ond yr hyn sydd yn bresennol yn y lle, neu yr hyn a effeithir heblaw cyfnewidiad lle yn y pethau eu hunain, nid yw yn cael ei roddi trwy ganfyddiad. Yn awr, nid yw peth ynddo ei hun yn wybyddus oddiwrth berthynasau yn unig, ac am hyny uniawn yw barnu, megys na roddir dim i ni trwy gyfrwng y synwyr allanol, ond yn unig perthynasau arddangosiad, nas gall y synwyr yma gynnwys dim ond perthynas gwrthddrych i'r meddwl yn ei arddangosiad, ac nid yr hyn sydd yn dufewnol, ac yn perthyn i'r gwrthddrych ynddo ei hun. Gyda'r canfyddiad tufewnol y mae yr amgylchiad yn gyffelyb, oblegid, nid yn unig yn hwn y

mae arddangosiadau y synwyrau allanol yn cyfansoddi y mater â'r hwn y cynnysgaethir ein meddwl, ond hefyd y mae amser, yn yr hwn yr ydym yn gosod yr arddangosiadau hyn, a'r hwn sydd hyd yn nod yn blaenori ein hymwybodolrwydd o honynt mewn profiad, ac yn sylfaenol fel ammod ffurfiol y dull o'u gosod yn y meddwl, yn cynnwys eisoes berthynasau o olyniad, cyfamseriad, ac o'r hyn sydd yr un amser ag olyniad (yr arosol). Yn awr, yr hyn fel arddangosiad a ddichon ragflaenu pob gweithrediad meddwl am unrhyw beth, sydd ganfyddiad; ac os na bydd yn cynnwys dim ond perthynasau, dyna ffurf y canfyddiad; yr hwn, gan nad yw yn arddangos dim, ond mor bell ag y mae rhywbeth wedi ei roddi yn y meddwl, nis gall fod yn ddim amgen na'r dull yr effeithir ar y meddwl trwy ei weithgarwch ei hun, sef trwy y trefniad hwn o'i arddangosiad, o ganlyniad trwyddo ei hun, hyny yw, synwyr tufewnol gyda golwg ar ei ffurf.

3. Wrth ddywedyd fod, mewn lle ac amser, canfyddiad yn arddangos gwrthddrychau allanol, yn gystal a hunanganfyddiad y meddwl, yn unig fel yr effeithir ar ein synwyrau, hyny yw, fel y mae yr ymddangosiad, nid yw hyn yn cynnwys nad yw y gwrthddrychau hyn yn ddim ond rhith. Oblegid, yn yr ymddangosiadau y mae y gwrthddrychau, ac hyd yn nod yr ansoddau a briodolir iddynt, yn cael eu hystyried bob amser fel rhywbeth gwirioneddol; ond mor bell ag y mae yr ansawdd hwn yn ymddibynu ar y dull o ganfyddiad yn y meddwl yn y berthynas rhwng y gwrthddrych a'r meddwl, y mae y gwrthddrych hwn fel ymddangosiad yn wahanol iddo ei hun fel gwrthddrych ynddo ei hun. Felly nid wyf yn dyweyd fod cyrff yn ymddangos yn unig y tuallan i mi, neu fod fy enaid yn ymddangos yn unig yn fy ymwybodaeth, er fy mod yn dal fod y briodoledd o le ac amser, yn ol yr hon fel ammod eu hanfodiad yr wyf yn ystyried y naill a'r llall, yn gynnwysedig yn fy null o ganfyddiad, ac nid yn y gwrthddrychau hyn ynddynt eu hunain. Fy mai i ydyw, os o'r hyn a ddylwn ei ystyried fel ymddangosiad, yr wyf yn gwneyd rhith yn unig. Ond nid yw hyn yn cymeryd lle ar ein hegwyddor o feddylddrychiaeth pob canfyddiad synwyrol. Ar y llaw arall, os priodolwn wiredd gwrthddrychol i'r holl ffurfiau hyny o arddangosiad, nis gallwn rwystro i bob peth gael ei droi trwy hyny yn rhith yn unig. Oblegid os cyfrifwn le ac amser fel priodoliaethau y rhai y mae yn rhaid cyfarfod â hwynt mewn pethau ynddynt eu hunain, ac os meddyliwn am yr afresymoldeb i'r hwn y syrthiwn trwy hyny, gan y bydd genym ddau beth diderfyn, y rhai nis gallant fod yn sylweddau, nac ychwaith yn rhywbeth sydd yn perthyn yn wirioneddol i sylweddau, ac eto yn hanfodi, ac hyd yn nod yn ammod anghenrheidiol o hanfodiad pob peth, o hyd yn aros, hyd yn nod pe difodid pob peth, ar y tir hwn nis gallwn feio y rhagorol Berkeley, pan oedd efe yn darostwng cyrff i ddim ond rhith; Ie, ein hanfodiad ei hun, yr hwn, ar y dybiaeth hon, a fyddai yn ymddibynu ar hunanhanfodiad yr hyn nid yw yn bod, megys amser, a newidid gydag ef yn ddim ond rhith, yr hyn, pa fodd bynag, sydd afresymoldeb nad oes neb eto wedi bod yn euog o hono.

4. Mewn duwinyddiaeth naturiol, lle yr ydym yn meddwl am Dduw fel gwrthddrych yr hwn nid yn unig nis gall fod yn wrthddrych canfyddiad i ni, ond yr hwn nis gall fod mewn un modd yn wrthddrych canfyddiad synwyrol iddo ei hun, yr ydym yn neillduol ofalus i symud ammodau amser a lle o bob canfyddiad o hono (oblegid y cyfryw a raid i bob gwybyddiaeth o hono fod, ac nid meddwl, yr hwn sydd bob amser yn arwyddo terfynau). Ond pa fodd y gallwn wneuthur hyn, os byddwn yn flaenorol wedi gwneyd amser a lle yn ffurfiau pethau ynddynt eu hunain, ac mewn ffaith yn gyfryw ag sydd yn aros fel ammodau o hanfodiad pethau *a priori*, hyd yn nod pan fyddwn wedi difodi y pethau eu hunain, oblegid fel ammodau o bob hanfodiad yn gyffredinol, mae yn rhaid iddynt fod hefyd yn ammodau o'r bod o Dduw. Gan nas gallwn ymfoddloni gan hyny i'w gwneyd yn ffurfiau gwrthddrychol o bob peth, nid oes dim yn aros ond eu gwneyd yn ffurfiau meddyliol ein dull o ganfyddiad, yn allanol yn gystal a thumewnol; yr hwn a elwir yn synwyrol oblegid nad yw yn wreiddiol, hyny yw, nid yn gyfryw ag y rhoddir trwyddo hyd yn nod sylwedd hanfodol gwrthddrych canfyddiad, yr hyn, hyd y gallwn ni weled, nis gall berthyn i neb ond i'r Creawdwr; ond sydd yn ymddibynol ar sylwedd hanfodol y gwrthddrych, o ganlyniad yn ddichonadwy yn unig trwy effeithiad ar allu arddangosiadol y meddwl.

Nid yw ychwaith yn anghenrheidiol i ni gyfyngu y dull o ganfyddiad mewn lle ac amser i ddyn yn unig. Dichon fod pob Bod meidrol meddyliol yn debyg yn hyn i ddyn o anghenrheidrwydd (er nas gallwn benderfynu hyn), eto nid yw am hyny yn peidio perthyn i'r gallu synwyrol, a hyny oblegid y rheswm hwn, ei fod yn ddeilliedig, nid yn wreiddiol, o ganlyniad nid yn ganfyddiad deallol, yr hwn oblegid y rhesymau a grybwyllwyd sydd yn ymddangos yn perthyn i'r Creawdwr yn unig, ond nid un

meddai yr hanes, "Wel, gan i chwi esgeuluso gwneuthur eich dyledswydd, nis gallaf fi ddim lluddias y bobl i wneyd eu dyledswydd hwy." Pa fodd bynag, daethom ni o hyd i rai cyfeillion crefyddol oedd yn y lle; ac wedi adrodd wrthynt ddyben ein hymweliad â'r Iwerddon, cawsom eu barn o barth sefydlu cenadaeth yno, a'n cyfeirio at ryw fanau ag oedd yn eu tyb hwy yn fanteisiol i hyny.

Ymadawsom yn foreu dranoeth o Limerick, rhyngom a Thralee, dydd Gwener, yr 16eg o Orphenaf. Amcanem gyrhaeddyd Kilorglan, tref yn swydd Kerry, erbyn nos Sadwrn, fel y gallem dreulio y Sabboth gyda'r Dr. Dill. Gweinidog ydyw ef perthynol i'r Presbyteriaid, ac arolygwr eu cenadaeth yn y cymydogaethau hyny. Aethom i ymweled âg ef i'w dŷ, prydnawn ddydd Sadwrn, a chawsom dderbyniad croesawus, ac yno yr arosasom hyd foreu ddydd Llun. Mae Dr. Dill yn byw mewn rhan o amaethdŷ eang, oddeutu dwy filltir o Kilorglan, ac yn y lle hwnw mae un o'r ysgolion dyddiol yn cael ei chadw. Dechreuwyd y genadaeth yn y lle hwn gan wraig grefyddol o Edinburgh. Pan oedd y newyn yn dost yn y wlad, cynhyrfwyd ei thosturi at y trigolion anffodus; a pharodd hyny, ynghyd â rhyw ystyriaethau eraill, iddi roddi yr ysgol oedd ganddi yn y ddinas uchod i fyny, a dyfod yma i fyw. Cymerodd ychydig o dir, a rhan o'r amaethdŷ crybwylledig, ac wedi adgyweirio ei ystafelloedd adfeiliedig, a'u gwneyd i gyfateb i'w harchwaeth goeth a'i hamcanion haelfrydig ei hunan, dechreuodd ar ei llafur, trwy agoryd ysgol ddyddiol. Mae y cyfan yn awr yn cael ei ddwyn ymlaen o dan olygiad y Dr. Dill.

Treuliasom y Sabboth yno yn y dull canlynol:—Y boreu, aeth Mr. Charles, gyda y Dr. Dill a'i wraig, i'r ysgol oedd ganddynt yn y gymydogaeth; arosais innau gartref i gynnorthwyo yn yr ysgol a gynnelid yn y tŷ, ac i ddyweyd gair ar y diwedd wrth yr ychydig Brotestaniaid a arferent ymgynnull yno i addoli. Y prydnawn, bu Mr. Charles yn cyfarch ysgol arall; a'r nos aethom ynghyd i Kilorglan, lle y pregethodd efe yn yr ysgoldŷ, i gynnulleidfa barchus yr olwg arni, o ddeg ar hugain i hanner cant o nifer; ond nid wyf yn gwybod fod neb o honynt yn ddychweledigion oddiwrth Babyddiaeth. Tra yr oedd dyrnaid o Brotestaniaid fel hyn yn ymgynnull i addoli eu Creawdwr, yr oedd y Pabyddion, pa rai oedd wedi bod yn y *mass* y boreu, i'w gweled yn y prydnawn wrth yr ugeiniau yn cyrchu i redegfäau cychod, ac yn treulio gweddill y dydd yn mhob difyrwch—dull cyffredin yn mysg Pabyddion o dreulio Dydd yr Arglwydd. Mae ysgolion y Dr. Dill wedi bod yn fwy llïosog unwaith nag ydynt yn bresennol. Trwy ymdrech yr offeiriaid Pabaidd i gadw y plant rhag myned ato, ac yn enwedig trwy ymfudiad y trigolion o'r wlad, maent wedi lleihau. Chwech oedd ganddo yn yr ysgol a gynnelid mewn rhan o'r tŷ, ac yr oeddynt yn cael eu cadw yno yn gwbl ar draul y gymdeithas. Maent un rhan o bob dydd gwaith yn yr ysgol, a rhan arall yn palu, yn chwynu, neu yn cyflawni unrhyw orchwylion anghenrheidiol ar y maes bychan a drinir ganddynt.

Yn foreu ddydd Llun, ymadawsom â'r gymydogaeth hon, a daethom trwy Killarney hyd Cork, a thranoeth dychwelasom o Cork i Dublin. Erbyn hyn yr oeddym wedi treulio pythefnos o amser, a theithio rhai cannoedd o filltiroedd yn yr Iwerddon, ac felly wedi cael mantais i weled cyflwr y Gwyddelod tlodion yn Connaught a Munster, y rhanau mwyaf Pabaidd o honi; a dïau na welsom y cyffelyb erioed o'r blaen.

Fel gwlad, nid anhawdd genym goelio y rhai sydd yn dywedyd mai yr Iwerddon yw yr hyfrydaf o'r ynysoedd Prydeinig. Ond y mae trueni ei thrigolion yn fawr arnynt. Gwyddis, bellach, fod, trwy newyn, haint, ac ymfudiad, tros ddwy filiwn o honynt wedi eu hysgubo ymaith o'r wlad—nifer y Cymry ddwywaith trosodd; ïe, pe buasai yr un peth wedi dygwydd yn Scotland, buasai y wlad hòno heddyw bron heb neb yn byw ynddi. Mae yr Arglwydd, fel y dywed y prophwyd Esay, wedi pellhau dynion yn yr Iwerddon, ac ymadawiad mawr wedi bod yn nghanol y wlad, yn gymaint felly, nes, mewn cymhariaeth i'r peth ydoedd, yn ddïau, mewn llawer parth o honi, ei bod heddyw yn anghyfannedd, a'i thai heb ddyn. Ac am y gweddill sydd wedi eu gadael ynddi, gwelsom rai yn byw mewn tyllau yn y ddaear, a llaweroedd mewn bythod anghymhwys i'r anifel; ac am a wn i na buasai yn fwy dymunol gan y llygad edrych arnynt yn gwbl noethion nag yn y carpiau bryntion oedd yn crogi o'u cwmpas, pa rai, tra yn annigonol i guddio eu gwarth, oeddynt yn lloches i lïaws o greaduriaid heblaw hwy eu hunain. Mae lle i ofni hefyd nad yw cyflwr y dyn oddiallan ond portread rhy gywir o drueni y dyn oddimewn. Anwybodaeth ac ofergoeledd mawr sydd yn gordöi yr Iwerddon, ac nid oes dim arall i'w ddysgwyl hyd oni byddo yr efengyl yn cael ei phregethu yn ei phurdeb yno, a'r Bibl yn nwylaw ei thrigolion yn gyffredinol.

---

## JOHN JONES, O DREFFYNNON.

Mae rhai dynion craffus yn sylwi am ein hoes ni, fod enwogrwydd personol ynddi yn prinhau, tra y mae gwybodaeth gyffredinol yn ymledanu. Mae arwyneb y wlad, a llefaru yn gymhariaethol, wedi ei ddyrchafu, ond, ar gyfer hyny, mae y mynyddoedd uchel wedi eu llyfelu. Cwynir mai rhyw lawer iawn o unffurfiaeth ac efelychiad sydd i'w canfod yn nghynnyrchion presennol y wasg; ac ar y cyfan, rhaid addef mai tra chyffelyb ydyw gyda chyflawniadau y pulpud. Os anfynych yn ein dyddiau ni y clywir o'r areithfa gysegredig gamgymeriadau anwybodaeth, dichon mai mor anfynych y clywir hefyd ragoriaethau gwir athrylith. Nid oes yn y bregeth, fe allai, ddim yn wallus i ddenu sylw, ac nid oes ynddi, hwyrach, ddim yn dra rhagorol i wneyd hyny ychwaith; fel y dywedodd gŵr call yn yr hen amserau am araeth a wrandawsai, "Ei chanmoliaeth mwyaf ydyw, nad oedd ynddi unpeth i'w feio; a'i bai mwyaf ydyw, nad oedd ynddi unpeth i'w ganmawl." Yr oedd llawer o bethau trwsgl a thrwstan yn gysylltiedig âg amryw o'r hen bregethwyr yn Nghymru, fel y mae yn ddigon tebyg, na buasent, ond gydag anhawsder mawr, yn cael eu trwyddedu gan ddynsodion coethedig y dyddiau hyn. Ond yr oedd ganddynt hwy, er hyny, y fath hyawdledd naturiol, a gwreiddioldeb dull, heb son am yr eneiniad arnynt oddiuchod, nes yr oeddynt wedi ennill awdurdod tywysogion ar eu hoes, ac y gadawsant enwau hynod a choffadwriaethau neillduol ar eu holau.

Un o'r cyfryw oedd y Parch. John Jones, Treffynnon, pregethwr adnabyddus iawn, yn ei oes, ymhlith holl Fethodistiaid Calfinaidd Cymru. Er

nad ydoedd yn cael ei gyfrif yn un o bregethwyr mwyaf y cyfundeb hwnw, ennillodd iddo ei hun, trwy dduwiolder ei ysbryd, hynodrwydd ei ddawn, a'i onestrwydd mewn amcan ac ymadrodd, radd dda ymhlith ei weinidogion mwyaf dylanwadol. Y mae efe wedi marw er ys dros ddwy flynedd ar hugain bellach; ac er y pryd hyny y mae cenedlaeth o Fethodistiaid Cymreig wedi cyfodi, y rhai na welsant ac na chlywsant mohono ef, na'i gydweithwyr yn efengyl Crist; ond oddiar glywed mynych grybwyllion am dano, mae lliaws o'n pobl ieuainc yn awyddus am weled bywgraffiad cryno o hono, gydag anghreifftiau o'i ddawn, a desgrifiadau o'i ddull. Ymddangosodd cofiant am dano, mewn llyfryn bychan, yn fuan ar ol ei farwolaeth; ond y mae hwnw, er ys blyneddau bellach, allan o argraff; a chyda yr eithriad o'r hanes a geir ynddo am ddechre ei oes a blyneddau cyntaf ei weinidogaeth allan o ysgrifen Mr. Jones ei hun, ynghyd â'r adroddiad am ei deimladau yn ei afiechyd diweddaf, rhaid yw dywedyd fod y cofiant hwnw yn fyr ac anmherffaith iawn, heb un ymgais ynddo, trwy na ffeithiau na nodiadau, at bortreadu hynodrwydd a rhagoroldeb hen apostol Treffynnon. Casglasom yn ddiweddar lïaws o adgofion am dano, y rhai y buasai yn golled eu gadael i syrthio i ebargofiad, ac na allesid gwneyd arlun ffyddlawn o "John Jones, Treffynon," hebddynt. Y rhai hyny, gyda phigion o'r cofiant crybwylledig, a gyflwynwn yn awr i'n hynaws ddarllenyddion.

Yn y flwyddyn 1804, aeth Mr. Jones ynghyd â'r gorchwyl o ysgrifenu ei hanes o'i febyd hyd y pryd hwnw, ac ar hyny y gadawodd. Gresyn, meddwn ni, na buasai wedi myned ymlaen â'i hanes mewn blyneddau dilynol, gan fod y fath ireidd-der cyfansoddiad yn ei ysgrifen sydd yn cyflëu i'r darllenydd deithi neillduol ei feddwl a'i ddawn. Rhoes yn deitl o flaen yr ysgrif hòno,—"Hanes fy nhaith yn yr anialwch, sef rhai o'r pethau mwyaf hynod a welais, a brofais, a fwynheais, a wnaed i mi, ac hefyd a wnaed genyf fi." Yna mae yn dechreu:—

"Fe'm ganwyd yn nhref Caergwrle, swydd Fflint, Rhagfyr 18, 1763; ac yno y'm maethwyd gan fy rhïeni, y rhai oeddynt o sefyllfa gyffredin, ac yn fawr eu trafferth yn fy magu i a deg eraill. Ond er eu bod felly, hwy a'm rhoisant mewn ysgol Seisneg dros rai blynyddoedd; ac mi a ddysgais ddarllen fel y cyffredin; a fy nhad a ddysgodd i mi ddarllen Cymraeg. Ond nid oedd yn yr holl ardaloedd neb a allasai fy nysgu i fyw yn foesol na chrefyddol; canys yr oeddynt oll wedi ymroddi fel pe buasent 'wedi ymwerthu i wneuthur drwg.' Mi a feddyliais yn fynych wedi hyny nad oedd fy rhagorfraint o gael fy ngeni yn Nghymru yn rhagori nemawr ar enedigaeth yn yr India. Arferion yr ardaloedd ar y Sabbothau oedd, canu a dawnsio, chwareu y bêl law a'r bêl droed, a'r *pitch and toss*, &c., drwy y dydd, gan yr hen a'r ieuanc wrth y cannoedd, gan dyngu ac ymladd â'u gilydd, a myned y nos i'r tafarndai, lle yr arosid hyd ddydd Llun, a dydd Mawrth, a hwy na hyny yn aml. Ac fel y mae arferion yr hen yn cael eu hargraffu ar yr ieuainc, greddfodd a ffynodd y pethau hyn gyda minnau, i raddau pell, y tuhwnt i amryw o'm cyfoedion.

Ond pan oeddwn ynghylch deg oed, danfonodd yr Arglwydd, yn nhrefn ei ragluniaeth, ŵr o ardal arall, ag oedd yn proffesu crefydd, i fyw i'r lle hwn, i ddilyn ei alwedigaeth. Fe gafodd hwn ar ei feddwl roddi ei draed a'i ddwylaw, ei enaid a'i gorff, ar waith i ymofyn am ddynion o anfoniad Duw, i ddyfod i bregethu Crist i'r bobl bechadurus hyn. Ac fe lwyddodd i gael rhai o'r bobl a elwir y Methodistiaid Calfinaidd: taled yr Arglwydd iddo am ei waith. Wrth hir bregethu, fe ennillwyd fy nhad i wrandaw, ac yn fuan wedi hyny i broffesu Crist; ac ni adawai lonydd i minnau heb ddyfod i wrandaw arnynt, a hyn a wnawn yn aml. Buan yr effeithiodd y gair arnaf i'r gradd o ennill fy marn mai gwir oeddynt yn ei ddywedyd am fy nghyflwr wrth natur—ei fod yn golledig,

bod fy muchedd yn halogedig, a bod Duw 'yn ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol.' Wrth y pethau hyn, mi fyddwn yn dychrynu yn aml, ac yn ofni marw a myned i uffern. Ond byddai son am Iesu, yr hwn a groeshoeliwyd, yn fy lloni yn fawr, nes y byddwn yn yr oedfa yn addunedu myned yn grefyddol. Ond ar ol y bregeth, dychwelwn 'fel y ci at ei chwydiad,' eithr nid heb ofid.

Unwaith, fe orfu arnaf losgi y cardiau oedd yn fy llogell; ond bob ychydig, mi a ymgaledais, ac a ymroddais i bechu hyd y gellais. Aml gymhelliad fu arnaf i beidio, a minnau heb nerth i sefyll. Yr oeddwn, unwaith, dan gymhelliad cryf i adael heibio ryw weithred bechadurus, fel yr oeddwn yn meddwl fod yr Arglwydd yn dynesu yn ei waharddiad i'r peth. Ar hyn, fe ymgynhyrfodd galluoedd fy nghalon i raddau mor bell yn erbyn yr Arglwydd, nes y torais allan i benderfynu fel hyn, 'Nid all efe ond fy namnio; a phe bai yn gwneuthur hyny, mynaf finnau gyflawni fy chwant;' ac felly mi a wneuthum. Ychydig wedi hyn, mi feddyliais i mi bechu y pechod anfaddeuol; a dyna y farn a fu genyf am flynyddoedd; a bu hyny yn achlysur i mi ymroddi yn hollol i fynu fy ffordd, ac i chwilio am wynfyd yn mhob llwybr pechadurus. Ond chwilio am un peth, a chael peth arall yr oeddwn; yr oedd i mi, 'yn lle heddwch, chwerwder chwerw;' ïe, 'chwerwder marwolaeth' fyddai yn fy nilyn yn fy meddwl i bob man."

Mae y darluniad a rydd John Jones o'r ymdrechfeydd, yn more ei oes, rhwng ei argyhoeddiadau a'i dueddiadau, yn dra addysgiadol, ac yn brawf o'r gwirionedd galarus, "Syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw; canys nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw, oblegid nis gall chwaith." Dymunem alw sylw arbenig dysgawdwyr crefydd at y rhan ddiweddaf o'r dyfyniad blaenorol, gan y gall weinyddu iddynt addysg tuag at iawn gyfeirio y gwirionedd at ddosbarth penodol o'u gwrandawyr. Anghenrhaid yw i bregethwr astudio a darllen llawer ar y natur ddynol, os myn fod yn llwyddiannus yn ei weinidogaeth. Dywed Mr. Jones yn ei hanes boreuol, ei fod, trwy ddilyn ei bechodau yn erbyn goleuni ei ddeall ac ymrysoniadau ei gydwybod, wedi myned i feddwl ei fod yn euog o bechu y pechod anfaddeuol, ac iddo goleddu y farn hòno am dano ei hun am flyneddau, ac i hyny fod yn achlysur iddo ymroddi yn gwbl, trwy bob rhwystrau, i gyflawni ei dueddiadau pechadurus. Y mae genym le cryf i feddwl fod llawer o rai sydd yn arfer gwrandaw yr efengyl yn y dyddiau hyn, wedi syrthio i'r cyffelyb syniadau ac agweddau. Trwy chwareu yn olynol â'r efengyl ac â phechod, maent yn myned o'r diwedd i feddwl eu bod wedi eu pechu eu hunain allan o drugaredd faddeuol Duw; ac wedi meddwl nad oes iddynt obaith, maent yn ganlynol yn ceisio bwrw allan ofn. Maent yn myned yn ol ac ymlaen, o'r naill eithaf i'r llall; o ryfyg i anobaith, ac o anobaith i ryfyg. Trwy feithrin math o anobaith sarug am drugaredd, maent yn caledu eu cydwybodau er mwyn cael ffordd rydd i ddilyn eu chwantau yn ddiwarafun. Ni waeth i mi ymroi i bechu na pheidio, medd yr enaid euog, gan nad oes obaith i mi am ras a maddeuant. "Tithau a ddywedaist, Nid oes obaith, nac oes; canys cerais eilunod, ac ar eu hol hwynt yr af fi." Dylai y pregethwr fyned at y cyfryw rai i'w carchardŷ tywyll, a dal i fyny obaith yr efengyl o'u blaen yn y modd mwyaf deniadol; nid gobaith y cedwir hwy mewn pechod, ond gobaith am eu gwaredu oddiwrth bechod; canys dyna yn unig a'u hennill ac a'u tawdd. Os bydd taranau Sinai yn rhuo, a fflamau Tophet yn ymddyrchafu, yn y weinidogaeth, dylai hyny fod i'r unig ddyben o gyd-gau y gwrandawyr i obaith a ffydd yn nhrefn yr efengyl. "Fel y byddo dy obaith yn yr Arglwydd, yr hysbysais i ti heddyw, ïe i ti." Agoriad drws gobaith a

gadwodd fywyd John Jones, Caergwrle, fel y cawn weled eto. Ond awn ymlaen â'i hanes:—

"Aml dro hefyd bum mewn peryglon am fy mywyd. Un tro, mi fum o fewn ychydig i foddi, pan syrthiais o dwrnel oedd ar yr afon, i'r afon, nes oeddwn yn methu dyfod allan, hyd oni ddaeth bachgen cryfach na mi i'm codi i fyny, a mi bron marw. Unwaith, wrth ymdrochi gydag un o'm cyfoedion, dygwyddodd iddo wrth nofio deimlo careg yn y llyn, ar yr hon y gorphwysodd. Meddyliais innau mai ar waelod y llyn yr oedd efe, ac y gallwn innau wneuthur yr un peth; a gorphwys oedd arnaf finnau eisieu. Ond erbyn i mi gyrhaedd ato, i lawr â mi, mewn lle rhy ddwfn i sefyll, nes yr oedd y dwfr yn llenwi fy ngenau; a buan y darfuasai am danaf, oni buasai i'w fraich ef fod yn ddigon o hyd i'm cyrhaedd; a thrwy hyny fe'm gwaredodd yr Arglwydd y waith hon hefyd, heb iddo gael cymaint a diolch y pryd hyny, na dim llawer eto. Ond nid yw ond aros; mi a'i molaf byth am ei ryfeddodau i feibion dynion! Un tro arall, ar ddydd Sabboth, yr oeddwn wedi dringo i ben Castell Caergwrle, i feddwl myned i dwll ag oedd ar ochr y mur, i dynu nythod adar. Yr oedd y twll hwn oddeutu llathen yn îs na phen y mur, yn ei ochr. Amcenais ddyfod o hyd i'r lle wrth deimlo â fy nhraed; ond fe aeth fy amcan yn ofer. Ac wrth hir hongian wrth fy mreichiau, diffygiodd fy nerth, ac nid oedd genyf ddim i'w wneyd ond ymollwng o bymtheg i ugain llath o uchder, i ganol creigle o geryg mawrion. Ond ar fy ymollyngiad, cafodd blaenau fy nhraed waelod y twll, ac felly fe'm gwaredodd yr Arglwydd fi y tro hwn hefyd rhag niwed. Bryd arall, yr oeddwn yn myned i edrych am fy nheulu, a dygwyddodd i mi golli y ffordd, a dyfod o honof i gilfach, a chreigiau o'm hamgylch, heb le i ysgoi, ond naill ai troi yn ol, neu ddringo y graig serth. A dringo a wneuthum yn uchel, a cholli gafael traed a dwylaw! Ond wrth lithro i lawr, gofalodd yr Arglwydd i'm troed gael gafael eilwaith; ac yn fy mraw i fyny y daethum; a bu ryfedd genyf i mi weled dyn drachefn ar y ddaear; ïe, mor rhyfedd a phe nas gwelswn ddyn erioed o'r blaen. Mi a welais fawr ddaioni Duw yn y tro rhyfedd hwn i mi; ond buan yr anghofiais, ïe, i'r fath raddau nes y tynais oddiamdanaf i chwareu, dranoeth, er mai y Sabboth oedd! Bryd arall, fel yr oeddwn yn medi y cynauaf, teimlais rywbeth yn cyffwrdd â gwallt fy mhen o'r tu ol. Mi a droais i edrych beth oedd; ac erbyn i mi edrych, dau o'r medelwyr oedd yn ymryson am gryman, a blaen hwnw a gyffyrddasai â'm gwallt yn lle â'm gwddf!"

Mae yr adroddiadau hyn yn hynod, yn arddangos fel y mae rhagluniaeth Duw yn gwasanaethu ar ei ras; yn peri arbediad y bywyd naturiol er mwyn cyfraniad y bywyd ysbrydol a thragywyddol. Yr ydym yn cofio fod Toplady, yn un o'i bregethau, yn sylwi nad oes odid un dyn duwiol ar y ddaear, yr hwn, wrth alw i'w gof y dyddiau o'r blaen, nas gall adrodd am ryw waredigaeth neu waredigaethau nodedig rhag enbydrwydd ac angeu, ar y pryd yr oedd efe eto mewn cyflwr o ddyeithrwch i'r Arglwydd, ac i'w Grist ef. Arglwydd y cynauaf oedd yn gwahardd ei dori i lawr, nes ei addfedu ymlaenaf. Ac yn neillduol, yn hanes y rhai a fuont enwog a defnyddiol mewn gwasanaeth cyhoeddus dros Dduw a'i dŷ, mynych yr ydym yn cael mynegiadau rhyfedd am gyfryw waredigaethau yn mlyneddau boreuaf eu hoes. Yr oedd Trugaredd megys yn dyweyd wrth Farn, "Na ddifwyna ef, canys y mae bendith ynddo." Mae dïangfâau fel hyn rhag marwolaeth yn deilwng o'u hadgofio gyda y mawl gwresocaf i'n "Duw ni, yr hwn sydd Dduw iachawdwriaeth." Ac felly yr oedd John Jones, ni a glywsom, yn addaw moli byth am ryfeddodau rhagluniaeth a gras. Ond y mae efe yn dyfod drachefn at yr ymrysoniadau ynddo rhwng cydwybod a chwant:—

"I ddychwelyd at fy mhrofiad: nid oedd lonydd i mi i'w gael gan gydwybod euog nos na dydd, nac ychwaith gan fy 'chwantau ynfyd a niweidiol.' Bydda

mor boenus arnaf ar rai prydiau, nes y byddwn yn addunedu, â'm llaw ar lyfr, yn erbyn amryw bechodau, megys nad yfwn ddïod gadarn ar y Sabboth am ryw yspaid; ond er hyny awn i'r dafarn ar nos Sadwrn hyd hanner nos; a dechreuwn am hanner nos y nos Sabboth drachefn. Hyd yma, nis tyngaswn yn erbyn y cwbl o'm harferion pechadurus; canys os tyngwn y cwrw, byddai y bêl neu ryw chwarëyddiaeth arall heb ei dyngu bob amser. O'r diwedd, fe ddaeth fy nghyfeillion i ddeall fy arferiad yn hyn yma, ac i'm mawr ffoli o'r herwydd. Byddwn innau, trwy hyn, yn penderfynu nad oedd fawr o ofid arnynt hwy am ddim o'r fath bethau ofnadwy. Ac os byddwn gaeth yn un lle, deuent gyda mi yn rhwydd i'r man lle y byddwn yn rhydd; a mynych y gofynent i mi paham y byddwn yn addunedu y peth hyn a'r peth arall, a minnau a fynegwn fy mawr ofid o'r herwydd, nes byddent yn rhyfeddu yn ddirfawr, gan ei fod yn beth mor ddyeithr iddynt hwy. Mynych y dywedwn wrthynt eu bod yn pechu yn fawr; ac y byddai arnaf ofn marw, a myned i uffern. Cellweirient weithiau; bryd arall gwrandawent, gan ddywedyd fod yn rhyfedd ganddynt na byddai y fath yn cyffwrdd â hwythau. Mynych y dywedai fy nhad wrthyf am ddrwg pechod, a'r canlyniadau dychrynllyd o ddilyn llwybrau pechadurus. Byddwn innau mor galed ac anufudd a pheri iddo edrych at ei fater ei hun,—mai fi oedd raid ddyoddef; a llawer o'r cyffelyb ymadroddion. Byddai fy nhad yn arfer gweddïo yn y teulu, a byddwn innau yn rhegi yn fy nghalon, o gynddaredd at y gwaith. A thrwy bob peth, nid oeddwn yn fy meddwl ond fel un gwedi ei esgymuno gan Dduw."

Ond yr oedd yr amser yn nesu, pan y cafodd y pechadur caled hwn achos i ddyweyd, "Mi a gefais drugaredd!" Yr oedd nefoedd ac uffern wedi hir ymryson am dano, ond y nefoedd fu drechaf; lle yr amlhaodd pechod, gras a ragor amlhaodd. Gwrandawer arno yn adrodd eto am ei ddrwg ei hun, ac am ryfedd ddaioni a chariad Duw ei Achubwr:—

"Bu yr ardal heb bregethu ynddi am rai blyneddau ar ol dechreu, a minnau heb wrandaw pregethau; ac nid oeddwn yn barnu mai pregethu oedd yn Eglwys y plwyf. Ond pan oeddwn o ugain i ddwy ar hugain oed, anfonodd yr Arglwydd drachefn rai i bregethu i'r lle annuwiol hwn; ond nid awn i wrandaw arnynt er taer annogaeth fy nhad am flyneddau, gan feddwl fod amser fy ymweliad wedi darfod. Dygwyddodd i bregeth fod ar ddydd gwaith, a'm hanwyl dad a'm cymhellodd i ddyfod i wrandaw; ond nid awn: a'r esgus a roddwn oedd, fod arnaf eisieu gweithio. A dygwyddodd i mi fod yn dechreu gwau *cotton* ar draws edafedd llîn. Ac wrth fyned ymlaen, aeth y *dempal* trwyddo. Dattodais ef, a gweais ynghylch hyny drosodd drachefn; ac yna efe a aeth trwodd drachefn yr un modd. Yna, mi a'i hoffrymais i'r Gwr Drwg, a rhag fy mlaen â mi i'r oedfa. Cafodd y bregeth beth effaith ar fy meddwl, canys collais beth dagrau, a daethum mewn rhan yn drist ac mewn rhan yn llawen. Cefais le i feddwl fod lle i minnau, ac amcenais, fel llawer, i addasu fy hun; ond parhau yr un fath yr oeddwn; canys nid oedd genyf nerth i sefyll yn wyneb y byddinoedd cryfion y rhai oedd yn fy erbyn. Yr oeddwn mor ryfygus mewn annuwioldeb, fel y dywedodd fy nhad wrthyf fod un o ddau beth bron fy nal. Gofynais innau beth oedd y ddau beth hyny. Yntau a atebodd, 'Naill ai mai dy amser bron ar ben i fyned i uffern, neu ynte y mae yr Arglwydd yn dy adael yn llaw yr Ysbryd Drwg i wneuthur a fyno â thi dros dro, ac, yn ganlynol, i ddangos ei ryfedd ras a'i drugaredd yn dy achub wedi y cwbl?' Gofynais iddo beth oedd ei sail i feddwl y peth hyn am danaf; a dywedodd yntau ei fod ef, ynghyda'r gymydogaeth, er eu tywylled, yn barnu fy mod yn cynnyddu mewn annuwioldeb bob dydd. Minnau, yn ol fy arfer bechadurus, a'u hoffrymais i'r Ysbryd Drwg, gan ofyn beth oeddwn i yn ei wneuthur mwy na hwythau. Er fy mod yn ymddangos yn hynod o anystyriol, er hyny cafodd y peth effaith ddwys ar fy meddwl, nes yr oeddwn yn ofni i'r ddaear ymagor a'm gollwng yn fyw.

Ynghylch hanner blwyddyn ar ol hyn, daeth Mr. Richard Tibbot, o Lanbrynmair, i'r ardal i bregethu, ac yr oedd amryw yn ei ganmawl ef wrthyf, nes yr oedd chwant arnaf am fyned i'w wrandaw. Ac i'r oedfa yr aethum. Erbyn

myned yno, cefais fy siomi yn fawr yn yr olwg ar y pregethwr; a meddyliais i'r bobl gael eu siomi hefyd. Cychwynais, yn fy meddwl, i fyned adref cyn i'r moddion ddechreu; ond yno yr arosais. A'r gŵr yn ol ei arfer, a ddechreuodd ar ei waith mawr, a buan y bernais mai pregethwr clodfawr oedd yno; ac yn ddiammheu yr oedd Duw yn ei arddel ef er fy argyhoeddiad a'm dychweliad ato ei hun; canys hi a aeth yn ddydd goleu ar fy enaid, nes y credais mai pechadur colledig wrth natur oeddwn, ac hefyd bod lle i'm bath i nesâu ymlaen at Dduw yn haeddiant ei Fab. Nis gwn nemawr am eiriau y bregeth, ond hyn,—yr oedd yn annog i gredu yn Nghrist, nes yr oeddwn yn teimlo nerth i gredu ynddo, i'r graddau na ddymunwn fyned, ac nad âf byth, i ymofyn am iachawdwriaeth yn neb arall. Chwalodd yr euogrwydd o'r gydwybod, syrthiodd fy nghadwynau oddiamdanaf, y fagl a dorwyd, a minnau a ddïangais byth gan fy Marnwr. Ni theyrnasodd pechod arnaf byth mwy; ond fe'm blinodd ac a'm terfysgodd, a hyny, nid o bell, ond yn fy aelodau, ac y mae yn gwrthryfela yn erbyn deddf fy meddwl bob dydd. Mi feddyliais ar ol y waredigaeth fawr uchod y cawn fyned i'r nefoedd dan ganu, heb gyfarfod â rhwystrau; ond buan y profais yn y gwrthwyneb; canys, er i mi gael bywyd, y mae Satan a phechod yn fyw hefyd.

Mae yn debyg mai allan dan yr awyr agored yn ardal *Shop*-y-mynydd, gerllaw Caergwrle, y cynnaliwyd yr oedfa hygof hon. Cofus genym glywed John Jones, yn nghanol pregeth hwylus, yn dywedyd, "Yr wyf yn cofio y fynyd hon, ac mi a gofiaf byth, am y fan lle yr oeddwn, pan y cefais yr olwg gyntaf ar Geidwad. Bendigedig am y clwt glâs!" Am y pregethwr, Richard Tibbot, ceir hanes tra dyddorol yn y gyfrol gyntaf o "Fethodistiaeth Cymru," tudal. 119—122. "Nid oedd yn y ganrif ddiweddaf," dywedir wrthym, "nemawr grefyddwr yn Ngogledd a Deheu Cymru, nad adwaenai Richard Tibbot: nid oedd gapel gan Fethodistiaid, Annibynwyr, na Bedyddwyr, na dderbynid ef yn groesawgar iddo; na mynwes, a wresogwyd gan gariad Crist, nad oedd hyfryd ganddi ei gymdeithas." Yr oedfa effeithiol hon i John Jones a ddygwyddodd yn y flwyddyn 1787, pan yr oedd efe yn bedwar ar hugain oed. Yr oedd hon yn flwyddyn nodedig iddo ef am ddau beth; canys medd efe, "Yn y flwyddyn hon y priodais, ac y cefais grefydd hefyd." Yn ei adroddiad am ei amgylchiadau teuluaidd, efe a ddywed,—

"Bu fy anwyl wraig, am rai blyneddau, heb ddyfod i weled y mawr ddrwg sydd mewn pechod. Byddwn i yn ceisio bod yn dirion wrthi; ac nid peth anhawdd oedd hyn, o herwydd fy ngwraig i ydoedd. Ond ynghylch pedair blynedd wedi priodi, fe ymwelodd yr Arglwydd yn ei ras a'i drugaredd â hithau; a hi a ddechreuodd ddyfod i ymofyn am le yn yr eglwys. Fe'i derbyniwyd hi yn aelod, gyda gradd o arwyddion fod yr Arglwydd yn foddlawn. Ond ynghylch y pryd hwn, dechreuodd rhagluniaeth wasgu arnom mewn prinder gwaith, fel nad oedd modd i ni fyw heb fyned i ddyled. Addawodd un wraig y cawn ymborth ar hyd y gauaf ar goel ganddi hi; ond wrth weled prinder gwaith yn parhau, hi a bwysodd am arian cyn amser y cytundeb. Yn yr amgylchiad cyfyng hwn, ni wyddwn pa beth i'w wneyd. Meddyliais am werthu un o'r ddau Fibl oedd genyf; a hysbysais hyny i'm gwraig. Hithau a'm hatebodd dan wylo, y gwerthai hi ei dillad goreu cyn y cawn werthu y Bibl. Yn y cyfamser, ymwelodd yr Arglwydd â fy nheulu â'r clefyd a elwir y frech wen; a'r ieuangaf o'r plant a symudwyd i fyd tragywyddol. Ond, trwy hyny, cafodd fy ngwraig ei dwylaw yn rhyddion. A chefais innau ychydig o waith i gael bara. Cefais hefyd ychydig o lin, ac mi a'i gwneuthum yn llïan, ac a'i gwerthais i dalu fy nyled, heb achos i mi fod yn ddiolchgar i neb ond i 'un, sef Duw.'"

Golwg go annhebyg oedd am y gweinidog dyfodol yn y gwehydd tlawd a phrofedigaethus; ond yr oedd Duw Sïon yn ei barotoi yn ysgol cystudd,

"i fedru mewn pryd lefaru gair wrth y diffygiol." Yn nesaf, y mae efe yn rhoddi hanes am ei gymhelliadau i waith y weinidogaeth, a'r drafferth fawr a gafodd yn cael cynnyg ar bregethu:—

"Yn yr amser terfysglyd hwn, yr oedd cymhelliad nid bychan ar fy meddwl i ddyweyd wrth bechaduriaid am y mawr ddrwg sy mewn pechod, ac hefyd fod Crist Iesu wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid. Ond ychydig o sylw a wneid o'r peth gan neb pan soniwn am dano, mwy na phe buaswn wedi breuddwydio. A barnodd y rhan fwyaf o'r Cyfarfod Misol mai ryw benboethni oedd arnaf. Dychwelais adref o'r cyfarfod hwnw mewn rhan yn llawen, gan feddwl y cawn lonydd byth mwy. Ond dilyn ar fy meddwl yn ddwysach yr ydoedd. Byddwn yn meddwl fod pawb oedd yn gwybod am y peth yn edrych yn wgus arnaf o'r herwydd. A rhwng hyn, a'r mater mawr crybwylledig yn gwasgu, bûm lawer noswaith, cyn myned i gysgu, ar fy ngliniau yn dymuno na welwn byth fore; ond erbyn deffro, byw a fyddwn, er fy ngofid. Bu amryw brofedigaethau arnaf yn yr achos nad gweddus eu hadrodd. Ond daeth i fy meddwl fyned i fy hen gysegr, sef 'cysegr Duw,' lle y cawswn 'weled diwedd' llawer o bethau cyn hyn; ac felly y cefais y waith hon. Er fod cant o ddyrnau uwch fy mhen, gwelais fod un fraich hollalluog o'm plaid. Er fod llawer yn dywedyd wrthyf, Taw! ni chawn dewi gan Dduw. O'r diwedd rhoddwyd math o ganiatâd i mi ddywedyd ychydig. Ac mewn cyfarfod gweddïo, darllenais *Luc* xv., gan feddwl dywedyd ychydig wrth y bobl. Ond terfysgodd fy ysbryd, a thywyllodd fy meddwl i'r fath raddau, nes yr anghofiais y bennod a'r mater hefyd. Ar hyn, penderfynais ddodi y Bibl o'm llaw, a thewi o hyny allan. Cau y llyfr a wneuthum; ond wrth ei roddi o'm llaw, daeth i'm cof y bennod. Yna ail agorais ef, a dechreuais ddywedyd ychydig yn drwsgl, ond nid i foddlonrwydd i'm gwrandawyr, nac ychwaith i mi fy hun. Bûm, ar ol hyny, o flwyddyn a hanner i ddwy flynedd heb gynnyg dyweyd dim yn gyhoeddus, a fy meddwl yn lled dawel ynghylch y peth; er hyny heb benderfynu mai felly y parhawn, ond gadael yr achos i'r Arglwydd. Eto aros a wnaeth y peth ar feddyliau rhai o bregethwyr y sir.

Dygwyddodd i Gyfarfod Misol ddyfod i Gaergwrle; a gofynodd un i mi beth oeddwn yn ei feddwl o'r gwaith o lefaru yn bresennol. Atebais fy mod yn dawelach nag y bûm, ond nad oeddwn heb feddwl fod gan yr Arglwydd law yn y gwaith. Ac wedi iddynt fy holi am rai pethau eraill, penderfynasant i mi gael cynnyg yr ail waith, a myned gydag un o'r hen frodyr, William Lewis, o Fôn, i Gyfarfod Misol Mochdre, yn sir Ddinbych. (Nid oedd ond un dosbarth Cyfarfod Misol gan y Methodistiaid yn y dyddiau hyny rhwng siroedd Dinbych a Fflint). Ac wedi hyny ceisiais ddyweyd ychydig mewn lle a elwir Helygen, yn sir Fflint, ac ni safodd yr olwynion hyd heddyw."

Yr oedd llawer o'r hen frodyr yn yr amseroedd hyny yn eiddigus iawn o wr ieuanc a gynnygiai am bregethu, rhag ofn mai "cynhyrfiadau natur," fel y dywedent, ac nid ysbryd y weinidogaeth, oedd yn ei ysgogi ymlaen. Nid heb gyfyngdra a gorchest y cafodd rhai o bregethwyr enwocaf "Methodistiaeth Cymru" ganiatâd i ddechre pregethu. Bu raid i'w hamynedd gael ei brofi i'r eithaf trwy aml sen a gair caled; canys credid na ddeuai dim daioni o bregethwr heb yn gyntaf "ei dynu trwy y simnai," fel y dywedai Siencyn Penhŷdd. Nid mor rhyfedd ydoedd, y cyfrifid yn y Cyfarfod Misol mai "penboethni" oedd ar John Jones, Caergwrle, pan y dechreuodd efe son am bregethu; oblegid nid oedd eto ond blwyddyn neu ddwy er pan y buasai efe yn un mor gyhoeddus mewn annuwioldeb. Ac ynghyd â hyny, bernid gan lawer am dano, oddiwrth ei olwg, fel y clywsom, mai creadur dwl, heb gyflawnder o synwyr naturiol ydoedd; canys o dan y gweithrediadau dwys oedd ar ei feddwl, gyda'i helbulon mewn cysylltiad âg iselder ei amgylchiadau, yr oedd yn edrych yn ddigalon a phenisel. A pha ryfedd? fel y canodd ein hen gyfaill, Iago Trichrug,—

"Y dyn a fyddo 'n wastad dan y dwfr,
Ni ddichon lai na bod yn wan a llwfr;
Gwastadol groesau a blinderau a dyr
Yr ysbryd llonaf, goreu 'i hoen, ar fyr."

Ond, o'r diwedd, dyma ni yn canfod "yr olwynion," fel y dywedai Jones ei hun, yn dechreu troi; ac wele hen flaenor y diafol yn Nghaergwrle bellach yn genad ffyddlawn i'r Arglwydd Crist. Dechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1793, ac yn yr un flwyddyn cymerwyd ei wraig ymaith gan angeu. Am ei marwolaeth, efe a ddywed, "Yn y flwyddyn hon, collais fy anwyl wraig. Ymadawodd wrth oleu haul, sef 'Haul cyfiawnder,' a gadawodd finnau dan gwmwl o alar du, a maith ei barhad. Ond, megys fy nyddiau, felly y bu fy nerth; yr Arglwydd a'm nerthodd y tro hwn hefyd." Ond ni a'i dilynwn ef eto gyda helynt y pregethu:—

"Yn mis Mai, yn yr un flwyddyn, daeth galwad arnaf i fyned i bregethu i sir Ddinbych, yn ngwyliau y Sulgwyn; a myned a wnaethum. Ond ar y ffordd, wrth ddychwelyd, daeth fy ngalwedigaeth ddaearol i fy meddwl, yn y fath fodd ag y bernais i mi wneuthur yr hyn na ddylaswn trwy fyned oddicartref y tro hwn. Cododd brys hynod yn fy meddwl am fyned adref; a thranoeth, wedi dyfod adref, codais yn fore iawn i ymaflyd yn fy ngalwedigaeth; ond wrth dori ychydig fara cyn dechre gweithio, rhedodd y gyllell i fy mawd, ac a dorodd wythïen gwaed a gewyn ar unwaith. Felly, yn lle myned at fy ngwaith, at y meddyg y bu raid myned am wythnosau. Tawelodd hyn fy meddwl yn well na phe buaswn yn iach; a chefais y meddwl yma, sef, fod y naill waith yn fwy pwysfawr na'r llall o lawer iawn.

Yn y flwyddyn 1794, daeth galwad am i mi fyned i sir Feirionydd; a myned a wnaethum i ran o honi; a'r un flwyddyn i sir Drefaldwyn. Byddwn y pryd hyn yn lled ddigysur ar ol ambell i oedfa galed, dywyll, ac yn bwriadu yn gryf ddychwelyd adref; ond rhwng ofn a balchder, gorphen y tro a wnawn. Mi feddyliwn mai golwg annhebyg iawn i bregethwr oedd arnaf, wrth y sylw bychan a wneid o honof gan lawer. Bûm yn teithio ar fy nhraed filldiroedd rhwng dwy oedfa, a llawer oedfa bron syrthio i lawr rhwng lludded ac ofnau, heb na thamaid na llymaid; naill ai o herwydd eu diystyrwch o honof, neu eu dyeithrwch i mi. Ond, yn gyffredinol, ar ol darfod, gwnaent sylw o honof; ac weithiau gofynent i mi faddeu iddynt, gan ddywedyd nad oeddynt yn fy adnabod. Eithr, rhwng y naill beth a'r llall, byddai hiraeth yn codi ynof yn aml am fyned adref; a llawer adduned a wnaethum nad awn oddicartref mwy. A'r peth cyntaf a wnawn, wedi dyfod o honof adref, fyddai naill ai ymdaflu ar y gwely mewn digalondid, neu fyned i weddi i lefain am gymhorth i sefyll yn y dydd drwg.

Y flwyddyn hon hefyd oedd y tro cyntaf i mi fyned i sir Gaernarfon. Yno gwnaeth yr Arglwydd arddeliad o honof, er boddlonrwydd mawr i mi fy hun ac eraill. Bu fy nhaith hon o fendith i laweroedd. Yr wyf yn cofio yn dda fod llawer y pryd hwnw yn barnu na ddylaswn i ddim myned cân belled oddicartref. Ac yn wir yr oedd llawer o ammheuaeth am hyny yn fy meddwl i fy hun. Bu rhai mor ddigywilydd a rhyfygus a dywedyd mai gau ddybenion oedd yn fy ngyru ar hyd y gwledydd, ac mai mwy addas oedd i mi aros gartref i edrych ar ol fy nheulu tlawd. Byddai hyn yn cyrhaedd fy nghalon fel saethau llymion. Cymerwyd plaid yr enllib hwn gan rai personau, ond nid gan bawb: cymerodd Duw fy mhlaid innau, a dadleuodd fy nadl. Byddai 'yn rhoddi nerth ynof,' nes y byddwn innau yn nerthol dros Dduw, ïe, 'trwy Dduw, i fwrw cestyll i'r llawr.' Ond nid rhyfedd fy mod yn cael y fath ergydion, canys y mae llawer o bobl yn barnu na ddylai neb adael eu galwedigaethau i ddilyn y swydd o bregethu yr efengyl. Ac, yn wir, gwael yw y cyflog allanol; er hyny yr wyf yn cyfrif pregethu yn goron odidocach na choronau aur ymherawdwyr y byd. O! fy nghoron anwyl! Duw a'i dalio ar fy mhen hyd angeu! Er maint o ofidiau sydd i'w cael oddidani, y mae perlau i'w cael ynddi.

Yn y flwyddyn 1795, cefais alwad i fyned trwy sir Fon. Ac yn y flwyddyn 1797, bûm y tro cyntaf trwy chwe' sir y Deheudir, gyda Mr. Ellis, o'r Wyddgrug."

Clywsom rai o hen gyfoeswyr John Jones yn siroedd Fflint a Dinbych yn dywedyd mai lled ddiystyredig ydoedd efe yn eu hardaloedd hwy ar y troion cyntaf y byddai yn dyfod yno i bregethu. Byddai rhai yn dywedyd, ar ol darfod ei bregeth, "Yr oedd yn gweddïo yn dda wrth ddechreu yr oedfa: gresyn na buasai yn dybenu ar hyny." Un grefyddwraig dafodrydd a ddaeth ato, ar ol oedfa, i dŷ y capel, gan ddywedyd, "A ydych chwi, o ddifrif, yn meddwl fod yr Arglwydd wedi eich anfon i bregethu? mae hyny yn ammhëus iawn genyf fi." Adroddai ef ei hun, gyda chryn londer, yn ei flyneddau diweddaf, ddywediad hen flaenor yn Llanrwst wrtho, ar y tro cyntaf y bu yn pregethu yno: "Wel, fy machgen, ti a *genaist* i ni yn o lew; hwyrach, os deui yma eto, y *pregethi* di y tro nesaf." Dywedir mai wrth bregethu mewn Cyfarfod Misol yn y Bontuchel, gerllaw Rhuthyn, y llwyddodd ef yn drwyadl i orchfygu holl ragfarnau brodyr ei wlad ei hun yn ei erbyn. Yr oedd y fath lewyrch a grymusder yn cydfyned â'i bregethiad ar y pryd hwnw, nes yr oedd yr holl frawdoliaeth yn dywedyd, "Rhaid addef bellach fod dyn Caergwrle wedi ei anfon i bregethu yr efengyl." Ond ni a adawn iddo ef ei hun fyned ymlaen gyda hanes blyneddau cyntaf ei weinidogaeth:—

"Mewn perthynas i'm llwyddiant a'm haflwyddiant yn y weinidogaeth, fy meddwl yw, na wnaeth yr Arglwydd arddeliad o honof i fod yn offeryn i droi un enaid at Dduw yn fy ardal enedigol am yspaid wyth mlynedd a hanner; nac o nemawr neb arall ychwaith, er fod pregethu Crist, y rhan amlaf, ddwy waith neu dair yn yr wythnos, yn yspaid hyny o amser. Ac oni buasai i'r Arglwydd wneuthur arddeliad o honof mewn lleoedd eraill, buasai hyn yn ddigalondid mawr i mi. Bûm dros amser yn clustymwrandaw a fyddai dim o'm hôl yn unlle ag y byddwn arferol o fyned, ac heb glywed dim; a digalondid nid bychan oedd hyn i mi, gan fy mod yn dysgwyl pethau gwell. Ond yn mhen ychydig wedi blwyddyn, mi glywn fod un wedi ei alw mewn oedfa ar y *common* sydd rhwng y Wyddgrug a Llaneurgain. Ac fel hyn y bu yno: myned a wnaeth amryw o honom i'r man hwn, lle y byddai llawer o grynoad a chynnulliad pobloedd i dori y Sabboth. Erbyn ein bod yno, yr oeddynt hwythau yno yn chwareu. Ond ar ein gwaith yn canu ar ddechreu yr oedfa, rhoisant eu chwareu heibio, a daethant i'r oedfa yn lled chwerthingar. Ac yn eu plith, yr oedd y gŵr hwn wedi ennill fy sylw arno wrth ei chwerthiniad cellweirus. Ar ol gweddïo a chanu mawl, darllenais *Ecsod.* xii. 13. Yn fwyaf neillduol deliais sylw ar y gair hwn, 'A phan welwyf y gwaed, yna yr äf heibio i chwi.' Cafodd y bregeth y fath afael ar y gŵr, nes y rhoddodd heibio ei hen arferion o guro ei wraig, a meddwi, a thori y Sabboth o hyny allan.

Yn Llanllechid, y tro cyntaf i mi fod yn sir Gaernarfon, clywais i'r tro hwnw fod o fendith i'r gymydogaeth, sef er tröedigaeth amryw o'r gwrandawyr. Cefais hefyd hanes am ddau wrthryfelwr a alwyd yn yr un oedfa dan fy ngweinidogaeth, yn sir Forganwg, yn yr Hengastell, chwech o'r gloch y boreu, yn y flwyddyn 1797; un arall yn ardal Rhyd-y-felin-fach, yn sir Aberteifi, yn 1798; un arall yn Nghleiriach, plwyf Llansannan, ac un arall yn Llanelidan, yr un tro, y ddwy hyn yn sir Ddinbych, 1797; un yn sir Fon, yn Niwbwrch, 1796; un yn Brynsiencyn, yn yr un sir, 1799; un arall yn Nghaerlleon Gawr, 1799; ac un arall yn Liverpool, 1799. Hyn trwy wybod i mi; ac oll hyd yma yn dal i broffesu crefydd. Os cafodd un adnabod Iesu Grist yn fywyd, dyna ddigon i mi am fy llafur yn yr Arglwydd."

Yr oedd gan wrthddrych ein herthygl olygiadau uchel ar nod a dyben gweinidogaeth yr efengyl, fel y cawn weled eto wrth fyned ymlaen â'i

hanes; a chan hyny nid oedd yn foddlawn ar ei lafur gyda y weinidogaeth heb dderbyn arwyddion fod y dyben mawr yn cael ei ateb drwyddo. Rhaid ei fod yn llawenychu yn ddirfawr wrth glywed am yr anghreifftiau uchod fel seliau ei weinidogaeth, gan ei fod yn eu cofnodi mor ofalus. Ar yr un pryd gallasai fod ei Feistr nefol wedi gwneuthur defnydd o hono yn y blyneddau hyny i droi llawer mwy i gyfiawnder na'r rhifedi uchod; canys y mae pregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru dan gryn anfantais i wybod am eu llwyddiant personol yn y weinidogaeth, gan nad ydynt yn gyffredin yn llafurio yn sefydlog mewn manau penodol, ond yn myned ar gylch, y naill ar ol y llall, i'r capelau yn gyffredinol. Ac felly yn arbenig yr oedd ein hen frawd.

Mae efe yn terfynu yr hanes a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun yn y llinellau cynhyrfiol a ganlyn. Ddarllenydd! a elli di eu darllen heb deimlo, ac heb gymeryd addysg?—

"Am fy sefyllfa, yr wyf yn byw mewn tŷ, er ys blyneddau, sydd heb fan diddos arno; a hyny yn gwneyd ei fod yn afiachus i mi breswylio ynddo; ac er hyny byddaf y rhan amlaf yn foddlawn iawn ynddo, wrth gael presennoldeb Duw ynddo. Y mae gwaelder fy sefyllfa, ynghyda fy ymarferiadau crefyddol, yn peri fy mod yn amddifad o gyfeillion; ïe mor amddifad, fel na chefais neb o'm cymydogion i gyduno â mi mewn gweddi ddydd yn y flwyddyn, nac i ymddyddan am bethau crefydd na phethau digrefydd un hanner awr yn fy nhŷ, mwy na phe bawn yn byw yn ardaloedd pellenig America! Hyn, ynghyda phethau eraill, ar ol colli anwyl gymhares fy mywyd, a fu yn achos na chefais nemawr gysur er ys blyneddau, ond a gefais o'r nefoedd. Ond rhyw ddysgwyl gwan sydd genyf o gael cyfeillion ddigon cyn bo hir, i gyduno mewn mawl i Dduw a'r Oen yn oes oesoedd. Amen ac Amen.

*Caergwrle*, 1804."

Rhaid i ni bellach ymlwybro ymlaen fel y gallom, heb gynnorthwy ei ysgrif ef; ac ymlaenaf, dylem roddi byr-adroddiad am ei symudiadau dilynol. Yn y flwyddyn 1804, rywbryd yn lled fuan, dybygid, ar ol ysgrifenu y cofion blaenorol, symudodd Mr. John Jones ei drigias, ac a aeth i fyw i Laneurgain, yn yr un sir a Chaergwrle; ac yn Llaneurgain yr arosodd am ychydig gyda phedair blynedd. Byddai y pryd hyny yn myned yn fynych oddiamgylch i bregethu yn deithiol; a phan y byddai gartref, byddai yn aml yn myned i bregethu Seisoneg, fel y medrai, i bobl anwybodus goror Clawdd Offa, rhan o ba un sydd yn y gymydogaeth. Un Sais, a fu yn ei wrandaw ar gyfryw achlysuron, a ddywedai wrthym, fod ei Gymreigiaeth, ei awydd cryf am i'r bobl ei ddeall, ei gymhariaethau digrif yn gysylltiedig â'i apeliadau sobr at y gydwybod, yn cydweithredu i beri i'w wrandawyr, lawer o honynt, chwerthin ac wylo ar unwaith. Cafodd le i gredu na bu ei lafurwaith yn y Goror ddim yn gwbl ofer.

Yn y flwyddyn 1808, efe a aeth yr ail waith i'r ystâd briodasol. Priododd, yn nhref yr Amwythig, gydag Ann, merch Mr. David Owens, o Drefedwen, Llandyrnog, sir Ddinbych. Cafodd hi yn ymgeledd gymhwys iddo hyd ei farwolaeth; ac y mae hi eto ar dir y rhai byw, yn meithrin ei goffadwriaeth gyda yr anwyldeb mwyaf. Yn mhen ychydig fisoedd ar ol priodi, efe a symudodd o Laneurgain i Dreffynnon; ac yn y dref hòno y bu efe mwyach yn cartrefu hyd ddiwedd ei oes. Ganwyd iddo yn Nhreffynnon bedwar o blant, un o ba rai a fu farw yn ei fabandod, a'r tri eraill sydd eto yn fyw, sef un ferch a dau fab. Bu yn dra gofalus i'w hyfforddi yn grefyddol, a'u dwyn i fyny yn yr eglwys; ac y maent, hyd yma, wedi

aros yn y pethau a ddysgasant: mae un o'i feibion yn weinidog, a'r llall yn ddïacon, yn y cyfundeb ag y credai eu tad nad oedd gyffelyb iddo ar y ddaear.

Yn Nhreffynnon, efe a ddechreuodd gadw *shop* fechan, trwy yr hyn y galluogwyd ef i gael bywioliaeth led gysurus. Ni wnaem synu os bydd rhyw nifer o ddarllenwyr y "Traethodydd" yn edrych yn ddyeithr ar ein hadroddiadau hyn. Gweinidog yr efengyl yn gweithio gwaith gweuydd, ac wedi hyny yn cadw *shop!* pa fodd y gellir edrych ar gyfryw un fel gweinidog o gwbl? Nid oes genym ni ond cyfeirio y brodyr hyn at yr adnod hòno yn hanes yr apostol Paul: "Ac o herwydd ei fod o'r un gelfyddyd, efe a arhoes gyda hwynt, ac a weithiodd, canys gwneuthurwyr pebyll oeddynt wrth eu celfyddyd." Nid oedd yn un anfri i Mr. John Jones ei fod yn gorfod gweithio â'i ddwylaw, neu agor masnachdŷ, tuag at gael ffordd rydd i fyned oddiamgylch i bregethu yr efengyl. Yr oedd pregethu ar ei galon; ac nid oedd un drefn gan y Methodistiaid i roddi cynnaliaeth sefydlog i'w pregethwyr; gan hyny, er mwyn ei alluogi i gyflawni ei alwedigaeth ysbrydol o borthi teulu Duw, yr oedd raid iddo wrth alwedigaeth ddaearol i borthi ei deulu ei hun. Clywsom ef yn dywedyd yn gyhoeddus unwaith, "Yr wyf fi yn cael fy mywioliaeth trwy y wreigan acw a'i thipyn *shop;* ond yn y pulpud yr wyf yn cael fy nghysur; ac mi a ddeuaf i hwn tra y gallwyf gropian." Goddefer i ni yma gyfleu sylwadau a wnaed amser yn ol gan un o weinidogion mwyaf cymeradwy Cymru:— "Mae rhai gweinidogion, fe wyddis (ebe efe), na wnant ddim ond am arian. Pe gosodid arnynt y cyflawniad lleiaf, hwnt i'w dyledswyddau gosodedig, byddai raid codi y cyflog yn gyfatebol, neu, fe rwgnechid yn erbyn y gwaith; ïe, serch fod eu cynnaliaeth yn ddigonol eisoes! Nid ŵyr dyn felly, druan, ddim am gariad at ei waith; gwas cyflog ydŷw, ac nid bugail y defaid. Yr oedd yr apostol Paul, o leiaf ar brydiau, yn pregethu yr efengyl yn rhad, yn gweithio mewn llafur a lludded nos a dydd, a bod yn esiampl o ddiwydrwydd i'r dychweledigion ieuainc, ac er mwyn gochelyd pwyso arnynt mewn tlodi ac anghen, neu unrhyw amgylchiad y buasai hyny yn rhwystr i efengyl Crist." Ar yr un pryd, y mae yn dda genym weled fod y Methodistiaid yn dechreu ystyried o ddifrif fod yn ddyledswydd arnynt bellach weithredu yn wahanol i'r hen ddull ag yr oedd anghenrheidrwydd, yn y dechreuad, yn eu gorfodi i'w ddilyn. Mae yn rhaid iddynt ddyfod allan yn fwy egniol nag erioed i gynnal gweinidogaeth y gair, os ydynt am barhau defnyddioldeb Methodistiaeth yn Nghymru. "Onid yw yn gwestiwn," ebe yr un gweinidog ag y cyfeiriwyd ato eisoes, "a ddylid ordeinio dyn i'r weinidogaeth, pan y mae ganddo lonaid ei freichiau o orchwylion eraill? neu a ddylai dyn gymeryd ei ordeinio mewn amgylchiadau felly? 'Felly yr ordeiniodd yr Arglwydd, i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl, fyw wrth yr efengyl.' Milwriaeth ydyw y weinidogaeth; ac y mae y rhai sydd wedi eu galw iddi, dan waharddiad i ymrwystro â negeseuau y bywyd hwn. Nid eu braint yn unig, ond eu dyledswydd, yw byw wrth yr efengyl. Os gallant ond byw yn gyffelyb i'r canolradd neu y cyffredin o'r rhai y maent yn llafurio yn eu mysg, dylent roddi bob gorchwylion eraill heibio, serch eu bod yn fwy ennillgar, a threulio ac ymdreulio dros eneidiau yr eglwysi. Ac y mae yn ddiammhau o'r ochr arall nad oes dim ond anallu a esgusoda yr eglwysi ger bron Duw, rhag estyn cymaint a hyny o gymhorth iddynt."

Er mai dan ofal Mrs. Jones yn benaf yr oedd y *shop*, byddai Mr. Jones weithiau yn ymddangos yn gryn drafferthus gyda hi. Arferid ei chau bob noson y cedwid y cyfarfod eglwysig. Ond un noswaith, cafodd anghrediniaeth y fath oruchafiaeth arno ef, fel y penderfynodd fod yn rhaid gadael y *shop* yn agored, gan y colledent eu hunain wrth gau eu masnachdŷ hwy o flaen masnachdai eu cymydogion. Pa fodd bynag, yr oedd Mrs. Jones wedi meddwl am fyned i'r *society* fel arferol; ac nid oedd dim i wneyd ond iddo ef aros ei hun i weini yn y *shop*, yn lle myned i gydgynnulliad ei frodyr. Yno y bu, yn dysgwyl ac yn dysgwyl; ond nid oedd cymaint ag un cwsmer yn dyfod i mewn; ac yr oedd ei feddwl yn awr, yn ddigon anghysurus iddo, yn rhedeg i'r cwrdd eglwysig yn y capel, lle y dylasai efe fod, fel bugail gyda y praidd. O'r diwedd, daeth rhywun anadnabyddus iddo i mewn; i geisio gwerth ceiniog o ryw nwydd; a dyna yr oll a werthwyd ganddo ar y noson hòno. Ond nid dyna y cwbl sydd i'w adrodd. Rhoes y prynwr ddernyn hanner coron i dalu, a rhoes Mr. Jones y newid iddo yn ol; ac yna allan âg ef; ond erbyn edrych, pan yn rhy ddiweddar, hanner coron drwg ydoedd; dernyn o blwm ac nid arian. "Mi welais yn union fy mod wedi pechu wrth aros adref," meddai efe; "y cwbl a ennillais oedd, rhoddi ceiniogwerth i'r dyhiryn, a dau swllt a phum ceiniog iddo am ei chymeryd." Cauwyd y *shop* bob noson *society* o hyny allan; ac aml waith y clybuwyd ef yn canmawl yr anffawd hwn, er mwyn ei ddysgu ef a'i deulu i gymeryd amser i geisio a mwynhau y pethau mwyaf. Am hir dymmor wedi hyny, ni dderbyniai efe arian yn y *shop* heb ddefnyddio rhyw hen siswrn i'w crafu a'u profi yn dda. A mynych y sylwodd mai da a fyddai i bechadur gael ei grafu â'r hen siswrn er mwyn ei brofi a'i gadw byth. Dywedodd wrth gyfaill unwaith, fod yr Arglwydd yn dirion iawn wrtho pan yn y pulpud yn Nhreffynnon yn ceisio pregethu,—ei fod bob amser yn anghofio ei *shop*, er fod lliaws o'r gwrandawyr yn ei ddyled; ond fod Satan unwaith wedi cael cenad i'w gernodio, trwy ddangos iddo, pan yn pregethu, un o'r aelodau oedd yn ei ddyled, gan ddywedyd wrtho fod y cyfryw yn gwisgo dillad rhy wychion; eithr iddo gael y tro hwnw hefyd ynghyd â'r demtasiwn ddiangfa, sef ei gynnorthwyo i fyned ymlaen yn ngwaith ei Arglwydd, heb gyfeirio un ffiangell at y neb oedd yn ei ddyled.

Yn Nghymdeithasfa y Bala, yn Mehefin, 1820, neillduwyd Mr. Jones i weinyddu y ddwy ordinhad sacramentaidd o Fedydd a Swper yr Arglwydd, ac i fod dan bob ymddiried perthynol i'r weinidogaeth yn y Cyfundeb. Yr oedd hyn yn mhen naw mlynedd ar ol y neillduad cyntaf a fu yn y Bala. Yr oedd dewis brodyr i'w hordeinio yn beth a gyflawnid gydag arafwch a gochelgarwch mawr yn y blyneddau hyny, gan ei fod yn beth newydd a diweddar mewn cymhariaeth. Ystyrid yn beth mawr, os nid yn ddigonol, cael tri neu bedwar o weinidogion yn mhob sir. Eithr nid felly y mae heddyw; a gwell yw y cyfnewidiad. Cofir yn felus am lawer tro hwylus ac effeithiol ar Mr. Jones wrth weini yr ordinhad bwysig o Swper yr Arglwydd; ac felly hefyd weithiau wrth fedyddio. Yn y Dyserth, yn agos i ddiwedd ei oes, gweinyddodd yr ordinhad o fedydd gyda llewyrch anarferol. Adroddir yn hyfryd am y tro gan amryw sydd eto yn fyw. Wedi iddo gymeryd y dyn bach yn ei freichiau, dywedodd, "Mae yn rhaid bedyddio yn enw y Drindod, o herwydd dyma y gorchymyn o eiddo y Prophwyd mawr a'r Brenin a osododd Duw ar ei eglwys, 'Gan eu bedyddio

hwy yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.' Fel pe dywedasai y Tad, 'Myfi a'i carodd ac a'i hetholodd; byddwch siwr o fedyddio y baban yn fy enw i.' 'Wel, purion,' fel pe dywedasai y Mab; 'os tydi, Dad, a'i carodd ac a'i hetholodd, y mae wedi costio yn ddrud i minnau; myfi a'i prynodd; byddwch siwr o'i fedyddio yn fy enw innau.' 'Wele, hai yna,' fel pe dywedasai yr Ysbryd Glân, 'os tydi, Dad, a'i carodd ac a'i hetholodd, a thithau, Fab, a'i prynodd, ni fydd yn gymhwys i ddyfod i ogoniant, heb i minnau ei aileni a'i sancteiddio; byddwch siwr o'i fedyddio yn fy enw innau.'"

Treuliodd Mr. Jones lawer o'i amser i bregethu yn deithiol, yn ol yr hen arfer Fethodistaidd; ac yr oedd amgylchiadau pethau yn ei ddyddiau ef yn peri fod yr arfer hòno y pryd hyny yn dra dymunol ac adeiladol. Mynych y teithiodd efe i bregethu trwy siroedd Gogledd a Deheudir Cymru; a llawer gwaith yr ymwelodd â Chymry Liverpool, Manchester, Caerlleon, ac Amwythig. Bu unwaith yn gweinidogaethu am dri mis yn Llundain. Oddiyno, yn un o'i lythyrau at ei wraig, efe a ddywed:—

"Yr un yw fy nghalon yn Llundain ag yn Nhreffynnon. Pa le bynag y byddwyf, mae fy nghalon yn fwy ei thwyll na dim; yn fwy ei gofid na dim; yn fwy ffiaidd na dim. Mae sawyr uffern arni, a thwyll uffern ynddi. 'Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon?' Ond, o drugaredd, nid yw y drwg sydd yn llenwi fy nghalon, yn cael goddefiad i redeg drosodd. Os yr un yw fy nghalon yn mhob man, yr un hefyd yw Duw yn mhob man; yr un yw gras. Gallaf ganu y pennill hwn, heddyw, yn Llundain, ddau can' milldir oddiwrth fy ngwraig a'm plant:—

"Weithiau dyry ei ragluniaeth,
Weithiau rhydd ei hyfryd ras,
I fy ngwarchod a fy nghadw
Rhag fy chwantau ffiaidd cas:
Boed fy nghân, iddo 'n lân,
Pan êl daear fawr ar dân.'"

Ond nid oedd ei deithiau oddicartref yn ei rwystro i ofalu yn ffyddlawn ac i lafurio yn ddiwyd gyda yr achos crefyddol yn ei gartref. Yr oedd Methodistiaeth yn dra isel ac eiddil yn Nhreffynnon, pan y daeth Mr. Jones yno i drigiannu; a bu yno am rai blyneddau heb weled ond ychydig gynnydd a llwyddiant ar yr achos. Ond tua y flwyddyn 1817, pan yr oedd yn dymmor o adfywiad grymus ar grefydd trwy y rhan fwyaf o siroedd Gogledd Cymru, ymwelodd Duw â'i bobl yn Nhreffynnon hefyd. Chwanegwyd llawer at yr eglwys; a byddai y fath weithrediadau mor nerthol yn disgyn yn yr oedfaon, nes y byddai llawer o'r gwrandawyr yn tori allan "mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gŵyl." Nid yn hawdd y byddai Mr. Jones yn gallu attal ei anwydau rhag myned "gyda yr awelon hyn;" a mynych y gwelwyd ef, wedi dyfod i lawr o'r pulpud, yn cyduno â phlant y gorfoledd, i floeddio

"Hosanna, Haleluwia,
I'r Gŵr fu ar Galfaria."

Aeth yr hen gapel yn rhy fychan i gynnwys y gwrandawyr; ac yn y flwyddyn 1826, cymerwyd darn o dir mewn man arall, ar yr hwn yr adeiladwyd addoldŷ hardd ac eang, yr hwn sydd yn mesur 20 llath wrth 17, ac a enwyd yn "Rehoboth," ac a agorwyd yn mis Gorphenaf, 1827. Yn fuan wedi adeiladu y capel mawr, ceisiodd un o'r adeiladwyr wneyd yr hyn a ystyrid yn gam dirfawr â'r achos, ac aeth yn gyfreithio rhyngddo ef a'r

ymddiriedolwyr. Effeithiodd yr amgylchiad hwn yn ddwys iawn ar feddwl Mr. Jones: gweled y capel newydd, yr hwn y dysgwyliai gymaint oddiwrtho, yn myned yn asgwrn cynhen rhwng gwŷr y gyfraith, er mawr orfoledd i elynion crefydd! a pheth a ddeuai o'r capel yn y diwedd, ni wyddid. Deisyfodd ar ei gyfeillion crefyddol drwy holl sir Fflint gadw cyfarfod i weddïo ar yr achos; a chofir ei daer weddi ef, ar yr amgylchiad hwn, yn y cyfarfod gweddi yn Nhreffynnon hyd heddyw: ei phrif destun ydoedd, ar i Dduw droi cynghor Ahitophel yn ffolineb. Dygwyd y cynghaws ymlaen yn yr Amwythig, ac yr oedd dyddiau y treial yn adeg o'r pryder mwyaf i Mr. Jones; nid oedd yn gallu gwneuthur dim agos ar y pryd ond ocheneidio a gweddïo. Ond o'r diwedd, dyma y newydd yn dyfod fod pobl y capel wedi ennill y gyfraith: yn y fan, efe a gnociodd y bwrdd mewn llawenydd, ac a aberthodd foliant i'r Hwn sydd "yn gwneuthur cyfiawnder a barn i'r rhai gorthrymedig oll."

O ran ei ddyn oddiallan, yr oedd Mr. Jones ychydig o dan y maintioli cyffredin, ond yn bybyr, grymus, a chorffol; yr oedd ei wynebpryd braidd yn fyr, eithr yn wridog a llawn, a golwg iachus arno; ac yr oedd ganddo lygaid bychain, duon, a dysglaer, y rhai, ynghyd â dull ei wynebpryd, a ddywedent fod ystôr o arabedd (*wit*) a digrifwch naturiol ynghadw yn ei gyfansoddiad. Pe buasai yn ŵr chwareudŷ, buasai ei ddawn yn ei wneyd yn frawd cymhwys i Grimaldi; ond y Nefoedd a'i hennillodd i fod yn ddyn addoldŷ, a'i arabedd a'i ffraethineb a osodwyd dan dreth ewyllysgar i achos gwir grefydd. Yr oedd ganddo lais eglur, hyglyw, a pheraidd, a phan y byddai ei ysbryd mewn hwyl wrth bregethu, efe a roddai aml fanllef soniarus, ac a arferai dôn ganu dra hyfryd.

Yr oedd dawn ffraeth Mr. Jones yn fuddiol i alw sylw at ei fater pwysig; nid oedd ei ddull digrif ond megys papyr lapio am ei "*earnest ministry.*" Mae ffraethineb mewn pregethwr yn gyffelyb i farch bywiog, ysbrydlawn, yr hwn y mae yn rhaid ei ffrwyno yn ofalus, onidê fe neidia dros gloddiau a gwrychoedd, ac a wna y mawr niwed y ffordd yr elo. Gellid meddwl am ambell un a elwir yn bregethwr nad oes ganddo ddim mewn golwg trwy ei ddigrifeiriau, ei gyfeiriadau, a'i gymhariaethau, ond peri i'r bobl chwerthin. Ennill salw yn wir, i un sydd yn proffesu mai gwaith ei swydd yw achub eneidiau!

"'Tis pitiful
To court a grin, when you should woo a soul;
To break a jest, when pity would inspire
Pathetic exhortation; and to address
The skittish fancy with facetious tales,
When sent with God's commission to the heart!"

Ond yr oedd ffraethineb gan yr hen frawd o Dreffynnon wedi ei amcanu i fod fel cloch crïwr y dref, yr hon sydd yn galw y bobl allan o'u tai i wrandaw ar yr hysbysiad sydd yn canlyn. Gyda fod galluoedd chwerthinus y gwrandawr yn dechreu ysgogi wrth ddigrifwch y gymhariaeth, neu wrth hynodrwydd y dull o'i hadrodd, dyna y fath hyrddiad ar ei gydwybod, neu frathiad i'w galon, gan y cymhwysiad, nes y byddai ochenaid yn anadlu allan o'r fynwes, a deigryn yn llithro dros y rudd, yn ddiarwybod iddo. Er anghraifft, yr oedd ganddo bregeth nodedig ar y geiriau difrifol hyny, "Pa leshad i ddyn os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Ac ynddi, dywedai,—"Dacw fachgenyn yn sefyll yn agos i glochdŷ uchel eglwys St. Paul yn Llundain, a rhyw ŵr boneddig yn myned ato, gan

ddywedyd, 'Fy machgen, mi a rof hanner coron i ti os gwnei di fyned i ben y clochdŷ acw, a neidio oddiyno i lawr.' 'Ha!' ebe y bachgen, 'hanner coron yn wir! Na chymeraf fi mo'ch hanner coron chwi.' 'Wel, mi a roddaf i ti ddeg swllt, os gwnei di hyny.' 'Deg swllt yn wir! Ha! cedwch eich deg swllt.' 'Wel, ynte, dyma i ti *sovereign* am wneyd.' '*Sovereign!* na chymeraf fi ddim cant o *sovereigns* am neidio o'r fath le. Pa leshad? ennill *sovereign* a cholli 'mywyd.' Bobl! pa leshad i chwithau ennill byd a cholli enaid? Dacw fochyn tew yn pori ar y ddol gerllaw yr afon, a dyma y llif mawr yn dyfod, fel diluw, ac yn cario y mochyn gyda'r afon. Hwi hai! dyna'r gwaeddi croch, Dowch bawb i roi help; mae'r mochyn yn myn'd gyda'r dŵr! Ah! ddyn! ti a fentri ymron at gorn dy wddw i safio dy fochyn, ond yr wyt yn ddifater am golli dy enaid!"

Ni byddai efe yn gyffredin wrth bregethu yn arfer gwneyd yr hyn a elwir yn godi materion, yn gyntaf, yn ail, ac yn drydydd; ond, yn gyffelyb i lawer o'i hen frodyr, efe a sylwai ar ei destun bob yn ddarn-ymadrodd, gan wneuthur addysgiadau priodol oddiwrtho, a chyfeirio y rhai hyny at ei wrandawyr mewn ffordd ymddyddanol, ac mewn dull hynod o agos atynt. Gosodwn yn awr o flaen ein darllenwyr rai darnau a gawsom o amrywiol bregethau o'i eiddo, y rhai a arddangosant neillduolrwydd ei athrylith a'i ddawn yn well na dim sylwadau o'r eiddom ni. I'r rhai hyny oedd yn gyfarwydd â Mr. Jones, ac a allant sylweddu yn eu cof ddyrchafiad a gostyngiad ei lais pan yn pregethu, bydd y nodiadau canlynol yn cael eu cyfrif fel arlwyon gwir ddanteithiol:—

*Rhufeiniaid* viii. 28. "Ac ni a wyddom fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw; sef i'r rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef."

*Pob peth!* Cyfnewidiadau, gorthrymderau, cystuddiau, tlodi,—pob peth. Mae Duw yn siwr o honi hi. Ydyw! ni bu raid iddo ddyweyd erioed, ac ni bydd raid iddo ddyweyd byth chwaith, *Mi fethais*. Na, na! fe wna yr hyn a fyno oll. Rhaid i ddynion, ac i ddynion duwiol hefyd, ddyweyd yn aml, Methasom. Rhaid i lawer meddyg da, wedi gwneyd ei oreu, ddyweyd, Mi fethais. Ond ni fethodd Duw erioed. Ambell ŵr mawr, a chanddo ddau fab, ar ol rhoddi un yn un alwedigaeth, a'r llall mewn un arall, sydd, druan, yn gorfod dywedyd wedi y cwbl, Darfu i mi *fisio*. Yr oedd Jacob, wedi gwneyd y siaced fraith i Joseph, yn gorfod dyweyd, Mi fethais! O na buaswn wedi gwneyd deuddeg, neu beidio gwneyd yr un. Do, do! mi *fisiais*. Garw y drwg a wnaeth hi! Wedi gollwng Dina i edrych merched y wlad, a'i gweled yn dyfod adref yn ddrwg ei llun, dywedai Jacob, Wel, wel! mi *fisiais*. Dylaswn *rwymo* yr eneth yma gartref, oni wnaethai dyweyd y tro. A *misio* mawr ydyw hwn eto: gollwng plant ormod â'u penau i'r gwynt. Ond ni raid i Dduw byth ddyweyd ei fod ef wedi *misio*. Misio! 'does dim posibl iddo *fisio*. Fe wna i *bob peth* gydweithio er daioni.

Mae y bobl dduwiol yma ar y ddaear, fel ambell blant o Gymru wedi eu hanfon ymhell i ysgol, a hòno yn *boarding-school*. Nid oedd yno ddim pob peth fel yr oedd hi gartref. Nac oedd, nac oedd! prin loned bol o fwyd, a *manners, manners*, bron a'u hurtio, druain. Dacw y naill yn troi at y llall ryw ddiwrnod, ac yn gofyn, I ba beth y gyrodd fy nhad ni i'r fan yma, dywed? O! meddai y llall, nid wn i ddim ond hyny; un garw ydyw fy nhad; mae ganddo fe ryw ddyben, er na wyddom ni; pan awn adref, ni a gawn ofyn iddo. O'r diwedd, anfonodd y tad ei was i'w cyrchu adref. A'r peth cyntaf a ofynwyd bron wedi eu myned adref oedd, I ba ba beth y gyrasoch chwi ni i'r fan acw, fy nhad? Pam? meddai y tad. Wel, meddai y plant, nid oeddem ni yn cael agos ddigon o fwyd acw, a'r *manners* oedd bron a'n dyrysu: yr oedd raid i ni dynu ein hetiau hyd yn nod i'r *sweep*. Wel, fy mhlant, meddai y tad, nid oedd fawr o lun arnoch efo

fy nghwpbwrdd i gartref, ac ni thynech mo'ch hetiau i'r meistr tir cyn myned acw. Eich dysgu oedd fy nyben i; a pha faint bynag a gostiodd hyny o ddyoddef i chwi, mae y cwbl wedi gweithio er daioni. Felly eto; mae Duw yn rhoddi ei blant mewn llawer ysgol galed, ac fe bair iddynt ddysgu; a phan ddysgant ddigon, fe enfyn ei was angeu i'w dwyn adref. A chartref hwy a ddeallant y dyben. Mae gorchwyliaethau Duw at ei blant yn debyg i'r olwynion yn y bennod gyntaf o Lyfr *Ezeciel*. *Machinery* fawr ydyw hi—hen ragluniaeth Duw,—llawn o olwynion, a'r rhai hyny yn eu gilydd, yn troi a throi, a thithau yn methu deall. Ond y mae Duw yn deall, ac yn edrych ar eu hol hwy i gyd. Dyna ddyn dwl yn myned i edrych *machinery* fawr, ac yn ei rhyfeddu a'i chanmawl wrth y *mechanic*, gan ddyweyd ei bod hi yn un hardd i gyd, oni bai am yr olwyn acw sydd yn troi o chwith yn y canol. O! meddai hwnw, hòno ydyw eu bywyd hwy i gyd; ni throai nhw fawr oni bai hòno. Felly tithau, ffraeo llawer y byddi di â'r *olwyn chwith*. Ond pe deallit ti mai hi yw'r cwbl, ti a waeddit, Wel, wel! olwyn chwith anwyl, tro dy oreu, tro dy oreu; bydd y daioni i minnau. Ond gwyliwch ystwffio eich bysedd i'r olwynion.

"Ac a'u tywysodd hwynt ar hyd y ffordd uniawn, i fyned i'r ddinas gyfanneddol." *Uniawn*, uniawn! nis gwn pa'r un; *cam*, cam! Nage, uniawn! Ffordd gam y cystudd, y tlodi, y dŵr a'r tân, y siomi a'r helbul? Nage, nage! UNIAWN. Ai ffordd uniawn ydyw trwy 'r môr? Ië, a thrwy Baca hefyd. Ië, ïe! ffordd uniawn—uniawn—i ddinas gyfanneddol. Yn Nghanaan y gweli di y daith yn iawn. O'r ddinas y gweli di y ffordd yn uniawn. Yr oedd Jacob gynt yn gweled pethau o chwith i gyd, pan mewn gwirionedd eu bod o dde. Mae hi yn rhy gynnar eto i esbonio. Pan ddelo dydd y gweled, ti a newidi dy iaith. Treia, dithau, er maint dy helbul, fod yn ddystaw am dipyn; daw dydd y gweled yn y man. Daw, daw! 'Fel y gwelir heddyw.' *Pob peth*, y dŵr a'r tân, y *pills* a'r *doses; pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw*. Yn y nifer, yn y nifer y byddom ninnau! Edrychwn ni ein bod yn caru Duw; fe edrych yntau ar ol pob troion, i'w gweithio i gyd er ein daioni.

*Luc* i. 5, 6: "Yr oedd, yn nyddiau Herod, frenin Judea, ryw offeiriad a'i enw Zacarias, o ddyddgylch Abïa; a'i wraig oedd o ferched Aaron, a'i henw Elisabeth. Ac yr oeddynt ill dau yn gyfiawn ger bron Duw, yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd, yn ddiargyhoedd."

Dyna *offeiriad cyfiawn*. Gwell offeiriad cyfiawn er ei fod yn fud, nag offeiriaid âg ysbryd ffraeth, ac efe yn un anghyfiawn a meddw; ac felly am bob pregethwr. Nid oedd neb âg anaf arno i fod yn offeiriad; rhaid i weinidog yr efengyl fod yn ddiargyhoedd. Fe ddylai fod profi i bwrpas ar ddynion cyn eu gollwng i bulpudau. Y mae gŵr drwg, hwsmon drwg, pobpeth drwg, yn anhyfryd: ond pregethwr drwg yw y dyhiraf o'r cwbl. Gwareder y byd rhag rhai fel hyn; rhai o fath meibion Aaron, a meibion Eli.

Yr oedd ei *wraig yn gyfiawn* hefyd. Dyma drugaredd sydd yn ail i ddyn fod yn gyfiawn ei hun. Mae rhai yn dyweyd na waeth pa un ai cyfiawn ai anghyfiawn a fyddo y wraig. Nid ewyllysiwn fwy o ddial arnynt nag iddynt gael un debyg i wraig Job. Mi feddyliwn i mai y felldith dymmorol fwyaf yn y byd hwn, yw gwraig anghyfiawn, ac anynad. 'Y neb sydd dda gan Dduw, a waredir oddiwrthi; ond pechadur a ddelir ganddi.'

*Ill dau yn gyfiawn*. Syndod yw cael un ai y gŵr ai y wraig yn gyfiawn. Ewch i'r tŷ a fynoch bron, y mae y gŵr *a'r* wraig yn annuwiol, a'r plant yr un fath. Mae miloedd o dai heb neb yn gweddïo o'u mewn ddydd yn y flwyddyn. Ow! na byddai y gŵr, neu y wraig, neu rywun, yn darllen ac yn gweddïo! ond nid oes neb. Ond dyma y *ddau* yn gyfiawn. Dyma syndod. Yr oedd yma drigfa fendithiol. "Ill dau yn gyfiawn." Mae yn debyg nad oedd yma fawr o ffraeo â'u gilydd.

*Yn gyfiawn ger bron Duw*. Y mae rhai yn gyfiawn ger bron dynion, heb fod yn gyfiawn ger bron Duw. Nid peth bach yw bod yn gyfiawn ger bron dynion, mewn byd o'r fath yma; ac mewn amser o'r fath ag ydyw yr amser presennol. Pe gwybyddid am yr holl anghyfiawnder sydd yn myned ymlaen mewn masnach,—mewn cyrtiau gwladol,—yr holl wyro barn er mwyn gwobr sy'n bod,—y tyngu

anudon,—gymaint o gam y mae gweddwon a'r amddifaid yn gael,—a'r holl fyned i ddyled, a byth yn meddwl dyfod allan;—nid ellid llai na phenderfynu mai oes agos iawn i ddystryw yw yr oes hon. Y mae bod dyn yn gyfiawn, yn un o ryfeddodau yr oes lygredig hon, pan nad oes ond ychydig yn bwyta eu bara eu hun, ac yn gwisgo eu dillad eu hun. Ni wnai yr Iuddewon gynt alw neb yn gyfiawn ond y rhai y ceid ynddynt ryw rinweddau yn ychwaneg na bod yn onest i dalu i bawb yr eiddo. Yr oedd gŵr cyfiawn y Salmydd, yn un "cymwynasgar, ac yn rhoddi benthyg." Ond, wedi y cwbl, y peth mawr ydyw bod yn gyfiawn *ger bron Duw*. Pa sut y mae hi ger bron Duw, bobl? A oes yno un cŵyn yn ein herbyn? Y peth ydyw ger bron Duw yw y cwbl; os yw yn ddrwg yno, nid all fod yn dda yn unlle; y mae hyn yn andwyo y cwbl. Os ceir pethau yn dda o chwarteri eraill, pob peth yn dda yn nhyb llawer; ond hi a all fod yn dda o bob cwr arall, y tir yn cnydio yn dda, &c., eto yn ddrwg ger bron Duw. "Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt, ac eiddo pwy fydd y pethau a barotoaist?" Arswydwn rhag ei bod yn ddrwg rhyngom a Duw. Ac os yw yn dda yma, bydd yn dda yn mhob man, am fod hyn yn tynu allan y drwg o bob peth arall. Dyma ddigon gan Paul yn ngwyneb pawb a phob peth, "Os yw Duw trosom, pwy a all fod i'n herbyn?"

*Yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd.* Hyn yw bod yn gyfiawn yn wir. "Yn *holl* orchymynion,"—nid rhai o honynt. Nid oes dim gwir barch i un o'r gorchymynion heb barch i'r cwbl. Dyn partiol yw y rhagrithiwr; y mae ganddo fath o barch i ambell orchymyn; ond nid oes ganddo ddim i'r lleill; ond yr oedd y rhai'n yn rhodio yn *holl* orchymynion a deddfau yr Arglwydd.

*Yn ddiargyhoedd.*—Dyma rai oedd yn ddiachwyn arnynt. Nid oedd neb yn achwyn eu bod yn gymydogion blin a phoenus,—eu bod yn codi cynhen rhwng cymdeithion,—neu yn codi terfysg yn yr eglwys trwy gyndyn ddadleu, &c. Yr oeddynt wrth eu bodd gyda chrefydd: *rhodio* yn ngorchymynion Duw. "Hyn yw cariad Duw, gadw o honom ei orchymynion ef; a'i orchymynion ef nid ydynt drymion." Bydd yn hawdd rhodio ynddynt pan gaffom nad ydynt yn drymion. Y mae rhai, dybygwch chwi, yn gyfeillion mawr i ras Duw, ond nid ydynt yn gyfeillion i orchymynion Duw. Gwir yw fod arnom rwymau i gadw y gorchymynion, ac y dylem eu cadw; eithr nid hyny yw y cwbl gan y dyn duwiol, ond "Mor gu genyf dy gyfraith." Pa mor gu? Nis gallaf adrodd. Digon o brawf am wirionedd crefydd dyn yw, fod cyfraith Duw yn gu ganddo. Gall natur beri rhyw fath o gymeradwyaeth i ras achubol, ond rhaid cael gras achubol ei hun i gymeradwyo a charu gorchymynion Duw.

*Job* i. 8; "A dywedodd yr Arglwydd wrth Satan, A ddeliaist ti ar fy ngwas Job, nad oes gyffelyb iddo ar y ddaear, yn wr perffaith ac uniawn, yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni?"

Yr oedd Job yn ŵr mawr o herwydd ei gyfoeth, ïe, yr oedd yn fwyaf o holl feibion y dwyrain. Ond dyma beth mwy na hyny yn cael ei ddywedyd am dano o ran ei grefydd. "Nid oedd gyffelyb iddo ar y ddaear," &c. Nid peth bach yw i ddyn fod heb ei gyffelyb mewn *plwyf;* a mwy na hyny fyddai fod felly mewn *sir;* ond dyma un heb neb yn debyg iddo *ar y ddaear*. A Duw ei hun a ddywedodd felly am dano: a phe buasai heb ddyweyd yn iawn, mi warantaf fi y buasai y cythraul yn siwr o ateb, a dweyd, Mi wn i well pethau; mae Hwn a Hwn cystal ag yntau, bob tipyn. Ond ni feiddiodd ef ddyweyd un gair yn erbyn, oblegid fe wyddai y diafol yn burion pa fath un oedd Job. Mae yr holl dduwiolion yn gyffelyb i'w gilydd mewn llawer o bethau; ond y mae rhai, fel Job, yn rhagori yn fawr ar eraill. Mae gan y diafol hefyd ei *generals* yn ei fyddin. Mae yn ddigon o felldith i ddyn fod yn annuwiol, heb iddo fod yn *general* mewn drygioni; ond y mae rhai dynion can waethed a'r cythraul ei hun, ond ei fod ef yn ysbryd, a bod ganddynt hwythau gnawd ac esgyrn yn lle natur angelaidd. "Na fydd ry annuwiol,—paham y byddit farw cyn dy amser?" Mi welais hanes yn ddiweddar am ddau ddyn yn tyngu am y mwyaf am *wager;* a'r hwn oedd yn ei medru hi oreu, yn cael ei daro yn fud, ac yn marw dan farn Duw; ac felly efe

a gollodd lawer mwy nag a ennillodd. "Na fydd ry annuwiol." Ond yr oedd Job, nid yn unig "yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni," ond yr oedd yn hynod yn hyny: "heb ei gyffelyb." Peth da iawn yw bod yn dduwiol; ond peth mwy yw bod yn dduwiol *iawn*,—yn *enwog* mewn duwioldeb. Yr oedd gan Dafydd lawer o wŷr cedyrn; ond y mae son am dri o honynt yn fwy hynod na'r lleill. Mae ambell ferch yn tra rhagori ar ferched eraill: "Llawer merch a weithiodd yn rymus; ond ti a ragoraist arnynt oll." Mae rhai gwragedd yn meddwl bod eu gwŷr yn bur ddiystyr o honynt; ond dyma un yn mawr ganmawl ei wraig, a hyny heb ddiystyru eraill. "Anerchwch Andronicus a Junia," medd Paul, "y rhai sydd hynod ymhlith yr apostolion." Nid yn unig yr oeddynt ymhlith yr apostolion, ond yr oeddynt yn rhai *hynod* yn eu plith. Llefwch, da mhobl i, am grefydd hynod, fel y byddo yn un hawdd ei hadnabod gan bawb yn mhob man.

*Job* xiv. 1; "Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul."

*Dyn a aned o wraig.*—"O'r dechreu nid felly yr oedd." Yn Eden, nid dyn a aned o wraig, ond yno y wraig a wnaed o ddyn. O ba le i'r dyn y gwnawd hi, tybed? O'r pen, debyg gen i. Nage, wraig; paid di a meddwl y cei di *rulio* dy ŵr chwaith. Wel, o'r troed, ynte. Nage, ŵr; paid dithau chwaith a meddwl y cei di gymeryd dy wraig yn bêl droed i ti. O ba le, ynte, y gwnawd hi? O'r asen, wel di; mae dy wraig i fod yn anwyl genyt; yn agos at dy galon di. Ond byth ar ol Adda ac Efa, dyma yr ystori am ddyfodiad dyn i'r byd, "Dyn a aned o wraig." Llanciau, a ydych chwi yn barchus o'ch mamau? Mae dy fam, fachgen, wedi cael llawer o boenau wrth dy eni, ac o anhunedd wrth dy fagu; mae yn bryd i ti ddechre talu yn dda iddi.

*Byr o ddyddiau.*—Maent yn *slipio* i ffordd yn fuan, a ninnau gyda hwy. Dyma sydd yn gwneyd ein dyddiau mor werthfawr; byr ydynt: ac y maent yn myned fwyfwy gwerthfawr fel y maent yn nesu i'r pen. Fe glywwyd cyfoethogion annuwiol cyn hyn yn gwaeddi wrth farw, "Mil o *gunis* am fynyd o amser!" Ond nid posibl oedd ei gael.

*A llawn o helbul.*—Dyma helynt dyn ar y ddaear, i ba le bynag yr elo—llawn o helbul. Cewch glywed llawer yn dyweyd y byddent hwy yn dra chysurus pe baent fel hyn ac fel arall. Na fyddent hwy: "llawn o helbul!" Fe fyddwn i yn o lew o'r hapus, meddai y wraig hona, oni bai am wraig y tŷ nesaf sydd yn tori fy llestri, yn *abusio* fy mhlant, ac yn baeddu fy mochyn. Taw a chwyno; pe cait lonydd gan hona, dyma fyddai dy hanes drachefn: "llawn o helbul!" Gellwch glywed rhieni yn dweyd, Pe baem ni wedi magu y plant yma, mi fyddai yn braf wed'yn. Nis gwn i pa'r un: "llawn o helbul" fydd hi wed'yn. Y mab yn dyfod at ei dad ryw ddiwrnod, gan ddyweyd wrtho, 'Nhad, nid âf fi byth i'r ffair eto ar yr hen gyfrwy hyll yna; rhaid i mi gael cyfrwy a ffrwyn newydd; yr oedd arnaf gywilydd ar fy nghalon heddyw; yr oedd pawb ar y ffordd yn harddach eu cyfrwyau na mi. Wel, fy machgen, medd y tad, onid yw y rhent mor fawr, a'r trethi mor drymion? nid oes dim posibl yn awr gael cyfrwy a ffrwyn newydd. Ni waeth gen i befo y rhent a'r trethi; rhaid i mi eu cael nhw, medd y mab. Dyna hi eto: "llawn o helbul!" Daw y ferch hefyd at ei thad, gan ddyweyd, 'Nhad, yr ydwyf fi yn myned i mhriodi. Taw a dyweyd, medd y tad. Ydwyf yn wir, medd y ferch. Gyda phwy, dywed? Gyda Hwn a Hwn. Gwared ni, medd y tad; nid oes genyt ti ddim hanner digon o *fortune* i hwnw. Na! medd y ferch rhaid i mi gael *fortune*. Yn mh'le y cei di o, 'ngeneth i: ni fedraf fi yn fy myw hel dim efo y byd sydd yrŵan. Ni waeth gen i befo'r byd; rhaid i mi gael *fortune*, ebe y ferch. Dyna eto: "llawn o helbul!" Mae hi yn o lew, welwch chwi, pan y bydd y plentyn yn sugno y fam; ond pan ddechreuo efe sugno y tad, dyna y pryd yr â hi yn flinder. Byd yr helbul yw hwn drwyddo. Os ydych am gysur ynddo, rhaid i chwi ddysgu delio â'r nefoedd am hwnw.

*Job* vii. 16: "Ni fynwn fyw byth."

Dyna brofiad rhyfedd; dyna ddyn na fynai fyw ar y ddaear byth. Pe yr elid gyda dau lyfr ar hyd y dref a'r wlad, un yn llyfr mawr, ac yn ysgrifenedig ar ei

gefn, BYW BYTH; a'r llall yn llyfr bach, ac ar hwnw, NI FYNWN FYW BYTH, mi wn o'r goreu yn mha un y rhoddai pobl eu henwau. Byddai y bobl ieuainc a chanol oed am y cyntaf am roddi eu henwau yn y llyfr mawr: byw byth. Ond dacw ryw hen wraig afiach, besychlyd, sydd ymron marw drwy y blynyddoedd; 'does bosibl na cheir enw hona i'w roi yn y llyfr bach. Yn mha lyfr y cawn ni roddi eich enw, 'modryb? dyma un yn dywedyd, Byw byth; a'r llall, Ni fynwn fyw byth: pa un ddywedwch chwi? Wel, nis gwn i, ebe hi;—ond Ho! rhowch fi i lawr gyda fy nghymydogion: byw byth! Ac, a dyweyd y gwir, bobl, pe deuai y ddau lyfr yn awr yma i'r pulpud, mae yn ddigon tebyg i chwi mai yn y llyfr mawr y byddai raid i minnau gael rhoi fy enw. Iё, ïe, yr ydym am fyw byth. Ond nid felly yr oedd Paul. "Mae genyf," medd efe, "chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ; canys llawer iawn gwell ydyw." Yr oedd Paul wedi bod yn y nefoedd unwaith; ac ni bu byth hwylusdod gydag ef wed'yn nes cael myned i'r nefoedd yn ol. Fel bachgen o Gymru wedi myned i Lundain, ac aros yno flynyddoedd, a myned i ysbryd *bus'ness* a *style* Llundain, mae yn dyfod adref i ymweled â'i deulu yn Nghymru; ond yn ei fyw y medrai efe wneyd yn gysurus mwyach yn ei hen wlad fynyddig. Mae yn rhaid i mi fyned yn ol i Lundain, medd efe. 'Neno dyn, fy machgen, medd ei fam, mae saith mlynedd er pan fuost adref o'r blaen; mae yn rhaid i ti aros gyda ni fwy na hyn. Mae yntau yn aros am rai diwrnodiau ymhellach; ond o'r diwedd, mae ysbryd Llundain yn myned yn rhy gryf ynddo i aros yn hwy. Mae yn *rhaid* i mi bellach fyned yn ol, meddai; ac felly yr â. Felly Paul, wedi bod unwaith yn y nefoedd, chwant myned yn ol yno i fyw oedd ar ei galon byth ar ol hyny.

*Rhuf.* viii. 1; "Nid oes gan hyny yn awr ddim ddamnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu."

Mae yn y bobl dduwiol lygredigaeth, tra y byddant ar y ddaear; ond "dim damnedigaeth." Nid yw y dduwiol anian wrth ddyfod i mewn i'r enaid, yn lladd pechod ar unwaith; ond mae yn gorchfygu pechod yn fyw. Mae yr anian newydd yn fyw ac yn teyrnasu, a'r hen anian yn fyw ac yn gwrthryfela. Un enaid, a dwy anian yn yr un enaid. Mae temtasiynau cryfion yn cyfarfod weithiau â'r rhai sydd wedi eu haileni, ac yn peri cwymp oddiwrth gysur gras, ond nid oddiwrth gyfammod gras; nid syrthio *o'r* llaw, ond syrthio *yn* y llaw. Bydd chwipio am bechu, ond dim crogi i'r rhai sydd yn Nghrist; digon oedd ei fod Ef wedi bod yn nghrog ar bren dan y felldith.

Mae yn awr, fe ddichon, lawer o gystuddiau yn cyfarfod â'r rhai sydd yn Nghrist Iesu; ond mae'r gwaethaf wedi myned ymaith: 'dim damnedigaeth.' Yn ol y ddeddf yn Israel, yr oedd pob cyntafanedig i asyn i gael tori ei wddf, neu ynte yr oedd raid cael oen i'w aberthu yn ei le. Ond wedi ei brynu â bywyd yr oen, yr oedd yr asyn i'w adael yn fyw. Mi welaf yr asyn yn gorfod cario pynau trymion, ac heb gael ond ymborth gwael, a hwnw yn brin, a phlant y dref yn gwneyd pob *abuse* arno. Druan, oeddit ti, mae byd garw arnat. Ho, peidiwch cwyno i mi, mae fy ngwddf genyf; gallaswn i fod wedi tori hwnw ymaith oni buasai fod oen wedi gwaedu yn fy lle. Blentyn Duw, paid a grwgnach dan dy feichiau; nid oes dim damnio; mae dy fywyd yn ddiogel yn nghlwyfau yr Oen a laddwyd yn dy le.

Dacw ddrwg-weithredwr wedi ei fwrw i'w golli, a dacw foreu dydd y crogi wedi dyfod, ac yntau wedi ffarwelio â phawb, a'r cortyn am ei wddf, ac heb ddim ond dysgwyl ofnadwy am fynyd y crogi. Ond cyn i hyny gymeryd lle, dyma bardwn o'r orsedd yn dyfod ato; ac yn lle cael ei yru i dragywyddoldeb, dyma efe yn cael myned adref at ei deulu yn wr rhydd. Mae ei ffryndiau yn cydlawenhau âg ef yn y dref nes iddi fyned yn hwyr: ac yna mae efe a'i gwmpeini yn cychwyn tua chartref. Mae hi yn noson dywyll a drycinog iawn; ystorm o fellt a tharanau, a'r gwlaw mawr yn curo arnynt. Wel, ni welais i y fath noson gen arwed yn fy oes, meddai un o honynt. Tewch â son, medd y dyn a achubwyd rhag y crogbren; neithiwyr yr oedd hi yn noswaith dywyll; nid oedd dim ond colli yn mhen ychydig oriau o fy mlaen i neithiwyr; ond mae fy mywyd gen i heno; noson brâf yw heno i mi; mi fedraf yrŵan ddyoddef fy

ngwlychu at fy nghroen; dyma fi yn myned adref yn wr rhydd. Gad i'r tywydd a ddelo ddyfod arnat ti, gristion; paid tuchan dim; mae ystorm y damnio wedi myned heibio am byth.

1 *Cor.* xv. 4; "A'i gladdu—yn ol yr ysgrythyrau."

Dacw Joseph, y pendefig o Arimathea, yn myned i *shop* y *draper* i brynu llian main, i amdoi corff yr Arglwydd Iesu. Estynodd y *shopwr* beth go fras ar y *counter*. O, medd Joseph, mae arnaf ei eisieu yn feinach na hwn; mae arnaf ei eisieu i amdoi corff. Fe estynwyd iddo beth gwell. Deuwch âg un meinach eto, medd Joseph; dewch â'r peth meinaf sydd genych. Wel, y mae hwnw yn rhedeg yn uchel. Gadewch iddo fo, mi redaf innau ar ei ol o. A oes rhyw un mawr wedi marw? O oes! oes! y mwyaf a fu erioed; dyna'r peth; y mae yn rhaid i mi gael y goreu. "Ac efe a brynodd lian main." Yr oedd Joseph yn ffyddlawn; ond yr oedd yno rywun uwch ben oedd ffyddlonach nag yntau,—Duw yn ffyddlawn i'w air. Yr oedd raid claddu Crist "yn ol yr ysgrythyrau." "Gyda y cyfoethog yn ei farwolaeth."

*Rhuf.* xvi. 6; "Anerchwch Mair, yr hon a gymerodd lawer o boen erom ni."

Mae cymeryd poen yn beth sydd i fod mewn crefydd. Nid fel rhyw foneddigion yn eistedd i lawr yn eu *carriages*, heb weithio dim, ac yn edrych ar eraill yn chwysu yn y gwaith: nid *credu* y cwbl, a bod heb *wneyd* dim. Na! y mae eisieu cymeryd cryn *boen* hefo y grefydd yma; ac os wyt ti yn gallu crefydda heb wneyd hyny, mae arnaf ofn na thâl dy grefydd di ddim.

Ond nid wyf yn meddwl fod y Fair a anerchir fel hyn yn gweled dim a wnaeth hi er mwyn achos a gweision yr Arglwydd yn *boen*. Na! pan ddarllenwyd y llythyr yn *society* Rhufain, a phan ddeuwyd at y geiriau, "Anerchwch Mair, yr hon a gymerodd lawer o boen erom ni," mi ddychymygaf fod Mair yn codi ar ei thraed, ac yn dywedyd wrth y darllenydd, Mae yna gamgymeriad yn siwr; a ddarllenaist ti hyna yn iawn? a weli di yn dda ei ddarllen eto? Mae yntau yn gwneyd, ac y mae y geiriau eilwaith yn cael eu darllen yr un fath: "Anerchwch Mair, yr hon a gymerodd lawer o boen erom ni." Wel, medd Mair, mae Paul, er mor fedrus ydyw, wedi rhoddi gair heb fod yn ei le yn y fan yna. Yr oll a wnes iddo ef a'r brodyr, nid *poen* ydoedd, ond *pleser*. Nid llawer o boen, ond llawer o bleser. Pleser i gyd ydoedd. Ond, o ran hyny, caiff Paul, os yw yn dewis, ei alw yn boen am y tro hwn, a minnau a'i galwaf yn bleser am byth.[1]

1 *Cor.* xv. 32; "Bwytawn ac yfwn: canys yfory marw yr ydym."

Dyna iaith anghredinwyr a phobl anystyriol. Beth sydd i gyfarfod â chwi yfory? Marw. Wel, gan fod y fath beth mor sobr i ddygwydd i chwi yn ebrwydd, mynwch gyfarfod gweddi, ceisiwch bobl y grefydd, a soniwch am heddwch â Duw. Na, nid fel hyna, ond bwytawn ac yfwn: einioes fêr a dyddan; ymrown i fod yn llawen heddyw, canys yfory marw fyddwn. Wele, beth a ddaw o honoch ar ol yfory? pa le y byddwch drenydd? Ho, fe fydd y cwbl drosodd ar ol marw. Y cwbl *drosodd* yn wir! Na! dyna lle bydd hi yn *dechreu*. Creadur yw dyn nad aiff hi byth drosodd gydag ef; yn y byd yma y mae hi heb ddechreu gydag ef yn iawn. Chwi a ellwch *farw yfory;* ond chwi a fyddwch *mewn bod drenydd;* a bod difrif iawn fydd hwnw. Mae modd i'n hachub, ond nid oes fodd i'n difodi.

[1] Pan yr oedd Mr. Jones ar daith yn rhai o ardaloedd y cloddfeydd llechi, un boreu nid oedd yn hawdd i neb ddyfod o'r lle y buasai efe y nos o'r blaen, i'w arwain i'r capel nesaf yr oedd efe i fyned iddo; a rhag iddo golli ei ffordd wrth fyned ei hun, rhoed yn ei law ddarn o *slate* ar ba un y llinellwyd *map* o'r ffordd. Yr oedd yr hen weinidog yn edrych ar hyny yn ddull lled ddyeithr o anfon pregethwr; a phan y daeth efe ar dro drachefn i'r lle cyntaf, efe a gyfeiriodd at y Fair uchod yn ei bregeth, ac at ei gwaith yn cymeryd *poen*, ac nid yn rhoddi rhywbeth nesaf at law, pan yn gweini ar Paul a'i frodyr, "Pan yr oedd arnynt eisieu cael eu harwain i'r lle nesaf," ebe fe, "nid rhoi iddynt *fap* ar lechen a wnai Mair; nage, ond myned ei hun gyda hwy;—cymeryd *poen*."

*Diar*. xxx. 7—9; *Gweddi Agur*.—Mae llawer yn gweddïo rhag tlodi, ond ychydig iawn rhag cyfoeth; ond yr oedd ar Agur ofn y naill cymaint a'r llall. Pa niwed yw i ti fyned yn gyfoethog? 'Rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd!' A ddeuwch chwi i'r capel heddyw, syr? Capel! na, y mae genyf fi rywbeth arall i ofalu am dano, heblaw dyfod i gapel; nis gwn â pha un o fy ffermydd yr ymwelaf gyntaf. Beth yw hyna? Gan y dyn yna, y mae rhyw un sydd yn ei feddwl yn fwy na'r Arglwydd, i roddi gwasanaeth iddo. 'Pwy yw yr Arglwydd?' Beth hefyd, Agur? 'Rhag i mi fyned yn dlawd, a lladrata, a chymeryd enw fy Nuw yn ofer!' Chwi a glywch y cardotyn yn aml yn dyweyd wrth y drws, 'Bendith Dduw arnoch! rhowch gardod i mi.' Beth yw hyny? 'Cymeryd enw fy Nuw yn ofer.' Pa beth, Agur? dyn duwiol fel tydi mewn perygl o wadu yr Arglwydd, a lladrata, a chymeryd enw dy Dduw yn ofer! mi dy warantaf di, na wnei di ddim pethau felly, beth bynag a'th gyfarfyddo. Ni warantaf fi mo honof fy hun, medd Agur. O 'mhobl i, mae ar y dyn duwiol ofn ei gysgod: rhag!

"Y neb sydd yn cael gwraig sydd yn cael peth daionus, ac yn cael ffafr gan yr Arglwydd."—Ië, *gwraig;* nid rhyw yslebog o ddynes a rydd bwmp, a chic, a hergwd i ddyn; na! 'y neb sydd yn cael *gwraig*.' 'A'r wraig, edryched ar iddi berchi ei gŵr.' Rhaid fod y wraig yn dueddol i ysgowlio y gŵr cyn y buasai yr apostol yn dyweyd wrthi, '*Edryched* ar iddi berchi ei gŵr.' Nid rhoi y tafod drwg iddo pan y bydd wedi bod tua'r capel yn lled hwyr, gan ddywedyd, Wel, y cenaw brwnt genych, a welsoch chwithau eich amser i ddyfod adref? Nid ydych yn hudio dim am dana' i, gyda'r plant yma drwy'r nos. Gŵr braf yn wir! Nid fel hyna. Wel, sut ynte? Dywedyd gyda gwên siriol, Wel, fy arglwydd, a ddaethoch chwi? Fy arglwydd, yn wir! arglwydd gwych! Wel, os ydych chwi am fod yn ferched rhinweddol fel Sarah, chwi a elwch eich gwŷr yn arglwyddi. 'Megys yr ufuddhaodd Sarah i Abraham, gan ei alw ef yn arglwydd.' *My lord* fyddai Sarah yn galw Abraham, 'merched yr hon ydych chwi tra fyddoch yn gwneuthur yn dda,' yn debyg iddi hi. A oes genych chwi ddim i'w ddyweyd wrth y gwŷr? O oes! 'Y gwŷr, cerwch eich gwragedd, ac na fyddwch chwerwon wrthynt.' Mae llawer hen ddyhiryn a *leiciai* newid yr adnod yna, a'i darllen fel hyn, 'Y gwŷr *curwch* eich gwragedd, a *byddwch* chwerwon wrthynt.' Mae rhai yn trin eu gwragedd yn ofnadwy y dyddiau hyn: eu cicio nes bydd eu hesgyrn yn clecian fel cregyn cocos. Fe *settla* Duw â'r gwŷr hyn am hyny eto. 'Y gwŷr, cerwch eich gwragedd, ac na fyddwch chwerwon wrthynt.'

"Na thyn gerydd oddiwrth dy blentyn—cûr ef â gwialen."—Y wïalen fedw, debyg gen i. Hwy fyddent yn yr hen amserau yn crogi pobl ddrwg wrth fôn pren bedwen. I beth yr oedd hyny? I ddangos, os esgeulusid defnyddio brig y fedwen yn ol yr anghen, nad oedd dim sicrwydd am ochel ei bôn.

"Gwyn eich byd pan eich gwaradwyddant, ac eich erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog."—Dyna oedd yn peri fod geiriau drwg y gelynion yn erbyn dysgyblion Crist yn troi yn ddiniwed iddynt, a hwythau mor wynfydedig yn nghanol y gwaradwydd,—*celwydd* oedd y cwbl a ddywedid yn eu herbyn. 'A hwy yn gelwyddog.' Ond paham yr ydych *chwi* yn digio cymaint pan ddywedir rhyw ddrygair am danoch? Dyma'r pam; dywedyd gormod o wir y mae y bobl. Y gwir sydd yn tori yr asgwrn.

"Ystyriwch y brain—y mae Duw yn eu porthi hwynt." A welwch chwi mor *grand* yw y brain? Maent yn *shinio* yn y *black cloth* goreu, ac yn cael bwyd heb weithio dim. Mae y ffermwr am eu lladd: Y pethau barus, crawclyd, diddiolch, medd efe, nid ydynt byth yn canu *tune*. Ond y mae y Tad nefol yn gofalu am y gweilch hyn. Dacw yr eneth o forwyn yn myned ar gefn hurtyn o geffyl i'r felin, ac yn myned yn rhy agos i'r gwrych drain, nes y tyllwyd y sach, ac y parodd hyny i beth o'r ŷd syrthio. A oes Rhagluniaeth yn hyna? Oes, yn gofalu am fwyd i'r brain.

"Y mae genym y trysor hwn mewn llestri pridd."—Llestri pridd yw y preg-

ethwyr; ond diolch am mai nid trysor pridd yw eu trysor. O na, trysor *aur* mewn llestri *pridd*.

"Yr un peth a ddamwain i bawb fel eu gilydd."—Y mae'r byd hwn yn debyg iawn i'r *Bay of Biscay;* nis gwaeth gan hwnw pwy fydd yn myned drosto, pa un ai boneddig ai tlawd, ai duwiol ai annuwiol; terfysgu ac ymdaflu y mae ei dònau yn wastad.

Yr ydym yn mawr hyderu y bydd i'r cofnodau hyn fod yn foddion i ddwyn ar gyhoedd lawer ychwaneg o'r cyffelyb sydd, yn ddiau, ar gof a chadw gan liaws o hen gyfeillion Mr. Jones. Yr oedd y fath darawiadau mor gymhwys, neu addysgiadau mor hynod, ac eto mor agos, yn y rhan fwyaf o'i bregethau, fel mai nid yn hawdd y gellid eu gollwng ymaith o'r meddwl ar ol unwaith eu clywed. Mwynheid ei weinidogaeth ddiaddurn, ond blaenllym, gan dduwinyddion mwyaf y cyfundeb. Mae hanes am y gŵr enwog hwnw, y Parch. Thomas Charles, yn ei wrandaw yn pregethu yn y Bala ar y geiriau, "Tithau a gesglir at dy bobl, fel y casglwyd Aaron dy frawd." Sylwai y bregeth fod angeu yn hynod o onest, a threfnus yn ei waith, mai nid chwareu ciprys yr ydoedd; ond casglu pawb yn rheolaidd at eu pobl. "Wel, angeu," medd efe, "beth sydd genyt heddyw, yn dy gwch yn croesi yr afon? Cychaid o feddwon. I le yr äi di â nhw? At eu pobl. Beth yw y cychaid yna sydd genyt? Halogwyr Sabboth. I ba le y mae nhw yn myned? At eu pobl. Pwy sydd genyt heddyw, angeu? O! gweddïwyr Duw; teulu y ffydd; pobl yr hunan-ymwadiad a chodi y groes a dilyn Crist. I ba le yr wyt ti yn myned â nhw? I ba le hefyd ond at eu pobl!" Ar ol darfod yr oedfa, dywedodd Mr. Charles wrtho, yn ei ddull hynaws ef, "A wyddoch chwi beth, John Jones? os oeddych chwi yn dweyd y gwir heno, yr wyf yn meddwl yn siwr fy mod yn dduwiol." "Beth oedd hyny, Mr. Charles?" meddai yntau. "Am fy mod yn sicr pwy yw fy mhobl; ac os caf fy nghasglu atynt, byddaf yn ddedwydd byth."

Byddai yn dra gwahanol arno ar amserau wrth bregethu. Byddai weithiau yn dra thywyll a chaled arno; fel un yn dringo gorifyny serth, ac yn methu, er pob ymdrech, gyrhaedd i'r top; efe yn fyr o roddi, a'r bobl yn fyr o dderbyn. Oedfaon fel hyn a'i pruddhaent ef yn fawr, fel mai o'r braidd y gallai fwyta na chysgu ar eu holau. Yn gyffredin, "os na ddeuai hi," fel y dywedid, efe a roddai i fyny yn dra swta. Cofir am dano unwaith yn Nghapel y Bwlch, Llangelynin, sir Feirionydd, pryd nad oedd y bregeth yn cerdded yn hwylus. "Wel," ebe efe, "Bwlch yw enw y fan yma, onidê? a bwlch yw hi ar fy mhregeth innau heddyw. Gweddïwn." Ond pan y byddai y llewyrch o'r cysegr yn tywynu ar ei ysbryd, byddai yn myned rhagddo yn ddiflin ac yn hyfryd, "fel cerbydau Amminadib;" a phawb o'r gynnulleidfa wrth eu bodd yn gwrandaw arno. Un o'r hen frodyr, yr hwn sydd yn ddiacon parchus, a ddywed mewn ysgrifen,—"Mae yn gof genyf ei fod yn pregethu yn hen gapel Treffynnon, ar noswaith oer iawn yn y gauaf, yn y flwyddyn 1810, oddiar y geiriau hyny, 'A'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes!' Mewn llai na deng mynyd wedi cymeryd ei destun, yr oedd y pregethwr yn y nefoedd. Gyda ei law chwith yn llogell ei wasgod, a'i law ddeheu ar ochr ei ben, aeth dros ddesgrifiadau y drydedd a deugain o *Esaiah*, a *Salm* yr ail ar hugain, gan ganlyn yr Iesu o Bethlehem gyda y Pedwar Efengylwr, yn ei fywyd tlawd a dirmygus

ymlaen at ei chwys gwaedlyd yn yr ardd, a'i groeshoeliad ar y bryn, ac ymlaen wedi hyny at ei esgyniad i'r nefoedd oddiar fynydd yr Olewydd. Yr oedd ei lais fel udgorn, yn dyblu ac yn dyblu, Gogoniant! Coronau filoedd ar ei ben! a'r dagrau yn llifo dros ei ruddiau, a'r holl dyrfa yn cyd-wylo. Yn niwedd yr oedfa, rhoes y pennill hwnw i'w ganu,

> "Mi gana' am waed yr Oen
> Er maint yw 'mhoen a 'mhla," &c.

A dyna lle bu y canu a'r wylo rhyfeddaf: efe â'i benelin ar y pulpud, a'i law dan ei ben, yn canu â'i holl egni, a'r gynnulleidfa yn canu yr un modd, gan ysgwyd ac ymsymud fel y coed o flaen y gwynt. Yr oedd wedi naw o'r gloch pan y daeth i lawr o'r pulpud, a thair awr wedi myned heibio fel mynyd bach, heb neb yn meddwl ei bod yn oer, nac yn cwyno o herwydd meithder; eithr pawb yn teimlo fel y dysgyblion ar fynydd y gweddnewidiad, 'Da yw i ni fod yma—gwnawn i ni dair pabell.' Dyma un o'r oedfaon rhyfeddaf y bûm ynddi erioed; a thybygaf nas gallaf yn nhragywyddoldeb ei hanghofio."

Byddai Mr. Jones yn deall yn ebrwydd pan y deuai yr awel nefol, ac efe a ledai ei hwyliau i'w chroesawu; a mawr fel y llonai ei ysbryd os byddai y gynnulleidfa megys yntau, sef pan, wedi cael teimlad o orfoledd yr iachawdwriaeth, y dadgenid allan y teimlad hwnw yn groew a chyhoedd. Pan ar daith trwy ranau o'r Deheudir, yn un o'i flyneddau diweddaf, daeth i le yr oedd cryn adfywiad ar grefydd. Cafodd oedfa rwydd a siriol, ac ar ddiwedd y bregeth, torodd yr argae ar deimladau amryw o'r gwrandawyr, nes nas gallasent ymattal rhag "clodfori Duw â llef uchel." Yn yr agwedd hòno y gadawodd efe hwy, ac yr aeth, gyda chalon lawen, i dŷ y capel. Gyda hyny dyma y blaenor ar ei warthaf, gan ddyweyd, "Mr. Jones bach, rhaid i chwi ddyfod yn ol i'r capel; yr ydym wedi cyhoeddi cwrdd yr eglwys; a mawr yw ein dysgwyliad am i chwi ddyweyd gair wrthym fel brodyr a chwiorydd yn y fan hon." "Mi a ddywedais ddigon wrthych o'r pulpud," meddai yntau; "gadewch i'r plant yna yn awr fwynhau a gorfoleddu." "O na: ni a wnawn iddynt hwy ddystewi; dewch, dewch, anwyl frawd." Ac fel hyn gorfodwyd Mr. Jones i fyned, yn groes i'w ewyllys, i gadw y *society*. Aeth y blaenor at y naill a'r llall oedd ar y llawr yn seinio moliant, gan sibrwd rhywbeth yn eu clust, ac yr oeddynt hwythau o un i un, mewn canlyniad, yn myned yn ddystaw. Yr oedd Mr. Jones yn y *seat* fawr yn edrych yn dra chynhyrfus ar ysgogiadau y blaenor, gan ddywedyd ynddo ei hun, "Dyna, dyna! a welwch chwi yr hen *extinguisher* acw yn diffodd yr Ysbryd!" Gyda hyn, dyma y blaenor, wedi cyflawni ei orchwyliaeth, yn dyfod at y pregethwr, ac yn ei gyfarch, "Yn awr, Mr. Jones, dyma ni oll yn dawel; dywedwch wrthym yr hyn sydd ar eich meddwl; yr ydym fel *society* yn dysgwyl wrthych." Cododd yntau i fyny, a dywedodd,—

> "Ar y ffordd i uffern dân, ces fy nala;
> Goddefwch imi ddyblu 'nghân, Haleluia!"

A chan roddi ei law ar ei glust, efe a ddechreuodd ganu y geiriau ar yr hen fesur, a elwid gynt yn "Haleluia;" a chyda hyny dyna hi yn llefain ac yn foli trwy y capel, nes nad oedd bosibl dystewi y clodforedd drachefn; ac yno yr arosodd amryw i seinio Haleluia am oriau. "Dyna i chwi *seiat*," ebe Mr. Jones wrth y blaenor; "gwnewch chwi gystal *seiat* a hona, os medrwch."

Yr oedd yn amlwg fod ysbryd Mr. Jones yn ei waith; ni bu un cybydd erioed yn hoffach o arian nag yr oedd efe o bregethu. Pan yn ei afiechyd olaf, cyn iddo ymroi i fyned i orwedd i'w wely, dywedodd wrth gyfaill a ddaethai i ymweled âg ef, "Wel, myned ymaith yr ydwyf." "O chwi a ellwch," ebe hwnw, "fod eto yn hir yn y gornel fel hyn." "Cornel, yn wir!" ebe yntau; "nid oes arnaf eisieu bod yn y gornel: bedd neu bulpud i mi!" Wrth sylwi ar y gair hwnw, "Yr wyf fi yn mawrhau fy swydd," dywedai, "Swydd yn wir, Paul! y cyflog, mi warantaf. Nage, swydd! Dim gair am y cyflog. Swydd, swydd; ac achub rhai o honynt; dyna oedd gan Paul. Byddai llai o ysgafnder a thori cyhoeddiadau, pe byddai pawb o honom fel hyn. Hw! cawod o wlaw a geidw rai pregethwyr gartref. Na, na! dylai y dyn fyned i'w gyhoeddiad pe b'ai hi yn gwlawio dannedd ogau. Ond y mae rhai o honom a allant eto ddyweyd fel Paul, 'Yr wyf fi yn mawrhau fy swydd.' Ho, yr ydych yn cael llawer gyda'r pregethu. Gwir a ddywedi; yr ydym yn cael. Ond hwyrach mai nid fel yr wyt ti yn meddwl. Yr ydym yn cael *yn*, ac nid *am*. Beth yw'r *bags* mawr yna sydd yn cael ei gario gyda chwi ar y ceffyl? Ha! nid lle i gadw ein harian; nid oes ynddo, os rhaid i ti gael gwybod, ond y dillad budron a roddwn o'r neilldu; gellir yn hawdd roddi mewn bys maneg hyny o arian a dderbyniwn. Nid *am*, ond *yn!* Cael gwyneb ein Meistr *yn* y gwaith; dyna ein pleser mwyaf." Ar ei deithiau gweinidogaethol, ni byddai efe yn foddlawn heb i'w lafur ateb dyben daionus. Pan ar gyhoeddiad yn y De, gyda chyfaill iddo, ei gyfaill, wrth glustfeinio, a'i clywodd, un noson, yn dywedyd wrth erchwyn y gwely, "Arglwydd mawr, paid a gadael fy nghyfaill a minnau i fod yn y wlad yma fel llygod, yn difa y cnwd, heb wneuthur dim lles." Pan oedd yr hen forwr a'r pregethwr, y Cadben Williams, o Gaer, unwaith yn Nhreffynnon, efe a grybwyllodd mewn ymddyddan â Mr. Jones, am un gweinidog, Cymro o'i ddechreuad, oedd wedi cael cynnyg ar fil o bunnau o gyflog yn y flwyddyn am fyned i weinidogaethu i le yn Llundain. Mr. Jones a ddywedodd, pan glywodd hyny, "Mil o chwain! cadw enaid yw y pwnc mawr." Arferai wneyd sylwadau mynych am y gwerth a'r pwys o gadw un enaid. Mewn pregeth ar y geiriau, "Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu," efe a sylwai, "Peth mawr yw cadw! Cadw! Mae un enaid o fwy o werth na'r byd i gyd, ac y mae cadw un enaid yn ddigon o dâl am oes o lafur. Mae arnaf ofn, fy mhobl i, fod rhai o honoch yn tristau yr Ysbryd Glân, trwy beidio cydnabod ei law yn cadw trwy y pregethu yma, o eisieu na chaech chwi weled ychwaneg 'yn gofyn y ffordd i Sïon.' A oes gradd o lwyddiant ar grefydd gyda chwi yma? Nac oes, wir; ni ddaeth dim ond dau o newydd i'r eglwys yma er ys misoedd. Beth! y mae hyny yn werth diolch o'r herwydd, yn wir! Dacw long wedi myned o un o borthladdoedd Lloegr i ganol oerni a rhew Môr y Gogledd i bysgota *whales;* yr oedd costau mawr ac amser maith yn ofynol at y fordaith. Ond dyma y llong o'r diwedd yn dychwelyd adref; ac y mae rhywun yn gofyn i'r cadben, 'A ddarfu i chwi ddal?' 'Do,' ebe yntau. 'Pa faint?' 'Dau.' 'Ha! tlawd iawn yn wir; myned yr holl ffordd, a'r holl amser, i ddal dim ond dau bysgodyn?' 'Ië, ond dau *whale* ydynt; nid dau benwag.' Bobl! pe buasai y capel yma wedi ei wneuthur oll o aur a pherlau, a dim ond un enaid yn cael ei gadw yma mewn can' mlynedd, buasai yn *fuilding* digon rhad."

Er mai nid llawer o destunau a phregethau newyddion a fyddai ganddo yn ei flyneddau olaf, byddai yr eneiniad ar yr hen bregethau yn eu gwneuthur yn ystwyth ac yn effeithiol. Mewn cyfeillach â brawd enwog o'r Deheudir, ar ol oedfa yn Nhreffynnon, Mr. Jones a ofynodd am iechyd a helynt hen bregethwr yn y De; yr ateb oedd, ei fod wrthi yn pregethu, ond nad oedd yn llafurio ond ychydig am ddim newydd. "O ai ê," ebe yntau; "yn siwr i chwi, yr wyf fi yn meddwl fod cryn lafur ar hen bregethwyr i gadw yr hen bregethau ag oeddynt wedi eu cyfansoddi, rhag myned ar goll, heb son am wneyd rhai newyddion." Yr oedd efe, a'r hybarch John Davies, Nantglyn, yn rhai anarferol am y blas newydd a geid yn barhaus ar eu hen bregethau, fel nad oedd berygl blino arnynt. Tra, yn gyffredin, y mae y pregethau sydd yn cael eu gyru am flyneddau yn olynol, yn myned o'r diwedd càn syched ag asgwrn, yr oedd *pickings* melus ar eu hen bregethau hwy hyd y diwedd. Nid pregethau wedi eu hystrydebu oeddynt; ond yr oedd rhyw sylwadau newyddion i'w cael ynddynt, yn ol yr amgylchiad; ac yr oeddynt yn gyffelyb i'r pethau byw yn ngweledigaeth Ezeciel, "I'r lle y byddai yr ysbryd i fyned, yr aent; yno yr oedd eu hysbryd ar fyned." Adroddir am Mr. Jones, ei fod, un tro, yn dychwel adref o gyhoeddiad trwy sir Gaernarfon i Gyfarfod Misol ei sir, ac iddo yno bregethu o dan arddelwad neillduol. "Dyma hi," ebe efe ar gyhoedd, yn niddichellrwydd ei ysbryd, "yr hen bregeth! Cefais lawer oedfa dda gyda hi ar y cyhoeddiad yr wythnosau o'r blaen; ac y mae myn'd ar ei phethau eto wedi dyfod adref: diolch i'm Tad nefol!"

Ond nid fel pregethwr yn unig yr hynodid ef: yr oedd efe yn un anghyffredin fel gweddïwr. Byddai yn effro a gafaelgar iawn yn ei gartref gyda'r weddi deuluaidd, fore a hwyr: tystiodd llawforwyn a fu yn ei wasanaeth na welodd hi mo hono, pa drafferth bynag a fyddai, yn esgeuluso yr addoliad teuluaidd. Un o'i hen gymydogion a ddywed, "Ni welais i erioed mo hono yn absennol o'r un cyfarfod gweddi a gynnelid yn y capel, os byddai gartref, ac yn iach; a byddai yno bob amser yn sicr o fyned trwy weddi i'r nefoedd, a dwyn y nefoedd i lawr atom ninnau i'r capel. Fel gweddïwr, nis adnabûm i eto ei gyffelyb, a dyma dystiolaeth y rhai nad oeddynt yn gweddïo eu hunain am dano. Yr wyf yn cofio am un achlysur yn neillduol: yr ydoedd yn wlyb iawn ar adeg cynauaf; ac yr oedd cyfarfodydd gweddïau yn cael eu cadw trwy y wlad ar yr achos. Yr oedd John Jones yn bresennol yn y cyfarfod gweddi penodedig i hyny yn Nhreffynnon; ac, fel arferol, yr oedd yn afaelgar iawn mewn gweddi. Y diwrnod canlynol, fe gaed hin deg, ac felly i barhau. Effeithiodd hyn ar feddyliau y rhai mwyaf gelynol i grefydd yn y dref, nes yr addefent mewn syndod, 'Un rhyfedd iawn yw John Jones yna efo'r gweddïo yma.'" Un brawd yn y weinidogaeth, hefyd, a ddywed, "Yr oedd genyf feddwl mawr am dano fel gweddïwr pan nad oeddwn ond deg a deuddeg oed; ac yn mhen blynyddoedd wedi hyny, byddwn yn edrych arno ef, ac Evan Foulk, a David Cadwalader, fel tri esgob mewn gweddïau: eu cyffelyb mewn gweddi, ni chlywais byth." Mynych, wrth weddïo, y byddai rhyw dywalltiadau grymus o'r uchelder yn disgyn arno ef a'r gwrandawyr: byddai ar gyfryw brydiau megys wyneb yn wyneb gyda yr Arglwydd, nes y byddai y lle yn ofnadwy i gnawd. Hir gofir am yr hwyl a gafodd wrth weddïo ar ddiwedd oedfa yn y Cyfarfod Misol olaf a gafodd. Daeth, yn

ei weddi, o hyd i'r geiriau hyny, "Ar yr hyn bethau y mae yr angelion yn chwennychu edrych," ac a waeddodd, "Pethau! ïe, *pethau!* nid yw yr angelion ddim yn edrych ond ar *bethau*, nac ar ddim bethau ond 'yr *hyn* bethau.' Pethau arfaeth, pethau y drefn fawr, pethau Calfaria! A difai pethau i angelion ydynt. Ië, ïe! y pethau hyn! Y ni a'u pïau! Cadw ninnau, O Arglwydd, i edrych ar yr hyn bethau nes bo yn ddiflas genym edrych ar bob peth arall!"

Yn y cyfarfodydd eglwysig, yr oedd efe yn ddefnyddiol iawn. Yn ol y cyfarwyddyd apostolaidd, byddai, yn y cyfryw gyfarfodydd, yn "rhybuddio y rhai afreolus, yn dyddanu y gwan eu meddwl, yn cynnal y gweiniaid, ac yn ymarhous wrth bawb." Adroddir am dano yn cynnal cyfarfod eglwysig unwaith yn nghymydogaeth Adwy'r Clawdd. Ar ol gweddïo, gwnaeth rai sylwadau bywiog ar ragoroldeb gwir grefydd, a'r pwys o'i meddu. Wedi hyny, cyfarchodd y brodyr a'r chwiorydd, gan ddywedyd, "Wel, fy nghyfeillion, adroddwch ychydig o'ch profiadau crefyddol." Ond nid oedd yno neb yn barod i dori y dystawrwydd os na wnai efe lefaru. "Wel," ebe yr hen weinidog profedig, "pa fodd yr ydych mor ddystaw? Yn siwr i chwi, fe ddaw amser y byddwch chwithau yn hynod o'r parod i adrodd eich profiadau. Yr oedd dyn yn byw yn ein tref ni, saer coed wrth ei gelfyddyd. Sut bynag i chwi, aeth y dyn i fyw i Liverpool, ac yno daeth ymlaen yn y byd: yr oedd ganddo *shop* fawr, a llawer o weithwyr. Fe aeth yn ŵr mor fawr nes yr anghofiodd ei Gymraeg. Rhai o'i hen gymydogion, pan yr elent i Liverpool a alwent i edrych am dano, ac a ofynent iddo yn Gymraeg, Sut yr ydych, Hwn a Hwn. Yntau a'u hatebai yn sarug, '*I can't talk Welsh.*' Ond yn *sâff* i chwi, ryw ddiwrnod, aeth gwreichion i'r *shavings*, a dechreuodd ei *shop* fyned ar dân. Yntau, yn ei gyfyngder meddwl, a waeddodd allan yn yr iaith Gymraeg, 'Tân, tân, bobl anwyl!' Fe ddaw yn amser cyfyngder arnoch chwithau tua gwely angeu acw. Mae pawb—yr annuwiol, y rhagrithiwr, a'r duwiol—yn barod i adrodd eu profiadau y pryd hyny, fel y dyn yn Liverpool gyda ei Gymraeg. Dowch, fy nghyfeillion, adroddwch eich teimladau gyda'r grefydd yma, rhag ofn y byddwch yn edifarhau ar wely angeu oblegid i chwi fod mor ddystaw. Os nad oes genych brofiadau da, y mae modd cael rhai da heno; os nad ydych yn perchen teimladau gwir grefyddol, dyma chwi mewn adeg y mae modd eu cael." Wrth gynghori un eglwys i gariad brawdol, ac yn erbyn enllib a hustyng, dywedai fod yn anmhosibl i neb gyhoeddi beiau pobl dduwiol heb i'r cyfryw lychwino eu cymeriadau eu hunain trwy hyny. "Maent," ebe efe, "yn debyg i ddyn wedi bod yn marcio defaid: mae rhywun wrth ei gyfarfod yn gofyn iddo, 'Sut yr ydych wedi diwyno eich hun gymaint?' 'O!' meddai ynau, 'marcio defaid y bum i, ac nid oes modd gwneyd y *job* hòno, a chadw fy hunan yn lân.'"

Pan y byddai raid gweinyddu ceryddon eglwysig, dangosai efe eiddigedd a gwresogrwydd cryf dros ogoniant Duw, ac anrhydedd yr eglwys. Chwiliai i bob achos mewn modd gonest a diduedd; ni dderbyniai wyneb i wyro barn. Byddai, ar amserau, yn ei eglwys gartrefol, liaws o bethau annymunol i ymdrin â hwynt yn y dyddiau hyny, pan yr oedd y *factories* a'r gweithfaoedd mŵn yn ardaloedd Treffynnon mewn ystâd flodeuog, a'r Gymdeithas Ddirwestol eto heb ymddangos. Ceid yntau yn wastad fel Phinëes, yn cyfodi ac yn iawn farnu, er attal y pla. Bu yn cael ei flino yn fawr gan un dyn a fyddai eilwaith ac eilwaith yn colli ei draed trwy yfed i ormodedd, sef pob tro y ca'i ffawd yn y gwaith plwm. Cawsai ei ddiar-

ddel o'r eglwys amryw weithiau am yr un trosedd; pa fodd bynag daeth i gynnyg ei hun fel aelod drachefn. Dywedodd un o'r blaenoriaid fod y gŵr wedi dyfod yno y noson hòno. "Pwy?" meddai yntau. Enwyd y dyn gan y blaenor eilwaith. "Beth!" medd Mr. Jones, "y dyn sydd yn meddwi bob twll trwodd (*term* adnabyddus gan y mwngloddwyr am dori trwy graig, &c.). Da John bach," gan droi at y dyn, "peidiwch a dyfod yma i'n blino; nid lle i un fel chwychwi sydd yma." Ac ymadael a fu raid i'r dyn yn ddioedi, ac aros "oddiallan" hyd nes y gwelwyd arwyddion o edifeirwch efengylaidd arno. Sylwai weithiau, "Y mae dysgyblaeth eglwysig wrth ei harfer yn iawn, yn debyg iawn i *snuffers*, yn tori pen y ganwyll: mae hwnw yn tori y peth du ymaith, ac wedi hyny yn ei guddio o'r golwg; a'r dyben o hono yw peri i'r ganwyll oleuo yn well." Ond nid hoff waith ganddo mewn un modd oedd ymarfer â cheryddon eglwysig. Gellir meddwl am ambell frawd sydd mewn swyddogaeth grefyddol, nad oes un gorchwyl mor bleserus ganddo ef a dwyn ymlaen ddiaelodiad eglwysig: mae yn llygadgraff ryfeddol i ganfod troseddiadau, ac yn mynu gweini cerydd pan y gwnaethai cynghor y tro, a diarddeliad pan y buasai gorchwyliaeth dynerach yn ateb y dyben yn well. Rhaid i'r cyfryw un, fe dybygid, gael cyfnewidiad mawr ar ansawdd ei ysbryd, onidê nis gallai fod yn hapus yn y nefoedd, heb gael yno drin rheolau, a gweini ceryddon dysgyblaethol. Eithr yr oedd Jones, o Dreffynnon, yn bur wahanol i hyny. Clywyd ef yn cwyno lawer gwaith pan y byddai raid iddo ymdrin â phethau anhyfryd yn y *society*, "Y mae yn beth garw iawn fod yn rhaid i ddyn wisgo, fel hyn, ei fenyg cauad, a chymeryd ei gryman yn ei law, i le fel eglwys Dduw! Mae hyn yn ein hattal rhag myned at waith mwy anghenrheidiol a dymunol o lawer iawn,—sef syllu ar bethau iachawdwriaeth Duw." Pan y byddai wedi cael cyfarfod eglwysig wrth ei fodd,—cyfarfod o gydymddyddan â'r brodyr a'r chwiorydd am y "pethau ynghylch Iesu o Nazareth," byddai yn y teimladau hyfrydaf wedi dyfod adref i'w dŷ; efe a ddyblai ganu ei hoff bennillion yn y gader ddwyfraich wrth y tân, a hyny weithiau am oriau wedi i'r teulu fyned i orphwys.

Yn nghynnadleddau y brodyr mewn Cyfarfodydd Misol a Chymdeithasfaoedd, mynych y byddai ei ddywediadau ffraethion ef yn bywiogi a thrydanu yr holl liaws cynnrychiol. Yr oedd brawd wedi cael ei ddewis yn ddiacon mewn eglwys; a'r diweddar Barch. John Humphreys, Bodffari, yr hwn a fuasai yn cynnorthwyo yr eglwys yn y dewisiad, wrth gyflwyno y brawd i'r Cyfarfod Misol, a ddywedodd fod ganddo, ymhlith cymhwysderau eraill, ddawn i ddyweyd. "Ho!" ebe Mr. J. Jones, "a oes ganddo ddawn i dewi? Yr ydym ni ill dau yn ddigon i siarad." Un tro, yn Nghyfarfod Misol sir Ddinbych, ceisid yn daer gan frawd o'r diaconiaid fyned i Gymdeithasfa dros y sir, ac yr oedd yntau yn nacau myned er crefu yn lled daer arno. Trodd Mr. Jones at y brawd, ac a ddywedodd wrtho, "Yn wir, Mr. ——, gwell i chwi beidio bod yn anufudd rhag i chwi dynu Duw yn eich pen. Mi welais i rai yn gwneyd hyny wrth gydio gormod yn y byd, a nacau gwneyd y peth a fedre' nhw gyda'r achos. Yr oeddwn i un tro mewn helynt arw am geffyl i fyned i'r Deheudir; ac mi a aethum at frawd oedd yn meddu ceffyl i ofyn a roddai efe fenthyg ei anifel i mi, ac y talwn i yn gyfiawn iddo am y benthyg. Ond yr ateb a gefais oedd, 'Dim posib'.' Ond mi gês i geffyl; a thra fum i yn y daith, fe drigodd ei geffyl yntau mewn ffos; ni fuasai ei geffyl o ddim yn marw yn y fan hòno

pe buasai fo gen i. Yr oeddwn, dro arall, yn myned i Gymdeithasfa, ac yn myned heibio i flaenor, yr hwn oedd yn cau adwy yn y clawdd ar fin y ffordd. 'Wel,' meddai efe wrthyf, 'yr ydych chwi yn myned i'r *Sasiwn*.' 'Ydwyf; ac oni fyddai yn well i chwithau ddyfod?' 'O, John Jones bach, 'does dim posib' dyfod.' Ond tra fum i yn y *Sasiwn*, fe dorodd ef asgwrn ei gefn; ac yn ei wely y bu am hir amser. Fe fu raid gwneyd posib' i hyny; ond 'doedd dim posib' myned i'r *Sasiwn*. Gwelwch, os tynwn ni yr Arglwydd yn ein penau, mai helynt fydd hi. Medr ef ladd ein ceffylau, a thori ein hesgyrn, os awn ni yn anufudd." Byddai efe, fel yr oedd ei adroddiadau hyn yn dangos, yn graff ei sylw ar ddygwyddiadau, ac yn fedrus i wneuthur defnydd addysgiadol a chymhwysiadol oddiwrthynt. Er ei fod yn awgrymu mai ceryddon oddiwrth yr Hollalluog am radd o anffyddlondeb i'w achos, oedd yr anffodau a ddygwyddasant i'r ddau frawd yr oedd yn cyfeirio atynt, byddai efe, yn gyffredin, yn dyweyd yn erbyn rhoddi esboniad byrbwyll ar yr achos o ddamweiniau chwerwon. "Yr oedd dyn," medd efe, "wedi tori ei goes. Wel! medd y bobl, yr oedd rhywbeth yn galw am hyny. Peidiwch a son am rywbeth yn galw. Pe byddai i Dduw ateb i bob galw, ni fyddai yr un goes gyfa yn y byd."

Mewn Cyfarfod Misol, unwaith, pan yn annog y swyddogion i fod yn dyner tuag at bregethwyr ieuainc, a'r rhai oedd yn ymgeiswyr am bregethu, dywedodd, "Da chwi, peidiwch a lladd y dynion ieuainc, gan eu cadw o hyd i ddyweyd tipyn oddiar bennod. Tipyn oddiar bennod! dyn a'u helpio! yr ydym ni sydd yn hen yn cael gwaith mawr i ddyweyd tipyn oddiar adnod. Byddwch dyner a gofalus am danynt, rhag i chwi eu dyfetha." Yr oedd efe, a brawd arall, wedi cael eu hanfon gan y Cyfarfod Misol i fyned i gadw cyfarfod eglwysig i fan lle yr ydoedd cryn anghydfod. Dywedodd un o'r aelodau wrthynt, "Mae arnom eisieu i chwi wneyd blaenoriaid i ni." Atebodd Mr. Jones, "Hwy fyddant yn flaenoriaid braf os fy nghyfaill a minnau a raid eu gwneyd nhw." Yr oedd y cwrdd eglwysig y noson hòno yn un tra therfysglyd, ac yr oedd ei deimladau yntau o'r herwydd yn archolledig. Pan y daeth i'w letŷ, yr oedd yno gŵn yn chwyrnu ar eu gilydd. "Dyma i chwi ar y rhai'n," medd efe; "a fuo nhw yn y capel, tybed?"

Ar flwyddyn led wasgedig ar amaethwyr a masnachwyr, pan yr oedd llawer o ariandai yn ffaelu, a'r wlad yn gyffredinol yn cwyno o herwydd cyfyngdra yr amseroedd, efe a wnaeth y sylw canlynol, mewn Cymdeithasfa, gydag effaith mawr:—"O, yr oedd y Brenin Mawr yn gwybod pa sut i'ch trin chwi, bobl. Yr oedd gormod o aur wedi myned i'ch *knapsacks* chwi. Mewn un o'r hen ryfeloedd, yr oedd rhyw *army* wedi cymeryd dinas bur gyfoethog; a pheth a wnaeth y *soldiers* ond llenwi eu *knapsacks* âg aur. Erbyn hyny, yr oedd y baich o aur yn gwneyd iddynt gerdded yn annyben a blinderus iawn; yr oeddynt yn blino yn myned ymlaen, a'r *general* yn methu deall beth oedd arnynt. Ond dyma un o honynt yn syrthio gan flinder, a dyma'r codwm yn gwneyd i'r aur rolio o'r *knapsacks* 'Ho,' medd y *general*, 'mi welaf yrwan beth yw'r mater. *Halt! down with the knapsacks!*' Ac wedi arllwys ymaith yr aur o'r cnapsachau, yr oedd y bechgyn yn myned lawer gwell yn eu blaenau. Yr oeddych chwithau, lawer o honoch, wedi myned i gerdded yn gloff efo'r grefydd yma: blino yn dyfod i'r *seiat*, blino yn darllen y Bibl, blino yn gweddïo. O, medd yr Hollalluog, mi welaf beth yw'r rhwystr. *Halt! down with the*

*knapsacks!* Mi fynaf eich cael i fyned ymlaen yn fwy hwylus tua'r nefoedd.'"

Yr oedd rhyddfreiniad seneddol y Pabyddion yn beth a ofnid ganddo yn fawr iawn, a diau y bu am lawer noson heb gysgu gan ofn a gofid meddwl pan yr oedd *bill* y *Catholic Emancipation* ar droed yn y senedd. Dywedai mewn gweddi gyhoeddus, "Paid a digio wrthym, Arglwydd, am weddïo am gael ein cadw rhag y Papistiaid; y mae arnom eu hofn yn ein calonau." Dygwyddai ei fod un Sabboth y pryd hyny yn y daith berthynol i Gyfarfod Misol sir Fflint, sydd yn Nyffryn Clwyd, sef, Bodffari, Dyffryn, a'r Gellifor, pryd y clywodd fod tri o weinidogion y plwyfau cymydogaethol wedi gwneyd rhyw gyfeiriadau at Eglwys Rhufain, a hyny mewn ffordd o gymeradwyaeth i rai o'i phethau. Y nos dranoeth, yr oedd ganddo oedfa yn nghapel Pentref Llanrhaiadr. Yn nhŷ y capel, cyn yr oedfa, yr oedd pwys ei ben ar ei fraich, a phwys y pen *a'r* fraich ar fraich y gader, ar yr hon yr eisteddai, a phob arwydd o'r prudd-der mwyaf arno. Yn y man, cododd ei ben, a dywedodd, "Y mae nhw yn d'eyd fod Alexander Fawr, ystalwm, yn bengam, a bod eraill yn tybied fod myned yn bengam yn anrhydedd iddyn' nhwthe. Yn wir, yr ydw i yn meddwl fod ene ryw rai yn myned yn bengam yrŵan tua Llundain efo'r Pabyddion yma, ac y mae personiaid ein gwlad ninnau yn dechre myned yn bengam i'w canlyn nhw." Yr oedd tua'r un amser yn lletya un noson yn y Rhewl, yn nhŷ yr hen flaenor enwog, Thomas Parry, Llanrhaiadr; a rhyddfreiniad y Pabyddion oedd ganddo fyth a hefyd yn destun ei ymddyddanion. "Thomas," eb efe, "y mae arnaf ofn mai dyfod i'r Parliament a wna y Papistiaid yma. Yn wir, Thomas bach, os felly fydd, ni fyddai waeth genyf fi mo'r llawer fod yn *Botany Bay* na bod yma." Mewn ymddyddan âg un o'r cyfeillion yn Nhreffynnon, dywedai, "Yn wir, y mae yn well genyf fi fel Ymneilldüwr fod yn rhwym yr un fath a'r llew, na chaniatau gormod o ryddid iddynt hwy y Pabyddion, o herwydd na wyddis beth fydd y canlyniad o hyny, gan eu bod mor sychedig am waed." Yr oedd hanes ystranciau gwaedlyd y Pabyddion yn y deyrnas hon yn amser y frenines Mary, ynghyd â'u llofruddiaethau o'r Protestaniaid mewn teyrnasoedd eraill, yn aros mewn argraff o'r dyfnaf ar ei feddwl; ac yr oedd yn ddiffuant yn ofni mai cam at roddi gwaith drachefn i'r ystanc a'r ffagodau yn Mhrydain oedd gollwng y Pabyddion i mewn i'r senedd. Pe buasai ein hen frawd yn fyw yn awr, mae yn dra thebyg y buasai "ei ysbryd yn cynhyrfu ynddo," yn fwy nag erioed, wrth weled egwyddorion mwyaf hanfodol Pabyddiaeth yn cael eu meithrin a'u taenu, a llawer o'i defodau yn cael eu harfer, gan liaws o weinidogion Eglwys Loegr; ac yn neillduol, wrth ganfod Coleg Pabaidd mawr wedi ei adeiladu yn sir Fflint, a phendefig a'i bendefiges yn y plwyf nesaf i Dreffynnon yn troi at Babyddiaeth, ac yn adeiladu eglwys orwych i'r Pabyddion, yn ei blwyf ef, ar y ffordd rhwng dau gapel i'r Methodistiaid. Yn ddiau, os oedd efe, ac eraill o'r hen frodyr, yn ofni gormod rhag Pabyddiaeth yn eu hamser hwy, y mae llawer o honom ninnau yn ofni rhy fychan rhagddi yn y dyddiau hyn. Y mae y Jesuitiaid yn llythyrenol yn gweithio yn awr yn ein canol, ac y maent yn arfer "pob dichell anghyfiawnder" i lefeinio Cymru â surdoes Rhufain. Deffrown, gwyliwn, a chymerwn rybudd.

Y mae yn dra hysbys i lawer fod Mr. Jones yn cael ei gyfrif yn un o'r rhai mwyaf zelog yn ei oes dros Galfiniaeth. Yr oedd yn dal eiddigedd tanbaid dros "y Pum Pwnc,"—Etholedigaeth bersonol a thragywyddol

—Prynedigaeth neillduol—Galwedigaeth effeithiol—Cyfiawnhad trwy gyfrifiad a thrwy ffydd—parhad mewn gras. Ac wrth eu hamddiffyn hwy, mynych y bu yn ymosod yn ffyrnig o'r pulpud ar y gyfundraeth Arminaidd. Yn mhen ychydig flyneddau ar ol iddo ef ddechreu pregethu, y dechreuodd y Wesleyaid bregethu yn Nghymru; ac achlysurodd eu dyfodiad hwy ddadleuon poethion yn y Dywysogaeth, yn Ngogledd Cymru yn enwedig, am flyneddau lawer. Yr oedd llawer o gamddarluniadau yn cael eu gwneuthur o'r ddwy ochr. Cyhuddid y Calfiniaid o ddal gwrthodedigaeth ddiammodol, yn gystal ag etholedigaeth ddiammodol; a chyhuddid y Wesleyaid o ddal cyfiawnhad trwy weithredoedd, ac nid trwy ffydd yn unig; ac fel hyn meithrinwyd teimladau digon anghysurus yn y naill tuag at y llall. Nid oedd modd i un o ardymher brwd a bywiog Mr. Jones ddianc yn rhydd o effeithiau y ddadl fawr. Iddo ef yr oedd ei holl syniadau athrawiaethol yn hunandystiol (*self-evident*), ac yr oedd yn credu yn onest a chydwybodol fod gogoniant ei Dduw yn rhwym wrthynt. Gallasai ddyweyd yn ddiffuant am bob pwnc a bregethid ganddo, "Credais, am hyny y lleferais." Nis medrai y brodyr Wesleyaidd oedd yn gydnabyddus âg ef yn bersonol, byth ddigio wrtho; canys gwyddent mai un cywir o galon ydoedd: os nad allent ei farnu yn ddyn doeth, addefent yn rhwydd ei fod yn ddyn gonest. Rhai, yn wir, a ymddygasant yn dra annheilwng tuag ato. Un pregethwr Wesleyaidd a gyhoeddodd mewn llyfr argraffedig fod John Jones, Treffynnon, wedi dyweyd fod uffern wedi ei phalmantu â phenau babanod! Ni bu erioed rith o sail i'r fath haeriad erchyll, yr hyn hefyd a ddywedwyd mewn print am eraill o hen bregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd. Teimlodd Mr. Jones yn fawr o'r herwydd; a byddai ei waed yn berwi bob tro y sonid wrtho am y cyhuddiad. "Myfi ddyweyd y fath beth!" meddai: "na ddo erioed! buaswn yn hurtyn ffol i son dim am balmantu uffern, a minnau yn darllen yn fy Mibl mai pwll diwaelod ydoedd; a phe buaswn ryw dro yn meddwl am balmantu uffern, nid â phenau babanod, druain, y buaswn yn gwneyd hyny, canys y mae yn rhy hoff genyf am fabanod bach, ond â phenglogau pregethwyr sydd yn dyweyd celwydd." Gwelsom gais i daflu yr enllib annaturiol hwn yn erbyn ei goffadwriaeth yn mhen blyneddau ar ol ei farwolaeth, ond heb gynnyg dwyn ffaith o un math i'w brofi!

Nid ydym yn dwyn y pethau hyn ymlaen, er mwyn adgyfodi hen ymrysonau, nac o dan y teimlad lleiaf o anfrawdgarwch tuag at y cyfundeb Wesleyaidd yn Nghymru; canys yr ydym yn barod i roddi "deheuddwylaw cymdeithas" i'w weinidogion fel ein brodyr sydd "yn cyfatal y Pen;" ac y mae yn hoff genym ddeall fod rhai o honynt yn mysg ysgrifenwyr ffyddlonaf y "Traethodydd." Ond buasai erthygl am yr hen barchedig John Jones, o Dreffynnon, yn anmherffaith a diffygiol heb y crybwylliadau blaenorol; ac y mae genym eto ddau hanesyn i'w hadrodd am dano mewn cysylltiad â hynyma, y rhai a dueddant, dybygem, i beri i'n cyfeillion Wesleyaidd feddwl yn dda am galon yr hen Galfiniad dewr, beth bynag a dybir ganddynt am ei farn. Y tro diweddaf y bu yn Neheudir Cymru, yr oedd yn nechreu y cyhoeddiad yn rhoddi aml gernod i'r athrawiaethau Arminaidd; ond wedi dyfod yn agos i'r ardaloedd hyny yn sir Aberteifi lle y mae y Sosiniaid yn dra lliosog, pregethai am Dduwdod Crist â'i holl egni, gan ddywedyd yn ddifrifol am gyflwr tost y rhai a'i gwadent. Gofynodd ei gydymaith iddo, "Pa le y mae y Wesleyaid genych

yn awr? nid ydych er ys dyddiau yn pregethu dim yn erbyn eu hathrawiaeth hwy." Atebodd, "Y Wesleyaid! William; mae y Wesleyaid yn fendigedig wrth y rhai'n; mae ganddynt hwy Grist yn sylfaen; ond nid oes gan y giwed yma yr un Cyfryngwr yn eu crefydd." Mewn amaethdŷ cyfrifol yn sir Fflint, lle y mae "llety fforddolion" tra adnabyddus gan bregethwyr y Methodistiaid, yr oedd perthynas i'r teulu, hen chwaer oedranus oedd yn aelod gyda y Wesleyaid, yn gorwedd yn glaf, pan y daeth Mr. Jones un noson i ymweled â hwy. Wedi iddi hi ddeall ei fod ef yno, hi a amlygodd ei dymuniad awyddus am iddo ddyfod i weinyddu iddi Swper yr Arglwydd. Aeth gŵr y tŷ, yr hwn oedd flaenor gyda y Methodistiaid, i ddadgan ei deisyfiad wrth Mr. Jones, ac nid heb beth petrusder, oddiar wybod ei fod mor wrthwynebol i ddaliadau y Wesleyaid. Gofynodd Mr. Jones yn mha le yr oedd hi yn aelod, ac wedi cael atebiad, gofynodd drachefn, "A ydych chwi yn meddwl ei bod hi yn un sydd yn ofni Duw?" "O ydyw," ebe gŵr y tŷ; "nid oes genyf ddim ammheuaeth am ei chrefydd." "O'r goreu," ebe Mr. Jones, "mi rôf ei chymun iddi; mae yn well genyf fi eto Wesley duwiol na Methodist Calfinaidd annuwiol."

Er y lle mawr a roddai yn ei weinidogaeth i rad ras penarglwyddiaethol Duw, byddai yn wir ofalus rhag ei osod yn obenydd i ddiogi, neu yn eisteddfa i benrhyddid; ac, ar y cyfan, odid y ceid yr un pregethwr mwy ymarferol nag ef. Gwelir anghreifftiau o hyny yn y cynlluniau a roddasom o'i bregethau. Nid oedd neb a ddywedai yn fwy llym, ac yn fwy eglur yn erbyn pechodau. Dynoethai anghyfiawnder, llŵon a rhegfeydd, halogi Dydd yr Arglwydd, a chyffelyb feiau. Mynych y dywedai wrth ei wrandawyr am beidio tori y Sabboth trwy dwymno y pobtŷ, cario dwfr, glanhau esgidiau, ac eraill orchwylion tebyg ar y dydd sanctaidd; ac ychwanegai, "Ai pregethu, meddwch chwi, ydyw peth fel yna? Ië, siwr; a pheidiwch chwi a gwneyd, mi beidia' innau a dyweyd." Mewn cysylltiad â hyn, gallwn nodi ei fod ef ei hun, mewn modd arbenig, yn "galw y Sabboth yn hyfrydwch, a sanct yr Arglwydd yn ogoneddus." Pan yr oedd efe un boreu Sabboth yn myned i gadw oedfa i Helygen, dywedai wrth hen gyfaill iddo, "Thomas, yr oeddwn i yn gweled ceryg yr ystryd heddyw yn hardd, fel wedi eu cysegru i'r Arglwydd. Mae y meusydd, y coed, y dail, y cymylau, a phob peth oddiamgylch yn llawer harddach yn fy ngolwg ar y Sabboth, nag ydynt ar un diwrnod arall!"

Nis gellir rhoddi ond desgrifiad anghyflawn o Mr. Jones fel pregethwr teithiol, heb grybwyll fod y geiriau hyny yn ddarluniadol iawn o hono ef, "Y cyfiawn a fydd ofalus am fywyd ei anifel." Un hen forwyn, a fu yn ei wasanaeth am rai blyneddau, a ddywedai, "Ni byddai fy meistr, wedi dyfod adref o'i deithiau, byth yn adrodd pa fath luniaeth a gawsai ef ei hun, ond fe ddywedai yn union os byddai y ferlen felen wedi cael chwareu teg." Unwaith, mewn man yn y Deheudir, yr oedd efe a brawd o bregethwr o sir Feirionydd yn cydgyfarfod ar yr un oedfa. Aeth y brawd hwnw i bregethu yn gyntaf, ac wrth ei wrandaw meddyliai Mr. Jones (canys efe ei hun a adroddodd hyny wrth gyfaill i ni), "Pw! yr wyt ti yn pregethu yn salw y tro hwn: os na phregethaf yn well na hyna, mi fyddaf yn wael yn wir." Wel, efe a aeth ati ar ol ei frawd; ond os gwan gynt, gwanach gwedi; yr oedd ei feddwl yn dywyll, a'i ymadrodd yn afrwydd. "Beth yw hyn?" medd efe ynddo ei hun; "mae rhyw ddrwg yn y fan yma; ni chefais oedfa càn galeted er pan ddaethum oddicartref." Efe a brysurodd

i roddi yr Amen mor ebrwydd ag y gallai; ac a ddywedodd wrth ei gyfaill, "Mae yn rhaid i ni fyned i'r ystabl i edrych beth sydd yn dyfod o'n ceffylau ni;" ac ar frys âg ef tuag yno. "Aroswch, ŵr da," meddai prif-flaenor yr achos yn y lle; "i ba le yr ydych yn myned ar y fath frys?" "I'r ystabl, i weled pa fodd y mae ar ein ceffylau ni." "Ho, aroswch, mae hi yno yn dda iawn." "Wel, mi fynaf fi weled eich da iawn." Erbyn myned yno, yr oedd y ddau anifel gwirion â'u penau tua'r drws, heb damaid iddynt yn y rhesel. "Dyna," eb efe, gyda phwys, wrth y blaenor, "mae Duw yn delio â chwi o'r pulpud, fel yr ydych chwithau yn delio â'n ceffylau ni yn yr ystabl. Pa fodd yr ydych yn dysgwyl cael o'r pulpud, a chwithau heb roi i'r ystabl?" "Peidiwch myned ma's o'ch *temper*, ŵr da," ebe hwnw; "mae digon o wair yn y cae draw." "Yn y cae draw, yn wir! nid yw gyddfau ein ceffylau ni ddim yn ddigon o hyd i gyrhaedd oddiyma i'r cae draw; gwair yma yn y rhesel sydd yn eisieu. Nid rhyfedd ei bod yn galed yn y pulpud, gan ei bod yn galed yn yr ystabl." Mae yn debyg mai clywed hyn o hanesyn am Mr. Jones a fu yn achlysur i un brawd ganu y llinellau canlynol, y rhai y byddai yn dda i bob diacon eu dysgu allan:—

"Os da yw genych am y gwŷr sy'n efengylwyr hyfryd,
O cofiwch chwi, mae'n anghenrhaid, am eu hysgrubliaid hefyd.
Os chwi ni wnewch yn gyfiawn drin anifail blin y genad,
Nid syn, o dan ei bregeth ef, os cewch y nef yn nghauad.

Os oer fydd lle'r creadur mud, heb wair nac ŷd yn borthiant,
Pa ryfedd os cewch oedfa wael, heb wres, na mael, na moliant?
Gwrandewch, a gwnewch yn fawr o'r march, oddiar wir barch i'w berchen;
Rhowch iddo ddigon ar bob tro i fyn'd i'w fro yn llawen."

Er fod yn hawdd gweled oddiwrth lawer o'r adroddiadau blaenorol, fod Mr. Jones yn ŵr bywiog ei ysbryd, sydyn ei dymher, a thra brwdfrydus gyda pha beth bynag yr ymaflai ei law ynddo i'w wneuthur, nid yw y darllenydd i gasglu mai dyn o feddwl anwadal a chyfnewidiol ydoedd: nid un o'r tylwyth oriog, ansefydlog, na wyddoch chwi pan gyda hwy y fynyd hon pa le y cewch chwi hwy y fynyd nesaf; eithr wedi unwaith dderbyn argyhoeddiad barn am unrhyw beth, efe a weithredai yn ddi-ildio yn ol hyny, heb falio dim am y canlyniadau. Fel un anghraifft o hyn, gellir nodi ei benderfyniad pan y rhoes i fyny ysmocio; canys yn aml y mae peth bychan yn ddeongliad ar egwyddor fawr. Am ryw gyfran o'i oes, bu yn arfer mygu tobacco; ond oddiar ryw argyhoeddiad meddwl, efe a roddodd yr arferiad heibio. Wedi rhoddi i fyny yn llwyr ymhel â'r myglys, chwyddodd ei goesau; a dywedid wrtho, ac nid oedd yntau yn gallu barnu yn amgen, mai ei waith yn peidio ysmocio oedd wedi effeithio i beri hyny. Edrychodd yr hen bregethwr yn dra sobr ar ei goesau chwyddedig, ac a ddywedodd, "Wel! chwyddwch chwi; yr wyf fi yn dyweyd wrthych na chewch chwi chwiffiad byth!" A bu raid i'r coesau, yn gystal a phob aelod arall o'i dŷ dynol, foddloni i'r penderfyniad.

Yr ydym wedi cymeryd eisoes lawer mwy o le nag a dorasom allan i ni ein hunain wrth ddechre ar hyn o erthygl, a rhaid i ni bellach dynu yn frysiog at y diwedd, gan adael heibio ar hyn o bryd amryw hanesynau eraill oedd genym, a'r rhai a allasent, hwyrach, roddi help chwanegol i ddangos nodweddiad cyffredinol Mr. Jones. Ond nis gallwn ymattal rhag rhoddi eto un hanesyn o'r fath hynotaf am dano, yr hwn a adroddwyd yn fynych ganddo ef ei hun, a phob amser yn dra effeithiol i'r gwrandawyr.

Yn yr amser yr oedd y casgliad dimai yr wythnos, neu chwe' cheiniog a dimai y chwarter, ar droed at adeiladu capelau gan y Methodistiaid yn Ngogledd Cymru, a phan yr oedd efe yn byw yn Nghaergwrle, fe ddygwyddodd iddo gychwyn i Gymdeithasfa oedd i'w chynnal yn Machynlleth, a chydag ef ryw swm o arian, tua 14*p*., meddir, o gasgliad at y capelau, wedi eu hymddiried iddo i'w cyflwyno i'r brodyr cynnulledig yn y Gymdeithasfa. Yr oedd yn myned trwy sir Feirionydd, ac yr oedd ei daith yn ei arwain dros Fwlch-y-groes, ffordd anghysbell, disathr, ac anhygyrch, yn enwedig yn y dyddiau hyny, rhwng Llanuwchllyn a Llanymowddwy. Yr oedd iddo lechweddi trymion, a mynydd oerllyd a maith. Cyn iddo gychwyn y mynydd, troes i dafarn yn Llanuwchllyn, i gael lluniaeth iddo ei hun a'i anifel. Gydag iddo fyned yno, torodd dyn, oedd yn eistedd yn y dafarn, i ymddyddan âg ef, a chafodd allan yn lled fuan y ffordd yr oedd y gŵr dyeithr ar fedr ei theithio; ac wedi ei hysbysu o hyn, llithrodd i ffordd, heb fynegu i ba le. Yn mhen enyd, aeth John Jones hefyd i ffordd, gan ddringo yn araf i fyny y rhiwiau. Wedi iddo gyrhaedd i'r mynydd, ac eisoes ymhell oddiwrth dŷ a thwlc, heb greadur byw yn y golwg ond defaid y bryniau, beth a ganfu, encyd o'i flaen, ond y gŵr a welsai yn y dafarn. Adnabyddodd y dyn yn ebrwydd, a hyny yn fwy oblegid fod ganddo gryman wedi ei wisgo, yn ol yr arfer, â rheffyn o wair. Yr oedd y dyn yn rhyw gerdded yn bur araf, gan edrych oddiamgylch, megys i ymholi a oedd neb dynion yn agos, a chan edrych yn ol i weled a oedd y pregethwr yn nesau; ac yn y cyfamser, efe a ddyosgodd y cryman o'i wisg.

Pan welodd John Jones hyn, a sylwi hefyd fod y dyn yn llercian yn annyben, fel un â rhyw amcan ganddo heblaw cyrhaedd pen ei daith, ac efe, am ben hyn oll, yn canfod unigrwydd arswydol y lle, efe a deimlai iasiau o fraw yn ei gerdded, ac a lwyr gredodd fod y dyn yn amcanu gwneyd niwed iddo,—ei yspeilio o'r arian oedd gydag ef, ac fe allai ddwyn ei fywyd oddiarno. Parodd hyn, fel y gellid meddwl, drallod ac ing i'w fynwes, ac ni wyddai pa beth i wneyd. Yr oedd bellach ymhell o bob cyfannedd; a meddyliodd nad oedd wiw iddo droi yn ol, canys yr oedd yn teimlo mai ei ddyledswydd oedd wynebu tua Chymdeithasfa Machynlleth. Ymroes gan hyny i weddïo ar Dduw ei einioes, gan ddadleu âg ef, "O! Arglwydd, o herwydd dy achos di y daethum i i'r lle arswydus hwn; ni fuasai genyf un neges i ddyfod oddicartref hyd i'r fan yma ond amcan at gael teyrnas yr Iesu yn fwy ymlaen. Ac heblaw hyny, tydi bia yr arian a ymddiriedwyd i mi, ac y mae dy bobl yn dysgwyl am danynt i wasanaethu dy achos. Gan mai tydi a'm dygodd i'r ffordd yma, yr wyf yn hyderu na adewi mo'nof yn ddiamddiffyn." Yn debyg i hyna yr ymdrechasai efe â Duw. A thra yr oedd efe fel hyn yn gweddïo o eigion ei enaid, yr oedd yn dynesu at y dyn a'r cryman, yr hwn oedd bellach yn noeth, ac yn agored i waith.

Ond cyn iddo ddyfod ato yn gwbl, efe a glywodd sŵn traed ceffyl yn dyfod ar duth ar ei ol, ac wedi troi ei wyneb, efe a ganfu ŵr boneddig ar farch glas agos ar ei sawdl, a'r hwn a ddaeth i'w ymyl tua'r un amser ag y goddiweddodd efe y dyn arall. Bellach teimlodd John Jones yn hyderus fod iddo loches yn nghysgod y boneddwr, a chan symbylu ei anifel, prysurodd i'w ganlyn, yr hyn, pan welodd y dyn â'r cryman, efe a droes ei wyneb ffordd arall, gan droi ar hyd cefn y mynydd tua Llanwyddyn, ac amwisgo y cryman drachefn yn y rheffyn gwair. Ymdrechodd y pregethwr dynu

ymddyddan â'r gwr boneddig. "A ydych chwi yn myned ymhell y ffordd yma, syr?" Ond ni chafodd un ateb. "Pa faint o ffordd, syr, sydd rhyngom a Llanymowddwy?" Eto nid ydoedd ateb. Tybiodd erbyn hyn y gallai y boneddwr fod yn Sais, a gwnaeth ymdrech i ofyn iddo gwestiwn yn Seisneg. "*It is cold, sir, on the mountain; is it not?*" Ond bu yn aflwyddiannus y tro hwn eto; nid oedd y boneddwr yn cymeryd arno ddeall na Chymraeg na Seisneg: felly mewn dystawrwydd y cyd-deithient nes myned dros y Bwlch, a dyfod i wlad fwy cyfannedd. Yn rhywle, wedi dyfod i dir diogel, fe gollwyd y gŵr boneddig yn ddisymwth a diarwybod. Parodd yr amgylchiadau hyn i'r pregethwr ddechreu meddwl pa beth a allai hyn fod. Ac wrth fyfyrio ar y cwbl, daeth i benderfyniad sicr iddo ei hun mai Duw a anfonodd ei angel, ac a'i gwaredodd o law y gŵr gwaedlyd a wyliasai am ei hoedl.

Aeth i Fachynlleth; ac wrth gyflwyno yr arian i'r brodyr yn y Gymanfa, fe'u hysbysodd pa mor ddyledus oeddynt i ragluniaeth y Nef am danynt, gan adrodd iddynt yr holl amgylchiadau a goffawyd: ac a ychwanegodd, "Mor ynfyd oeddwn i! myned i siarad âg angel Duw am yr hin, ac am y ffordd! Yr oedd yn sŷn ganddo fy nglywed. D'asai lwc i mi ddyweyd gair wrtho am Iesu Grist, mi waranta' y buasai efe yn siarad. Ni roddais i i'r angel destun cymhwys i ymddyddan arno, ac am hyny yn ddiammhau y bu efe mor fud!"

Mae ein darllenwyr, wrth gwrs, at eu rhyddid i ffurfio y syniad a fynont am gynnwysiad rhyfedd yr adroddiad hwn: dyna yr hanes iddynt hwy fel ei mynegwyd gan Mr. Jones yn Machynlleth, ac fel ei hadroddwyd ganddo ef ei hun wrth amryw sydd eto yn fyw. Os derbynir ei ddeongliad ef am ei gydymaith boneddig ar y ceffyl glas, nid oes yn hyny, dybygem ni, ddim yn groes i egwyddorion llywodraeth Duw, nac i rediad cyffredinol yr Ysgrythyrau. Mae pawb Cristionogion uniongred yn credu yn ngweinidogaeth angelion "yn y dyddiau diweddaf hyn;" ac yn y fath amgylchiad anarferol ag yr oedd Mr. Jones ynddo y pryd hyn, paham y byddai yn anghredadwy genym farnu y gall eu gweinidogaeth fod yn weledig?

Nid oes genym, bellach, ond pasio ymlaen i gymeryd golwg arno yn ei gystudd diweddaf. "*All is well that ends well;*" ac yn dda odiaeth y dybenodd llafur crefyddol y gweinidog ffyddlawn hwn. Sabboth yr 28ain o Chwefror, 1830, y pregethodd am y tro olaf yn ei gartref yn Nhreffynnon, pan y llefarodd mewn modd bywiog ac effeithiol oddiar 2 *Cor.* iv. 17: "Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol, yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni." A'r nos Sabboth canlynol, sef y 7fed o Fawrth, y pregethodd yn Nhrelogan, gerllaw Newmarket, sir Fflint, am y tro olaf o gwbl, oddiar *Heb.* xi. 5; "Trwy ffydd y symudwyd Enoch, fel na welai farwolaeth; ac ni chaed ef, am ddarfod i Dduw ei symud ef; canys, cyn ei symud ef, efe a gawsai dystiolaeth ddarfod iddo ryngu bodd Duw." Dychwel adref dranoeth, gan deimlo ei hun yn boenus a llesg iawn; a dywedodd wrth gyfaill ddydd Mawrth, "Yr wyf wedi pregethu pregeth fy anghladd nos Sabboth diweddaf. Y mae amser fy ymddattodiad wedi nesâu; ac yr wyf yn teimlo gradd bychan o 'chwant i'm datod, a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw.'" Bu amtua phum' mis yn gwanhau yn raddol; ond yr oedd ei enaid yn gryf er fod ei gorff yn nychu. Yr oedd y Parch. John Elias wedi dywedyd am dano un tro, "Y mae John Jones, Treffynnon, yn ddigrif yn ei fywyd, a marciwch

chwi y bydd efe yn ddigrif hefyd wrth farw." Ac felly y bu. Yr oedd efe, yn holl ystod ei anhwyldeb, ac felly yn ei oriau olaf, fel y cawn weled, yn gymhwys fel efe ei hunan, mor rhwydd a gonest, ac mor wreiddiol a ffraeth ei eiriau, ag erioed. Dywedodd un brawd wrtho, "Y mae yn dda iawn eich bod wedi cael gafael ar grefydd cyn dyfod i'r amgylchiad hwn." Atebodd yntau, "Crefydd a ymaflodd ynof fi yn gyntaf, ac onidê ni buaswn i byth yn ymaflyd ynddi hi. Y mae yr Arglwydd, o'i fawr drugaredd, wedi achub fy enaid er ys tua thair a deugain o flynyddoedd." Brawd arall a ofynodd iddo pa beth oedd ei olygiad yn bresennol ar yr athrawiaeth y bu yn ei phregethu; a'i ateb oedd, "Nid lle i newid pethau sylweddol am sothach sydd yn nglyn cysgod angeu; y mae 'r farchnad yn codi ar y da yma."

Yr oedd y Gymdeithasfa flyneddol yn cael ei chynnal yn Nhreffynnon ar yr 8fed a'r 9fed o Fehefin; ac er ei fawr wendid corfforol, yr oedd ei ysbryd yn adfywio drwyddo wrth feddwl am y Gymdeithasfa; ac, yr ail ddydd, yr oedd raid iddo gael myned i'r capel am y tro olaf, a dygwyd ef mewn cader gan bedwar o ddynion i'r gynnadledd eglwysig yn y bore. Dywedodd yno fod yn dda ganddo gael hyn o gymdeithas ei frodyr eto, am mai eu hachos hwy oedd ei achos yntau, ac mai yn eu llwyddiant hwy yr oedd ei lwyddiant yntau. Mewn atebiad i ofyniad ei hen gyfaill, y Parch. John Elias, yr hwn oedd yno yn bresennol, dywedodd mai o'r athrawiaeth a bregethasai yr oedd yn sugno ei holl gysuron, a'i fod yn cael mwy o fêl nag o ddiliau ynddi, ac na wyddai efe pa fodd yr oedd y rhai hyny a gredent yn wahanol iddi yn cael dim cysur; ac ychwanegodd, "Genyt ti y mae geiriau y bywyd tragywyddol." Dywedodd hefyd nad oedd yn mynegu i'w frodyr yr ochr ddu, sef ei wendid, ei wasgfeuon, a'i ofnau. "Na phoenwch lawer gyda hwynt, Mr. Jones," ebai Mr. Elias, "am y byddant oll wedi darfod yn fuan, ac wedi myned ymaith gyda y llif."

Dywedodd un tro wrth ei briod, "Y mae tymmor y dyweyd wedi darfod, ond y mae genyf hyn i'w adrodd, fy mod wedi rhoi fy enaid i'w gadw i Iesu Grist er ys rhagor na deugain mlynedd; ac wedi hyny, rhoddais chwithau a'r plant, a chefais ryw arwyddion o foddlonrwydd i fy meddwl ei fod yn eich derbyn; ac yn bresennol nid oes genyf ddim i'w wneyd ond marw." Wrth ei ferch dywedodd, "Wel, Mary bach, nid oes gan dy dad ddim i wynebu marw ond gwaed y groes; ac y mae hyn yn ddigon: dyma wledd braf; gwledd o basgedigion breision a gloew-win puredig." Bryd arall, dywedodd wrthi, "Amser prysur ydyw hi arnaf fi yn bresennol, Mary bach; onidê? Nid peth bach genyf ydyw meddwl eich gadael chwi, a gadael yr eglwys yma. Y mae gadael yr eglwys gymaint ar fy meddwl i ag yw eich gadael chwithau. Ond y mae fy mod yn adnabod Pen yr eglwys yn ddigon i gynnal fy meddwl i fyny yn yr amser prysur yma; ac y mae yn ddigon i wynebu angeu a barn."

Y Sabboth olaf y bu fyw, a'r hwn oedd y diwrnod cyn ei farwolaeth, gofynodd am i rai o gantorion y capel ddyfod i ganu iddo am yr iachawdwriaeth. Daeth tri o honynt cyn oedfa yr hwyr; ac erbyn hyny yr oedd yntau yn ei deimlo ei hun yn rhy wan i allu goddef iddynt ganu yn ei ystafell, ond efe a anfonodd atynt i ganu ychydig ar lawr yn y gegin. Hwythau a wnaethant hyny. Canasant yn gyntaf yr hen bennill,

"Tybygwn pe b'ai 'nhraed yn rhydd
O'r blin gaethiwed hyn,

Na wnawn ond canu tra fawn byw
Am ras Calfaria fryn."

Yr oedd hwnw yn dant oedd yn cyffwrdd megys â llinynau ei galon; ymddeffrôdd, adfywiodd, ac ymgododd ar ei eistedd yn ei wely, dan droi ei draed i'r llawr, fel pe buasai yn chwennych myned i lawr i ganu atynt; ac a ddywedodd, mewn dull moliannus, "O Galfaria anwyl! dyma'r lle yr achubwyd fy mywyd i; mae yma destun i ganu am dano i dragywyddoldeb; ac mi a gâf ganu yn fuan iawn; O câf, câf!" Canasant bennillion eraill, ac yntau yn ei wely yn cydganu â hwynt â'i holl egni. Dywedodd un wrtho, "Mi a ddywedaf wrthynt am dewi rhag i chwi wneyd eich hun yn salach." Ond yn lle hyny, yr oedd raid iddynt ddyfod i fyny i ganu yr un pennillion drachefn, ac yntau, tra parhaodd ei nerth, yn cydganu a gorfoleddu. Pan yr oeddynt yn cychwyn i fyned i'r oedfa, gofynodd iddynt ganu ychydig eto am yr iachawdwriaeth; a hwythau a ganasant ei bennill hoffaf ef,

"Mae 'r iachawdwriaeth fel y môr," &c.

Ac yntau a ail ddechreuodd ganu, gan guro ei ddwylaw teneuon, a dywedyd, "O diolch byth! dyma iachawdwriaeth ddigonol! mae yn ddigon i'm bath i!" Yr oedd yn deall y Sabboth hwnw nad oedd ond ychydig oriau rhyngddo a chael myned i gadw y Sabboth tragywyddol gyda Duw a'r Oen, a dywedodd wrth ei anwyl wraig, "Wel, wel! Ann anwyl! dyma ystori yr Amwythig bron ar ben; dyna oedd ei hyd hi yno, 'Hyd oni wahano angeu.' Yr wyf yn benderfynol fy mod wedi tynu oddiam danaf y waith olaf am byth; ond nid oes dim niwed; bydd y tro yn elw i mi; a chofiwch chwithau, Ann bach, mai 'Tad yr amddifad, a Barnwr y gweddwon yw Duw yn ei breswylfa sanctaidd.'" Dywedodd wrthi drachefn, "Wel, Ann, buom yn cydofyn am amynedd at amryw bethau; a chawsom le i feddwl fod yr Arglwydd yn ein gwrandaw; ond y mae genym fater newydd heddyw, sef, gofyn am amynedd i farw. 'Caffed amynedd ei pherffaith waith.'" Tua'r un amser, gofynodd ei ferch iddo, "Pa fodd yr ydych yn awr, fy nhad?" ac atebodd yntau, "Sâl, Mary, ac yn iach hefyd: dyma, dyma i ti farw! Y mae dy dad yn cael marw dan ganu!" Yna, tra yr oedd pawb eraill yn yr ystafell yn wylo, yr oedd efe, gyda llais bloesg, yn ceisio canu drachefn ei hoff bennill, "Mae 'r iachawdwriaeth fel y môr," &c. Ac fel yr oedd efe yn dyblu y drydedd linell amryw weithiau drosodd, "Mae ynddi ddigon, digon byth," dywedodd un o'r chwiorydd, "'I'r truan ac i'r gwan,' onidê John Jones bach?" "Ië, ïe!" meddai yntau, "a thrueiniaid a'i pia hi hefyd!"

Bore dydd Llun, yr oedd yn amlwg fod cortynau ei babell bridd yn cael eu dattod yn brysur, a bod yr enaid byw ar fyned at Dduw yr hwn a'i rhoes. Ond yr oedd efe hyd y diwedd yn meddiannu ei lawn synwyr, ac yn gysurus mewn "tangnefedd heddychol." Yr oedd yn ei deimlo ei hun megys hen ryfelwr oedd wedi ennill llawer brwydr trwy waed yr Oen, ac fel un oedd ar y pryd yn ennill y frwydr olaf, ac i fyned, yn mhen ychydig fynydau, i fyw byth ar ffrwyth yr yspail. Fel hyn y dywedodd, pan yn yr ymdrech olaf, wrth gyfaill a ddaethai i ymweled âg ef: "Ar Galfaria, fe dynwyd colyn angeu. Diolch byth am y gwaith a wnaethpwyd ar Galfaria! CALFARIA I FYW, CALFARIA I FARW, CALFARIA *FOR EVER!*" Wrth y rhai oedd o'i amgylch, dywedodd, "Yr wyf fi yn myned o gyrhaedd eich breichiau chwi oll; ond 'odditanodd y mae 'r breichiau tragywyddol!'" Yn ddiweddaf oll, ffarweliodd â'i anwyl briod, ac a weddïodd yn floesg,

"O Arglwydd, gollwng fi!" a chyda hyny, ymollyngodd i farw, a'i ysbryd a ehedodd ymaith, oddeutu un ar ddeg o'r gloch y boreu hwnw, sef dydd Llun, Awst 2il, 1830, ac efe o fewn ychydig fisoedd i fod yn 67 mlwydd oed, ac wedi bod yn pregethu yr efengyl am 37 mlynedd. Claddwyd ef yn barchus y dydd Iau canlynol, pan y daeth tyrfa fawr ynghyd, ac y pregethwyd ar yr achlysur gan ei hen gyfeillion ffyddlawn, y Parch. John Davies, Nantglyn, a'r Parch. John Parry, Caerlleon.

Fel hyn y bu fyw, ac fel hyn y bu farw John Jones, o Dreffynnon. Nid ydoedd efe, ni a addefwn, yn un heb ei golliadau,—a pha le dan yr haul y deuir o hyd i'r gwr perffaith, er fod rhai pobl dda yn llawer perffeithiach na'u gilydd?—ond yr oedd yn gristion "yn wir, yn yr hwn nid oedd dwyll." Nid ydoedd chwaith yn rhyw ddyn mawr iawn, ond yr oedd yn ddyn grasol, ac yr oedd hefyd, fel y gwelwyd, yn ddyn hynod. Os nad oedd eangder a threiddgarwch yn ei ddoniau gweinidogaethol, yr oedd yn wastad yn gwisgo ei ddawn ei hun, ac ni buasai hwnw yn gweddu i neb arall. Nis gwyddom beth a fuasai, pe cawsai ei alluoedd amaethiad trwyadl; ond, fel yr ydoedd, wedi cael athrylith cynnwynol gan natur, a chael ffydd ddiffuant, a gweinidogaeth ddiammheuol gan ras, yr oedd "yn ganwyll yn llosgi ac yn goleuo," yr hon yr oedd ei diffoddiad yn golled i'r byd. Yr oedd efe "yn brofedig yn Nghrist;" a bendigedig yw ei goffadwriaeth. Ein llafur yn casglu y cofion hyn am dano a etyb ddyben da, os cynhyrfir rhywrai, wrth eu darllen, i ddilyn ei ffydd, gan ystyried diwedd ei ymarweddiad ef.

---

# GOHEBIAETH.

GWELIR ein bod, yn y rhifyn hwn, wedi codi ystafell newydd, i fod yn lle cyfleus i groesawu ein cyfeillion a'n cydnabod a fyddo yn dewis troi i mewn yn achlysurol i gael ychydig fynydau o ymddyddan wrth fyned heibio; ac nid ydym yn meddwl cau y drws yn erbyn dyeithriaid, pwy bynag fyddont, tra y cydymffurfiant â rheolau cyffredin moesgarwch. Mewn geiriau eraill, yr ydym yn bwriadu neillduo cyfran o'r "Traethodydd" o hyn allan i fod yn gyfrwng gohebiaeth i ddysgedigion Cymru o bob enwad, lle y gellir rhoddi derbyniad i bob math o "*notes and queries*" yn dwyn perthynas â beirniadaeth ysgrythyrol, llenyddiaeth a henafiaethau Cymreig, helyntion yr amseroedd, a phob mater arall a fyddo yn ymddangos yn deilwng o sylw ein darllenwyr.

## "LLYFRYDDIAETH Y CYMRY."

*Bethel, Pentrefoelas, Rhag.* 18, 1852.

ANWYL SYR,

Cefais gryn hyfrydwch wrth ddarllen yr ysgrifau a ymddangosasant yn y "Traethodydd" ar "Lyfryddiaeth y Cymry." Sylwais ar un camgymeriad bychan yn y rhifyn diweddaf, yr hwn, fe allai, y gwelwch yn werth i'w ddiwygio mewn rhifyn dyfodol. Yn tudal. 394, dan y flwyddyn 1689, dywedir mai cyfieithydd y "Rhybuddiwr Cristionogawl" ydoedd Edward Morris, y bardd, o'r Perthi llwydion, *Llansilin*. Nid yn Llansilin, ond yn mhlwyf *Ceryg-y-druidion* y mae y Perthi llwydion, lle y preswyliai y bardd a'r cyfieithydd. Yn "Eos Ceiriog:" llyfr i., tudal. 21, gwelir "Cywydd o Alarnad am yr enwog fardd, Edward Morus, o'r Perthi llwydion, yn mhlwyf Ceryg-y-druidion; yr hwn a fu farw yn Essex, yn y flwyddyn 1689." Dengys hyn i'r cyfieithydd farw yn yr un flwyddyn ag y cyhoeddwyd y llyfr. Y mae yn debyg ei fod ef yn borthmon, ac mai ar fasnach yr oedd wedi myned i Essex pan y bu farw yno. Y mae rhai o'i hiliogaeth yn dilyn yr un fasnach hyd heddyw.

Bum yn y Perthi llwydion yn ddiweddar, a gwneuthum ymchwiliad am rai o hen lyfrau y bardd, ond methais a chael yr un, eithr cefais un o'r "Rhybuddiwr"—un o'r trydydd

argraffiad, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1802, gan y "Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol."

Oddiwrth alarnad Huw Morus am dano, yn gystal ag oddiwrth yr anghreifftiau a geir o'i waith yn "Eos Ceiriog," y mae yn amlwg fod Edward Morus yn fardd enwog yn ei ddydd. Byddai yn dda genyf pe gallech gael hyd i ychydig o'i hanes ac o'i waith i'w cyhoeddi yn y "Traethodydd."

Maddeuwch fy hyfrdra, a derbyniwch fy niolchgarwch gwresocaf am eich gwasanaeth gwerthfawr, a'ch ysbryd rhyddfrydig yn y "Traethodydd." Dymunaf iddo flwyddyn newydd dda. Ydwyf, anwyl syr, yr eiddoch yn ddiffuant,

WILLIAM ROBERTS.

# NODIADAU AR LYFRAU.

*Awstralia a'r Cloddfeydd Aur.* Gyda darlun o'r Wlad a'r Cloddfeydd.

MAE y llyfryn hwn yn gwneyd i fyny un o'r "Gyfres ar Elfenau Gwybodaeth" a gyhoeddir gan Mr. Gee. Y mae ein Cyhoeddwr teilwng, dybygem ni, yn gwneyd yn gall iawn wrth roddi allan y fath lyfr a hwn yn mysg ei "gyfres;" o herwydd yn nghanol cyhoeddiad a lledaniad yr "Elfenau Seryddiaeth," a'r *iaethau* gwir werthfawr eraill, mae y bobl wrth y cannoedd a'r miloedd yn defnyddio pob "elfen" i ymfudo i "Awstralia a'r Cloddfeydd Aur;" a swm pob newydd sydd yn dyfod atom o'r cyfandir mawr, pell, ydyw, Aur, aur wedi ei ddarganfod eto!

Gallem feddwl fod swm y cwbl a glybuwyd am Awstralia i'w gael yn y llyfr sydd ger ein bron. Mae ei holl bennodau, y rhai ydynt namyn un deuddeg, yn drylawn o hysbysiadau dyddorol a chynnwysfawr am yr holl wlad yn gyffredinol, a'r cloddfeydd aur yn neillduol. Nid gweniaith yw dywedyd fod yr ysgrifenydd a'r argraffydd wedi gwneyd eu gwaith yn dda.

*Y Perl Cerddorol, yn cynnwys Tônau ac Anthemau Cysegredig a Moesol.* Cyfansoddedig gan WILLIAM OWEN, Prysgol. Cyfrol I.

*Y Cerddor Cenedlaethol, sef Casgliad o Dônau, Anthemau, a Darnau Gosodedig wedi eu dethol o weithiau yr awduron goreu.* Dan olygiad WILLIAM OWEN. Rhif. 1, hyd 10.

MAE yn dda genym ddeall a gweled fod cynnifer o ieuenctyd Cymru wedi troi eu sylw at egwyddorion Cerddoriaeth, ac yn eu dysgu a'u hymarfer mor rhagorol. Dengys hyn fod yni a phenderfyniad yn ein pobl ieuainc ag a'u cymhwysa i fod yn llwyddiannus yn meusydd eraill y gwybodau a'r celfyddydau ond iddynt droi eu meddwl atynt. Mae yn naturiol i'r ieuanc ymofyn am ddifyrwch; ac, "a oes neb yn esmwyth arno? caned,"—ond, nid sothach o ganiadau, eithr, "Salmau." Ond nid yw dyddiau yr esmwythder yn para yn dragywydd; ac yr oedd y ceiliog rhedyn yr hwn na wnaeth ddim ond canu yr haf, yn ddiobaith ei gyflwr pan yr anfonwyd ef i ddawnsio y gauaf. Dymunem, gan hyny, i'n cyfeillion ieuainc gyd-dymheru difyrwch âg adeiladaeth. Rhwydd hynt iddynt i ganu llawer, ond bydded iddynt ddarllen llawer hefyd. Mae yn gyfreithlawn iddynt sirioli eu hysbrydau anifeilaidd, ond, gyda y cwbl ac yn benaf dim, dylent ofalu am leshau eu hysbryd anfarwol. Mewn rhai manau, gwneir i fyny un sefydliad o gymdeithas ganu a chymdeithas ddarllen; cenir tôn, yna darllenir cyfran o ryw lyfr buddiol, gyda sylwadau byrion, ac felly yn olynol. Dyna gynllun gwir ragorol, yr hwn y chwennychem ei argymhell i'r holl gymdeithasau cerddorol.

Y "*Perl Cerddorol,*" a'r "*Cerddor Cenedlaethol,*" sydd gyhoeddiadau tra theilwng o gefnogiad. Y cyntaf sydd yn cynnwys cyfansoddiadau gan Mr. William Owen yn unig, y rhai sydd yn arddangos llawer o fedr ac athrylith barddonol, a rhai o honynt agos yn ddiguro yn eu heffeithiolrwydd ar dymher ac anwydau dyn. Yr anthemau a'r darnau yn y "*Cerddor Cenedlaethol*" sydd yn benaf o weithiau Handel a Mozart, wedi cyfaddasu atynt eiriau Cymreig; ac y mae dywedyd hyna yn ddigon i'w harganmawl i bob un y mae ynddo y mymryn lleiaf o wybod da mewn cerddoriaeth.

DINBYCH: ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

# Y TRAETHODYDD.

---

## YR ARFAETH.

PAN ddaw dyn i ddechreu meddwl ac ystyried, y mae yn teimlo fod ganddo alluoedd fel creadur rhesymol sydd yn ei wneyd yn llywodraethwr ar y byd gweledig o'i amgylch, ac yn ei addasu i ddal cymundeb â gwirioneddau ysbrydol ac anghyfnewidiol. Ond y mae hefyd yn rhwym o deimlo yn fuan fod y galluoedd hyn yn dra therfynol, a'i fod ef ei hun dan lywodraeth rhyw Fod anweledig, ar yr hwn y mae yn ymddibynu, ac i'r hwn y mae yn gyfrifol am ei holl weithredoedd. Oddiar undeb y ddau deimlad hwn y tardda pob crefydd. Oni bai fod ganddo alluoedd i ddewis a gweithredu fel creadur rhesymol, ni buasai arno anghen am grefydd mwy na'r anifeiliaid a ddyfethir: ac o'r tu arall, y mae pob crefydd yn darfod heb deimlad o ymddibyniad a rhwymedigaeth. Os meddyliwn, er anghraifft, am weddi, yr hyn yw dechreuad crefydd yn enaid dyn, ni ddaw neb i weled yr anghenrheidrwydd am weddïo nes y daw i ddechreu meddwl am weithio o ddifrif yn gyfatebol i'r galluoedd a dderbyniodd gan ei Greawdwr; ac ar yr un pryd i deimlo ei fod yn analluog i wneuthur dim yn iawn ond i'r graddau y byddo yn derbyn cyfarwyddyd a nerth oddiuchod i gyflawni pob dyledswydd.

Ond yn lle cymeryd y ddau deimlad mewn cysylltiad â'u gilydd, y mae llawer yn dueddol i aros mewn un o honynt; ac er mwyn dyrchafu y naill y maent yn darostwng y llall, ac o'r diwedd, fe allai, yn ei lwyr ddifodi, yr hyn sydd yn eu harwain o anghenrheidrwydd i'r eithafoedd mwyaf anghrefyddol. Wrth ddal i fyny allu dyn, ac wrth edrych yn unig ar yr olwg ddynol i'r mater, y mae rhai yn gwneuthur dyn yn bob peth, a thrwy hyny yn syrthio i ddidduwiaeth; ac wrth geisio gochelyd y perygl hwn, y mae eraill drachefn yn gwyro at oll-dduwiaeth, yr hyn sydd yn gwneuthur Duw yn bob peth, a phob peth yn Dduw. Fel hyn y mae eithafoedd yn cydgyfarfod, oblegid y mae y naill fel y llall yn gwadu Duw, ac yn diwreiddio crefydd. Dyma duedd ac amcan naturiol pob un o'r ddau deimlad pan ysgarir hwynt oddiwrth eu gilydd. Ond heb fyned mor bell a hyn, y mae eraill, y rhai ni fynant aberthu eu crefydd er mwyn cynnal i fyny ddidduwiaeth nac oll-dduwiaeth, y rhai nid ymfoddlonant i lwyr ddifodi cyfrifoldeb dyn na llywodraeth Duw, er hyny, oddiar gariad at ryw gyfundraeth neillduol, yn gwahanu yn ormodol rhyngddynt, nes y mae perthynas dyn â Duw i ryw raddau yn cael eu gwanhau, ac ysbryd crefydd i'r un graddau yn cael ei ddinystrio. Y mae un blaid, wrth edrych o'r ochr ddaearol, er mwyn gwneyd dyn yn gyfrifol am ei weithredoedd, ac oddiar analluu i ganfod pa fodd y mae hyn yn cydsefyll âg arfaeth Duw, yn myned o'r diwedd i wadu fod arfaeth; tra y mae y blaid arall, oddiar eiddigedd dros lywodraeth a phenarglwyddiaeth Duw, yn rhoddi lle mor fawr ac mor arbenig i'r

at Ysbryd Crist ynddynt eu hunain; fel y delont i jawn ddeall pethau, &c. Ymherthynas i. Cariad Duw yn Gyffredinol yn danfon ei Fab i farw dros bob dyn. ii. Yr Ysgrythyrau Sanctaidd. iii. Am Addoliad. iv. Am Fedydd. v. Am y Swpper, &c. Gan Benjamin Holmes. Wedi ei gyfieithu er mwyn y Cymru allan o'r Seithfed Argraphiad yn Saesneg. Bristol, Argraphwyd gan Sam. Farley, 1746. Lle y gellir cael Printio pob math ar Gopiau am bris gweddaidd."

Y mae yr hysbysiad canlynol yn niwedd y llyfr uchod:—"N.B. Yr Rhan fwyaf o'r Llyfr hwn a ddiwigiwyd bob yn Siet gan y Cyfieithydd ynghymru, cyn ei breintio yn yr Argraff-wasg: felly pa Feiau bynnag a allai ddiangid ei Ddiwigiad ef, y mae y Printiwr yn dymuno cael ei escusodi oddiwrthynt, ac i'r Darllenydd ei ddiwigio."

3. ¶ "Rhyfeddod Rhyfeddol, i annerch rhyw Ddynol, sef, gwir a chywŷr hanes amryw weledigaethau a welodd Duw yn dda ei datguddio i Thos. Evans, o Lanfair Caereinion, y Sir Drefaldwyn, yn y flwyddyn 1746. Argraphwyd yn y Mwythig tros John Jones o Penarth."

4. "Aleluia, neu Gasgliad o Hymnau, ar amryw destynau o'r Ysgrythyrau. O waith William Williams. Y Bedwaredd Ran. Argraphwyd Ymhristo, gan Ffelix Farley, yn y flwyddyn M,DCC,XLVI."

Gwel rhif. 7 a'r 8, 1745.

5. "A Journey to Llandrindod Wells, in Radnorshire; with a particular description of those Wells, the places adjacent, the humours of the company there, &c. Being a faithful narative of every occurence worth notice that happened in a journey to and from those wells. To which is added, observation and information to those who intend visiting Llandrindod: and to which is prefixed the Parson's Tale, a poem, by a Countryman, the second edition, corrected and amended, London: 1746."

Yr oedd yr argraffiad cyntaf tua'r flwyddyn 1744. Gwaith cyfreithiwr, meddai Mr. Gough, yr hwn a wnaeth ei hun yn enwog iawn yno; ac wed'yn a wnaeth ddigrifddarluniadau o bawb y bu yn ymgyfeillachu â hwy.

6. "Welch-Piety Continued: or a further account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1744, to Michaelmas 1745. In a Letter to a Friend. London; Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close, near West-Smithfield. M,DCC,XLVI."

7. "Gair mewn Pryd. Argraphwyd yn y flwyddyn 1746."

1747.

1. "Byrr Grynhoad eglur o'r Grefydd Gristianogol, Ynghyd a Gair o Gyngor ag Addysg mewn perthynas I'r Schismaticiaid sy'n ymneillduo oddiwrth Eglwys Loegr. Ail Argraphwyd gyda Angwhanegiad. Argraphwyd yn Nulun. MDCCXLVII." 30 tudal. 8plyg.

2. ¶ "Sail Bedydd Plant bychain wedi ei chwilio, ac heb allu ei chael yn Ngair Duw; neu Ychydig Nodiadau ar Lyfr a osodwyd allan yn ddiweddar, gan Weinidog o Eglwys Loegr, dan yr enw Hyfforddiad i wybodaeth iachusol o Egwyddorion a Dyledswyddau Crefydd. Gan Josuah Thomas, Llanllieni, Awdwr Hanes y Bedyddwyr."

Sylwadau ydyw ar gymaint yn Nghatecism Griffith Jones, Llanddowror, ag sydd ar y pwnc o fedydd.

3. ¶ "Twenty Arguments for Infant Baptism. By G. Jones, Llanddowror."

4. "Aleluia, neu Gasgliad o Hymnau. O waith William Williams, Gweinidog yr Efengyl. Y Bumed Ran. Argraphwyd ym Mhristo, gan Ffelix Farley, yn y flwyddyn, 1747."

5. "Welch Piety Continued: or, a further account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1745, to Michaelmas 1746. In a Letter to a Friend. London. Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. MDCCXLVII."

6. "Welch Piety: or, a further account of the Circulating Welch Charity

Schools, from Michaelmas 1746, to Michaelmas 1747. To which are annexed, Testimonials relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend. London: Printed by John Oliver, in Bartholomew-Close. M,DCC,XLVII."

7. "Hymnau Buddiol a chymmwys yw canu ar hamryw achosion gan Crist'nogion gwir Brofiadol. Gan John Richard. Caerfyrddin: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XLVII."

1748.

1. "Prif Gristianogaeth a ymadfywiwyd yn y ffydd ac ymarferiad y Bobl a elwir Quakers. Gan W. Penn. A drowyd i'r Gymraeg gan John Owen, o Maes Adda, yn Sir Gaerfyrddin."

Yn ei ddiwedd, dywedir,—"Y Traethawd byrr ymma, a drowyd i'r Gymraeg gan John Owen, o Faes Adda, yn Sir Gaerfyrddin, yn y Flwyddyn, 1748."

2. ¶ "Annerch y Cymry, gan Evan Pugh."

3. "Addysg i'r rhai a ddeuant i dderbyn Bedydd Esgob, mewn ffordd o holiad ac ateb. Gyda Gweddiau iddynt i'w harfer cyn ac wedi 'r unrhyw. Llundain."

4 ¶ "Bedydd yr Ail-Fedyddwyr heb sail iddo yn Ngair Duw, na Hanesion y brif Eglwys; a Bedydd Plant Bychain yn cael ei Gadarnhau trwy Resymau Ysgrythyrol a Thystiolaeth amryw o Dadau yr Eglwys Gristionogol."

Gwaith y Parch. G. Jones, Llanddowror ydyw, yn atebiad i rhif. 2, 1747.

5. "Hydrographical Survey of the Coast of Wales."

Gwaith Lewis Morris, o Ben-bryn, sir Aberteifi. Rhan fechan o hono a gyhoeddwyd yn 1748.

6. ¶ "Profiad Tufewnol, &c."

Hanes rhyw hen bererin Methodistaidd ydyw; ond gan fod yr un a welodd yr ysgrifenydd yn anmherffaith, nid ellid rhoddi ychwaneg o berthynas iddo. Hanes am naw mlynedd ydyw—o'r flwyddyn 1734 i'r 1743.

7. ¶ "Galar a Gorfoledd y Saint, &c."

Nid yw y wyneb-ddalen wrth yr un sydd genym. Llyfr hymnau bychan ydyw, yn cynnwys 24 o hymnau da—un o ba rai yw hôno sy'n dechreu—

"Fe dderfydd son am ryfel,
Fe dderfydd cario'r groes."

1749.

1. "Llythyr ynghylch y Ddyledswydd o Gateceisio Plant a Phobl Anwybodus. Argraphwyd yn Llundain, gan Ioan Olifer, ym Martholomy-Clôs, ger llaw Smithfield Gorllewinol, yn y flwyddyn MDCCXLIX."

Gwaith Gweinidog Llanddowror yw hwn hefyd. Yr oedd Olifer yn argraffydd i'r Gymdeithas er lledanu Gwybodaeth G ristionogol. Bu farw Ionawr 19, 1775.

2. "Hyfforddiad Gynnwys I wybodaeth jachusol o Egwyddorjon a Dyledswyddau Crefydd: sef, Holiadau ac Atebion Ysgrythurol ynghylch yr Athrawjaeth a gynhwysir yng Nghatecism yr Eglwys—Angenrheidiol i'w dysgu gan Hen ac Jeuaingc—Gan Weinidog o Eglwys Loegr. Argraphwyd yn Llundain, gan Ioan Olfir, ym Martholomy Clôs, ger llaw Smithfield Gorllewinol, yn y Flwyddyn MDCCXLIX."

Yr un yw awdwr hwn eto. Gwel rhif. 1, 1743.

3. "Llyfr o Weddiau Duwiol Yn Cynnwys ynddo Mwy na Saith ugain o weddiau ar amryw Achosion, Ac ar bob amser Cyfaddas i Weddio, yn Gyffredinol ac yn Neullduol. Y Gweddiau hyn a gasglwyd allan o waith yr Awdwyr goreu yn Saesnaeg, Ac a Gyfieithwyd i'r Iaith Gymraeg. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Thomas Durston." 1749.

4. "Trip to North Wales—a Sermon preached at Langwillin Church—the Welsh Schoolmaster—the mouse-trap &c. &c." 1749.

Awdwr yr uchod oedd y nodedig Deon Swift. Tybiwn mai Llangwillog, yn Môn, a feddylir wrth "Langwillin."

5. "Welch-Piety Continued. Or A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, From Michaelmas 1747, to Michaelmas 1748. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. M.DCC.XLIX."

6. "Welch Piety Continued: Or A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, From Michaelmas 1748, to Michaelmas 1749. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. M,DCC,XLIX."

7. "Llythyr at y Cyfryw o'r Byd Ac sydd raid eu deffroi a'u cyfarwyddo er Leshad a Budd tragywyddol eu Heneidie. Tan y Pennau a ganlyn. i. Difrifol Ystyriaethau. ii. Hunan-ymholiad wedi ei gasglu oddiwrth y Gredo. iii. Hunan-ymholiad oddiwrth weddi yr Arglwydd. iv. Hunan-ymholiad oddiwrth y Deg Gorchymyn. v. Gofyniadau ynghylch Efengyl Crist. vi. Dwys Eglurhad o'r Geirie Pa ham y byddwch feirw. Gan Mr. John Reynolds, Gweinidog yr Efengil yn y Mwythig. Wedi ei Gymreigio er lleshad i'r Cymru. Caer-fyrddin: Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCC,XLIX."

8. ¶ "Essay upon British Antiquities, &c. By Lord Kaemes."

9. "Pigion Prydyddiaeth Pen-fardd y Cymry: Sef Caniadeu, a Hymnau ac Odleu Ysbrydol; Allan o Waith y Parchedig Mr. Prichard, Gynt Ficcer Llanymddyfri. Argraphwyd yn Llundain, gan Ioan Olfir, ym Martholomew-Clôs. MDCCXLIX."

10. "Cambria, a Poem in three Books. Illustrated with notes historical, critical and explanatory. By Richard Rolt. London, 1749." 4plyg.

1750.

1. "Gwaedd Ynghymru yn wyneb pob cydwybod euog, Gyda Llythyr i'r Cymru cariadus, gan Morgan Lloyd. Yr ail Argraphiad. Mwythig."

2. "Eglurin Rhyfedd, Sef, Ystyriaethau Godidog, yn gyntaf yn cynnwys hanes yr Hên Wr o'r Coed. Yn ail, Breuddwyd Troilus. Yn drydydd, Tröedigaeth Evagrius y Philosophydd. Yn bedwarydd, Merthyrdod Andronicus ymerawdwr. Yn bumed, Cywydd y Merthyron. Y ddau a osodwyd allan gan Ddafydd Jones, Trefriw. Mwythig."

3. ¶ "Hanes o Fywyd a Marwolaeth Judas Iscariot. Mwythig."

4. "Galwad at Orseddfaingc y Grâs: fel na'n condemnier o flaen gorsedd fainc Barn: Neu ymddiddanion ynghylch Gweddi. Yn cynwys anogaethau a chyfarwyddiadau i weddio Duw tra fyddom yn y Byd hwn; fel byddom sicr o Ras a thrugaredd i fywyd tragwyddol yn y byd a ddaw. Yr Ailargraphiad. Gan Weinidog o Eglwys Loegr. Llundain: Argraphwyd gan Ioan Olfir, yn y lle a elwir Bartholomew-Close, ger llaw West Smithfield. M,DCCL."

Prin y rhaid mynegu mai gwaith y Parch. G. Jones, Llanddowror, yw yr uchod.

5. "Llwybr Hyfforddy Plentyn Bach i fywyd Tragywyddol. Neu, Genadwri Nefol yn dyfod a Newyddion Gogoneddus o dangnefedd ac amldra i drigolion Brydain Fawr. Yn rhoddi esiampl tra hynod am dduwiolder ac haelioni llangc jeuangc a Elŵyr Benjamin yr hwn a fu farw Ddydd Sul y 14 o fehefin diweddaf. Y modd yr ymddanghosodd i'w Dâd ac i offeiriad y Plwyf mewn Dull Gogoneddus ar ôl ei farwolaeth. Ei ymddiddanion hyfryd wrthynt. Yn dra chyfleus i'w ystyried gan bawb, yn bendifaddau dynion jeuanc. Gan Mr. Worthy, Mr. Jones, Mr. King, Gwr Bonheddig. Wedi ei Gyfieithu yn Gymraeg gan Tho. Evans, Pengwern, s. y. h. Mwythig, argraphwyd 1750."

6. ¶ "Hanes Tair Sir ar ddeg Cymru, Yn Cynwys ysbysiad helaeth pa fath ydynt a pha bethau goreu sy ymmhob un o honynt, a pha fath bobl sydd yn gwladychu ynddynt, a pha beth yw hyswiaeth Pennaf merched ymmhob Sir? Pa ŷd ac enllyn sy amla a pha le mae'r Gyffylau gorau, Gwartheg, Defaid, Brethynoedd, Gweioedd, Gwlanneni y llieiniau gorau yng Nghymru, &c. At yr hyn y chwanegwyd Tair o Gerddi. Gan D. T. Mwythig Argraffwyd.

7. ¶ "Difyrwch i'r Cymru. Neu ddewisol Ganiadau, sef Cywydd i'r arian o waith

y Parch. Mr. Ellis ap Ellis o lan Drillo 'n Rhos; &c. 1 Tim. 6. 10; Preg. 10. 10. —ii. Cywydd i ofyn Cyngor i'r Llwynog, o waith Hugh Lloyd, Cynfel ymhlwy maentwrog yn sir Feirionydd, &c.—iii. Byrr hanes ynghylch Can Tre waelod, o waith hen awdwr—iv. Cywydd o alarnad am yr anrhydeddus fardd Ed. Morris o'r Perthi Llwydion, a waith Hugh Morris—v. Cywydd o hanes Pensilfaenia, gan Hugh Gruffudd, Gynt o lwyn y Brain yn sir Feirionydd—vi. Cywydd i'r Drycin ar Drudaniaeth, Gan Dafydd Manuel.—vii. Cywydd o waith Thos. Pryse, Esqr. o Blas Iolyn er rhybudd i bawb gytuno a'i Gilydd a pheidio myned i'r Gyfraith, &c. Printiedig yn Dublin, Tros Richard Evans."

Edward Morris oedd ŵr cyfrifol o borthmon, yn byw yn y Perthi Llwydion, plwyf Cerig-y-Druidion, yn sir Ddinbych. Yr oedd yn gydoeswr ac yn gyfaill mynwesol i Hugh Morris. Bu farw yn Essex, tra yr oedd ynghylch ei alwad fasnachol. Dywedwyd, mewn camgymeriad yn y "Traethodydd," 1852, o dan y flwyddyn 1689, mai o blwyf Llansilin yr ydoedd. Gwel hefyd tudal. 127, o'r llyfr hwn.

8. ¶ Llyfr meddyginiaeth a physygwriaeth i'r anafus a'r Clwyfus Yn Cynnwys Cynghorion tra Buddiol a llesol i ddyn ac Anifael; o Gasgliad hen physygwr Calfyddgar. At yr hyn y chwanegwyd y Gelfyddyd o goginiaeth (neu cookery) i arlwy neu Drwsio amryw fath ar fwydydd, sef Cig, Pysgod, ac adar, &c. Argraffwyd yn y Mwythig."

9. "Welch Piety: Or, A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1794, to Michaelmas 1750. To which are annexed Testimonials Relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew Close. MDCCL."

10. "A Sermon Preached from John v. 28, 29. Occasioned by the Death of Mr. Evan Williams, Preacher of the Gospel in Wales. To which is added Some Account of his Life and Death. By Edmund Jones, Minister of the Gospel. London: Printed for J. Noon, at the White Heart, near Mercers Chapel, Cheapside. M,DCC,L."

Yr Evan Williams hwn yw yr un y crybwyllir am dano gan Mr. Robert Jones, yn ei "Ddrych yr Amseroedd," yr hwn a guddiwyd mewn cwpbwrdd yn Tŷ Mawr, Tydweiliog, Lleyn, sir Gaernarfon, rhag ei erlidwyr. Y mae Mr. E. Jones yn rhoddi hanes manwl am dano; ac y mae y bregeth yn un dda ar yr adgyfodiad—rhywbeth yn debyg yn ei dull i bregeth Russell ar yr un testun yn ei "Saith Pregeth."

11. "Rhan o Bregeth Ein Harglwydd ar y Mynydd. Wedi ei Egluro a'i osod allan yn gyntaf yn Saesonaeg gan John Wesley, M.A. Cydymaith o Colege Lincoln yn Rhydychen. Wedi ei gyfieithu'r awrhon er Bydd i'r Cymru. Argraphedig yn Brista Gan Felix Farley. MDCCL."

Cynnwysa y traethodyn hwn y bregeth gyntaf o eiddo Mr Wesley ar y bregeth ar y mynydd, sef ar *Mat.* v. 1—4. Nid oes enw y cyfieithydd; ond y mae ychydig o linellau tlysion o'i blaen "At y Darllenydd Hawddgar," gan y cyfieithydd, pwy bynag ydoedd. Gwelir ei bod wedi ei thaenu yn Nghymru hanner can' mlynedd cyn i'r Wesleyaid feddwl am sefydlu achos Cymreig yn y Dywysogaeth.

12. "Ymddiddan rhwng Methodist Uniawn-gred ac Un Camsyniol. Yr ail Argraphiad. Argraphwyd yn y Flwyddyn 1750."

13. "Ymddiddan rhwng Methodist a Morafiad. Argraphwyd yn Mhristo yn y Flwyddyn M,DCC,L."

14. "Tri Chyflwr y Cristion, yn cael ei Ddatguddio trwy 'r Scrythyrau Sanctaidd. 1 Yn Druenus wrth Natur, 2 Yn gysurus trwy Ras, 3 Yn orfoleddus mewn Gogoniant. Ynghyd Ac amlygiad Byr o Ddyledswydd Dyn ti ag at ei Greawdwr ae Gid Greaduriaid. A Gymmerwyd allan o'r Saesnaeg. At ba rai y chwanegwyd ychydig o Hymnau neu Ganiadau Ysprydol i Ddifyrru'r Pererinion, tra fyddont yn ymdeithio trwy Anialwch y Byd Presenol, tu a'r Ddinas Nefol. Gan Benjamin Lewis O Drê Castell Newydd ar Wŷsg yn Sir Fynwe, yr hwn a fy farw yn y flwyddyn 1749, ac yn awr ar ol ei farwolaeth cyflawn-

wyd ei Ddymuniad yn ei fywyd. Argraphwyd ym Mhristo, gan Sam. Farley, yn y Flwyddyn MDCCL."

15. "The Prodical Son, a Welsh Preachment."

16. "Ymddiddan rhwng Cynghorwr a'i Gymmydog ynghylch Llawn Sicrwydd Ffydd. Llundain: Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCCL."

1751.

1. "Galwad i'r Annychweledig. Trwy y diweddar Barchedig a Duwiol Mr. Richard Baxter. Ynghyd a Hyfforddiadau Pa fodd i dreulio pob dydd cyffredin, a phob Dydd yr Argwydd wedu eu casglu allan o 'Scrifeniadau Mr. Baxter, a Dr. Doddridge. Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Eddowes, a J. Cotton, MDCCLI."

Y mae rhagymadrodd iddo gan Job Orton; ac yn ei ddiwedd—"Agoriad ar ryw eiriau anhysbys i rai." Gwel hefyd rhif. 6, 1677.

2. "Sail Bedydd Plant Bychain wedi Ei chwilio, ac heb allu ei chael Yng Ngair Duw. Neu ychydig Nodiadau ar Lyfr a osodwyd allan yn ddiweddar, gan Weinidog o Eglwys Loegr, dan yr Enw Hyfforddiad i Wybodaeth iachusol o Egwyddorion a Dyledswyddau Crefydd. Argraphwyd yn Llundain, ac ar werth gan George Keith, ym Mercers Chapel Cheapside, M,DCC,LI."

Sylwadau ydyw ar gymaint o Gatecism Griffith Jones, Llanddowror, ag sydd yn ymdrin â bedydd. Gwel hefyd rhif. 4, 1748.

3. "Traethawd A Bregethwyd (yn Saes'naeg) Ar Ddydd Sul, y Bedwaredd o Ebrill, yn y Flwyddyn 1742: o flaen y Brif-Ysgol yn Rhydychen. Gwedi ei Gyfieithu i'r Gymraeg er Budd i'r Cymru At yr hyn y chwanegir Gair i Bechadur. Argraphwyd yn Mristo, gan Felix Farley, yn y Flwyddyn 1751. [Pris Ceiniog a Dimai.]"

Pregeth y Parch. Charles Wesley, ar *Eph.* v. 14, ydyw.

4. "Hosana i Fab Dafydd, neu Gasgliad o Hymnau o waith William Williams. Argraphwyd ym Mhristo gan Felix Farley, yn y Flwyddyn 1751."

Y mae yr hysbysiad canlynol ar gefn y wyneb-ddalen:—"Bydded yn hysbys i bwy bynnac a bryno'r Hymnau yma, fod dwy Ran arall (os caniata Duw) i ganlyn, mor gynted ag yr elo hwn ymaith, o'r un Faintiolaeth, fel y gallo pwy bynnac, a'i gwelo yn gymmwys (ond cadw hwn yn lân), gael y tri i'w cydrwymo. W. W."

5 ¶ "A Short History of the Crown Manor of Creuthyn, in the County of Cardigan, South Wales, By Lewis Morris, 1751."

Nid ydys yn sicr ai y flwyddyn hon y cafodd hwn ei argraffu—fe allai mai 1756 y dylai fod, er iddo gael ei ysgrifenu yn 1751; ond y mae y mae y cyflwyniad yn—"humbly presented to the Right Hon. Henry Arthur Herbert, Earl of Powis, by L. M. Dec. 1756."

6. ¶ "Ateb i'r Ugain Rhesymau. Gan Josuah Thomas a Dr. Gill."

"Y mae ers rhai blynyddoedd," meddai Mr. Thomas, yn ei "*History of the Welsh Association,*" "Esboniad ar Catecism yr Eglwys, wedi ei gyhoeddi yn Gymraeg, gan Weinidog o Eglwys Loegr." Cytunwyd yn y cyfarfod hwn—Cymanfa Llanelli, 1749—fod i ryw rai o'r gweinidogion feddwl am atebiad. Enwyd pedwar neu bump, ond ni phenderfynwyd ar neb. Ymgymerodd amryw â'r pwnc, ac yn eu plith tynodd Josuah Thomas ychydig awgrymiadau, a chefnogwyd ef i fyned ymlaen, ond nid aeth y lleill ymlaen. "1750, *Molston.*—Cytunwyd fod i'r hyn a ysgrifenodd y brawd Josuah Thomas ar Fedydd, mewn atebiad i'r Ugain rhesymau, gael ei argraphu. Argraphwyd yr Ugain rhesymau yn Saesonaeg, ac ysgrifenodd Dr. Gill atebiad byr, a chytunwyd i gymeryd rhan o argraphiad ei lyfryn ef hefyd."

7. "Rhesymau yr Ymneillduwyr am Wahanu oddiwrth Eglwys Loegr; A Achlysyrwyd gan Lythyr ynghylch y Ddyledswydd o gateceisio Plant. Ysgrifenwyd yn Saesonaeg gan Ioan Gill, D. D. Argraphwyd yn Llundain. M,DCC,LI."

"Yn gynar y flwyddyn hon y cyhoeddwyd yr atebiad Cymraeg i'r ugain Rhesymau dros Fedydd Babanod. Ac yn yr hâf daeth atebiad Dr. Gill iddynt allan, at yr hyn y

chwanegodd—'Reasons for separating from the Church of England.'" Cyfieithwyd y rhesymau dros ymneillduo y pryd hyny i'r Gymraeg, a chydrwymwyd â'r atebiad Cymraeg a ysgrifenwyd gan y brawd Josuah Thomas, "*A History of the Welsh Association.*" Enw llyfr Dr. Gill, yn gyflawn, sydd fel hyn:—"The Argument from Apostolic Tradition, in favour of Infant Baptism, with others, advanced in a late Pamphlet, called, the Baptism of Infants, a reasonable service, &c., confounded. And also an Answer to a Welsh Clergyman's Twenty Arguments for Infant Baptism; to which are added, the Disenters' Reasons for Separating from the Church of England, occasioned by the said Writer." Tybygem mai prin y rhaid i ni chwanegu mai â Mr. Jones, Llanddowror, yr oedd y dadleuon hyn.

1752.

1. "Dirgelwch i rai i'w ddeall Ac i eraill i'w Watwar, sef Tri Aderyn yn ymddiddan, yr Eryr, a'r Golomen, a'r Gigfran, Neu arwydd i annerch y Cymru yn y flwyddyn 666. Gan Morgan Llwyd (fel y tybir) Argraphwyd yn y Flwyddyn 1752."

Ailargraffiad: gwel rhif. 7, 1714.

2. "Bibl Cysegrlan, &c. Argraphwyd yn Llundain."

Hwn oedd yr ailargraffiad a olygwyd gan Richard Morris: gwel rhif. 1, 1746. Y mae yr un ffurf a'r argraffiad hwnw, ac yn gysylltiedig y Salmau Cân, a Llyfr y Weddi Gyffredin. 30,000 o gopïau oedd y ddau argraffiad hyn ynghyd.

3. "Gwael Gardod Ysbrydol i'r Cymro, i hunanymholiad. Ni bydd doeth, ni ddarlleno."

4. ¶ "Gwth i Iuddew, Neu Bregeth, i. Yn rhoddi hanes pobl yr Iuddewon: Gymaint o ffafr ac oedd Duw yn dangos iddynt. ii. Pa mor Esgeler ddynion oeddynt. iii. Pa fodd y Gorddiwesodd Barn gyfiawn Duw hwy am eu Hysgelerder: Dinystr eu Teml: eu Gorthrymderau, &c. Gan y Parch. Theophilus Evans, P. Llandulas Abercressau. Argraphwyd yn y Mwythig, gan Thos. Durston.

Fe allai y dylesid dodi hwn ychydig yn gynnarach.

5. "Egwyddorion a dyledswyddau y Grefydd Grist'nogawl: neu ychwaneg o Hyfforddiad i'r rhai a ddysgasant Gatecism yr Eglwys. Ynghyd a byrr ac eglur Athrawiaethau a Gweddiau perthynasol i bobl ar eu penau eu hunain. I Deuluoedd. I Ddydd yr Arglwydd. Yn amser Clefyd, &c. Gan y Gwir Barchedig Dâd yn Nuw Thomas, Arglwydd Esgob Sodor a Manaw. Argraffwyd yn y Mwythig gan J. Eddowes, a J. Cotton."

Hwn oedd y llyfr cyntaf a ysgrifenwyd ac a argraffwyd yn iaith Ynys Manaw, neu *Isle of Man*. Cyfieithwyd gan Eglwyswr yn sir Gaerynarfon.

6. "Y Fuchedd Gristionogol o'i dechreuad i'w diwedd, &c. Gan Ioan Scott, D.D. Person St. Giles yn y Meusydd, Llundain. A chyfieithiad Josua Thomas, Ficer Llanbister, yn sir Faesyfed, a Merthyr Cynog yn Mrycheiniog, a Chablan i'r Gwir Anrhydeddus Iarll Powis. Argraphwyd yn Llundain gan Ioan Olfer, yn Martholomy Clôs, ger Smithfield orllewinol, yn y flwyddyn 1752."

7. "Welch Piety: or, a further account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1750, to Michaelmas 1751. To which are annexed Testimonials Relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. M.DCC.LII."

8. "Some Account of the Welch Charity Schools; and of the Rise and Progress of Methodism in Wales, through the Means of them, under the sole Management and Direction of Griffith Jones, Clerk, Rector of Llanddowror, in Carmarthenshire; in a short History of the Life of that Clergyman as a Clergyman.

Goddeith a roir mewn Eithin
Gwanwyn Crâs, trwy'r Gwynnon Crin;
Anodd fydd ei diffoddi;
Ac Un Dyn a'i hennyn Hi. i. e.

One Sinner destroyeth much Good.

'Mong these, there was a Politician,
With more Heads than a Beast in Vision;
And more Intrigues in Every one
Than all the Whores of Babylon;
And, in his Dark Pragmatick Way,
As busy, as a Child at Play.

London : Printed in the Year 1752."

Awdwr y llyfr uchod ydoedd y Parch. John Evans, Person Eglwys-Gymmun, ger Llanddowror. Gelyn mawr i Mr. Griffith Jones, a'r diwygiad, ydoedd. Y mae ei lyfr yn cynnwys pob cableddau ar G. J., y rhai, os gwir, a'i gwnai y dyn gwaethaf yn y byd. Y cyhuddiadau ydynt:—

1. Y galleaid meddwl wrth ddull G. J. yn rhoi hanes ei gatecciaio yn yr eglwys rhwng y llithoedd, yn 1738, mai Catecism Eglwys Loegr ydoedd yn ei arferyd, pan mewn gwirionedd mai yr eiddo Mathew Henry a arferai!

2. Ei fod yn cydnabod fod ŵyn gwerthfawr Crist yn mhlith yr amrywiol sectau!

3. Na fu Mr. Jones erioed yn gymmodlawn âg Eglwys Loegr—ei chanonau, homiliau, &c.!

4. Mai Mr. Jones oedd yr unig athraw Methodistaidd yn Nghymru am flyneddau!

5. Fod yn debygol iawn mai efe oedd yr offeryn mawr, a'r penaf, i sefydlu Methodistiaeth yn Lloegr!

6. Mai efe a wnaeth Howell Harris yn Fethodist!

7. Ei fod yn dysgu fod yr un hawl gan bobl i ddewis eu gweinidogion ag i ddewis eu meddygon!

8. Ei fod yn casglu eglwys allan o'r Eglwys, ar egwyddorion yr Annibynwyr a'r Ailfedyddwyr! [*Anabaptists* yw y gair a arferir.]

9. Fod ei athrawiaeth o'r areithfa yn Antinomaidd—fod hyny yn gwneyd ei ddilynwyr mor hynod, fel os dywedid wrth ddyeithr fod y dyn y byddai yn myned i ymfasnachu âg ef yn *Jonesiad*, y deallid yn ebrwydd ei fod i gadw gocheliad!

10. Fod ganddo *spite* tuag at yr offeiriaid rheolaidd;—os beient hwy ef am bregethu teithiol, efe a'u galwai hwy yn ddreliaid dioglyd;—os cyhuddid ef o fod yn annysgedig, efe a haerai nad oedd dim i'w ddysgu yn y prif-ysgolion ond yfed a *smocio!*

11. Mai yn dyrniwr llestri coed y cafodd ei ddwyn i fyny, a'i fod yn arfer y gwaith hwnw wrth ei bleser pan yn berson Llanddowror!

12. Fod y bobl yn ei ddilyn i gyfarfodydd nos, a'r canlyniad, fod deunaw cwpl wedi priodi o'r cyfarfodydd hyn mewn un flwyddyn, ac yn eu plith oll, nid oedd yr un fenyw heb fod yn feichiog fawr.

13. Fod Mr. G. Jones wedi cael personiaeth Llanddowror trwy ddichell anmhriodol, yn ystod bywyd yr hen berson, sef Mr. John Jones!

14. Ei fod yn dyeithrio y bobl oddiwrth eu gweinidogion, nes y byddai offeiriaid a wardeniaid plwyfydd pleidiol iddo yn ei gyhoeddi i bregethu yn yr eglwysi ar hyd y wlad; ac os na chai allweddau yr eglwys, neu ffordd i fewn trwy y ffenestr, er gwaethaf yr offeiriaid, yr esgynai i ben un o'r coed yn y fynwent i bregethu; ac y galwai yr offeiriaid rheolaidd yn weision cyflog, cŵn mudion, &c.!

15. Mai pan wysiwyd ef ger bron y Parch. D. Howard, capelwr yr Esgob Bull, a changhellwr llŷs yr esgob, am ei afreolaeth, iddo haeru nad oedd yn myned i blwyf nac eglwys neb heb ei genad; ond nad oedd ganddo namyn myned yn fud, pan ddaeth offeiriaid y cyfryw blwyfau i'w wyneb; ac mai y rheswm a roddodd paham yr aeth i blwyfau eraill wedi addaw na wnelai, oedd, ei fod wedi addaw o'r blaen fyned, cyn addaw peidio, ac ei fod yn ystyried ei hun yn gydwybodol rwym i'r addewid gyntaf!

16. Mai dyfais Mr. Jones i lenwi ei eglwys oedd addaw torth geiniog i bob gŵr, gwraig, a phlentyn, a'i cyfarfyddai ef unwaith yn y mis, ac a adroddent ryw adnod o'r Ysgrythyr yn yr eglwys, y Sadwrn cyn Sul y cymundeb; ac wedi eu cael felly i gymeryd y cynnygiad cyntaf, iddo roi ail ammod—fod yn rhaid iddynt ddyfod i'r eglwys y Sabboth hefyd am y dorth geiniog!

17. Iddo daenu ar led fod y cythraul wedi marchogaeth yn ei scîl ryw noswaith dywell, pan, wedi cryn ymddyddan rhwng y ddau elyn â'u gilydd, i'r cythraul gyfaddef nad oedd arno ofn yr un gweinidog yn Eglwys Loegr ond Mr. Jones ei hun!

18. Ei fod yn gwneyd casgliadau yn yr eglwys y Suliau cymundeb, heb roi dim cyfrif i'r wardeniaid; ac ar yr un pryd yn cyfodi treth flyneddol i dalu am yr elfenau, a *phocedu* y casgliad iddo ei hun!

19. Ei fod yn derbyn tâl am bregethu ar hyd y wlad, tra yr oedd yn cael cynnorthwy i gyflenwi ei eglwysi ei hun, yn ei absennoldeb, yn rhad;—ei fod ef ei hun yn cael hanner coronau yn nghîl ei ddwrn gan amryw, ac yn dysgwyl eu cael yn rheolaidd!

20. Ei fod yn cyfnewid y Litani, ac yn gadael allan ddarnau cyfain o'r gwasanaeth, er mwyn prynu yr amser i bregethu a gweddïo yn hir ei hunan!

21. Fod yn rhaid i bwy bynag a brynai Fibl gan Mr. Jones am 4*s*., brynu hefyd ei Gatecism am 2*s*.; ac mai trwy y ddyfais hòno yr oedd yn gwerthu miloedd o honynt!

Pallai lle i ni fyned trwy yr holl lyfr hynod hwn; a gwnaethom gymaint, oblegid na

welsom ddarfod i neb o fywgraffwyr Mr. Jones wneyd sylw o'r cyhuddiadau hyn. Ymddengys mai offeiriad Uchel-eglwysig oedd yr awdwr; a mynai i'w ddarllenwyr gredu mai rôg cyfrwys oedd Mr. Jones,—yn offeiriad mewn dichell—yn Jesuitiad Ymneillduol yn yr Eglwys—wedi dyfod iddi i gael mantais i'w dinystrio, ac i leshau Ymneillduaeth yn fwy effeithiol!

Yr unig ysgrifenydd sydd yn cyfeirio at y gwrthwynebiadau hyn i Jones, Llanddowror, yw y Parch. E. Evans (y Prydydd Hir), yn ei *Dedication* o'i bregethau i Syr W. W. Wynne. Yno, wedi crybwyll am ddiffygion gweinidogion yr Eglwys yn nghyflawniad eu dyledswyddau, efe a ddywed wrth Syr W.:—"Yn awr y cwestiwn yw, Pa beth a ddylai gweinidog ffyddlon yr efengyl ei wneyd yn y cyfryw amseroedd peryglus? Yr wyf yn eithaf sicr fod rhai gweinidogion cydwybodol yr efengyl wedi dyoddef yn greulon yn y blyneddau diweddaf dan yr esgobion arglwyddiaethus a gorthrymus hyn—y rhai oedd ganddynt fwy o zel dros anrhydedd Duw, a chynnaliad gwir grefydd a rhinwedd, nag oedd ganddynt hwy. Ychydig, rhaid cyfaddef, oedd rhifedi y cyfryw bersonau haelfrydig, ac arferwyd pob dull a modd i'w hanghefnogi a'u digaloni. Os ammheuir yr hyn wyf yn ei haeru yma, mi a apeliaf at ysgrifeniadau y diweddar dduwiol a gwir barchedig Mr. Griffith Jones, o Llanddowror, yr hwn a ddyoddefodd holl fustleiddiwch offeiriad llwgrwobrwyol, yr hwn a gyflogwyd gan yr esgob i'w faeddu, er ei fod trwy neillduol ras Duw heb frycheuyn na chrychni, ond yr hyn a welai malais a gwallgofrwydd ei daflu arno." Goroesodd Mr. Jones ei holl wrthwynebiadau; ac y mae ei waith a'i goffadwriaeth mewn bri gan Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, tra y mae gwaith ac enw ei wrthwynebwr yn anadnabyddus, a'i goffadwriaeth "wedi ei golli fel ei dom."

9. "Welch Piety: or a further account of the Welch Charity Schools, from Michaelmas 1750, to Michaelmas 1751. To which are annexed Testimonials Relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. M.DCC.LII."

10. "History of Modern Enthusiasm. By Theo. Evans, [Awdwr 'Drych y Prifoesoedd.']"

11. ¶ "Undeb mewn Gwlad, neu Bregeth ynghylch y newidiad diweddar."

Tybir mai at newidiad yr amseriad o'r "hen gyfrif" i'r "cyfrif newydd" y cyfeirir.

1753.

1. "Yr Angenrheidrwydd o ddyfod i'r Eglwys, ac iawn gyflawniad o'r addoliad sanctaidd yno. Gwedi ei ddangos a'i ddodi ar ddull ymddyddanion, neu ymresymiadau Cyfeillgar, a 'Sgrifenwyd, ac a fwriadwyd er mŵyn y rhai sydd absenol o'r Eglwys; Etto yn parhâu ac yn sefyll ynghymundeb Eglwys Loegr. Gan wir Aelod o'r unrhyw; ac a gyfieithwyd er hyfforddiad a Llessâd pôb Cristion. Gan L. Owen, Person Llan Eugrad yn sir Fôn; at yr hyn y chwanegwyd Pregeth yn dangos y ffurf ar drefn weddus, ardderchawgrwydd, a Llesioldeb y Llyfr Gweddi Cyffredin. Argraffwyd yn y Mwythig, gan Thos. Durston. 1752."

Daethai i feddiant o bersoniaeth Llaneugrad, Gorph. 24ain, 1739.[1]

2. "Salmau Dafydd: Wedi eu cyfansoddi yn ol jaith y Testament Newydd. Yn Saesnag gan I. Watts, D.D. Ac a gyfieithwyd allan o'r Pumthegfed Argraffiad. Gan D. Jones o Gayo. Llundain: Argraffwyd gan I. Olifer, yn Martholomew-Close. 1753."

3. "Hanes am Ddychrynllyd gyflwr Ffrancis Spira. Gwedi ei gyfieithu i'r Gymraeg er Llês i'r Cymru. Argraphwyd ym Mristo, gan F. Ffarley, yn y flwyddyn MDCCLIII. [Pris Tair Ceiniog.]"

4. "Cydymmaith yr Allor. Yn dangos Natur ac Angenrheidrwydd o ymbaratoi i'r Sacrament, &c. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Thomas Durston. 1753. Prîs 6d."

Ailargraffiad o leiaf. Gwel rhif. 3, 1715.

5. "Llyfr Gweddi Gyffredin, &c. Argraphedig yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Thomas Durston, Gwerthwr Llyfrau. 1753."

6. "Antiquæ Linguæ Britannicæ Thesaurus: Being a British, or Welsh English Dictionary: containing Some Thousands of British Words more than any Welsh Dictionary hitherto published. All the Authorites or

[1] "*Mona Antiqua.*"

Examples which the learned Dr. Davies gives, in his British Latin Dictionary, from ancient Poets, Historians, &c., are inserted in This, as they are accurate Proofs of the Significations assign'd to those Words; and the Words which are added, are often exemplified in the same Manner. And to make this Work more compleat, besides the Explications and Etymologies of Words, many valuable British Antiquities are interspered through all the Parts of it. To which is prefix'd a compendious Welsh Grammar, with all the Rules in English. ☞ Besides the Author's Collections from his own Reading and Observations, and what is contain'd in Dr. Davies's British-Latin Dictionary, This Work hath been greatly Improved out of Mr. Edward Llwyd's Archæologia Britannica, Dr. Wotton's Glossary, &c.—And there is likewise added, a large Collection of British Proverbs. By Thomas Richards, Curate of Coychurch. Bristol: Printed and sold by Felix Farley, in Small Street: Sold also in London, by Messrs. Knapton, Innys, Hilch, Davis, Clarke, Owen, &c. By R. Raikes in Gloucester; W. Williams, Bookseller, in Monmouth; and by all the Booksellers of the Principality of Wales. MDCCLIII. [Price 6s.]"

7. "Hosanna i Fab Dafydd, neu Gasgliad o Hymnau, o waith William Williams Yr Ail Ran. Argraphwyd yn Mristo, gan E. Farley, yn y flwyddyn 1753."

Am y rhan gyntaf, gwel rhif. 4, 1751. Y mae yr hysbysiad canlynol ar gefn y gwynebddalen:—"Yr wyf yn meddwl printio Llyfr bychan oddeutu'r un Faintioli a Hwn, a'i Enw 'Buddugoliaeth yr Efengyl,' yn un Gan, yn cynnwys wedi tri chant o Wersi. W. W.'

8. "A plan of the Waste or Common and adjoining Freehold in the upper parcel of the parish of Gwnws, in the Manour of Mevenith, in the County of Cardigan, with the Mines of Esgair y Mwyn, situate on the said Waste or Common, taken by virtue of an Order of the court of Exchequer, dated the 11th day of July, 1753, by Edward John Eyre, Surveyor."

1754.

1. "Mer Difeinyddiaeth Iachus, mewn ffordd o ymddiddan. Gan Edward Fisher. Argraphwyd yn Mristo, gan E Farley, yn y flwyddyn 1754."

Ail argraphiad ac ail gyfieithiad o "Madryddyn y Ddifynyddiaeth ddiweddaraf." Rhif. 1, 1651.

2. "Llaw Lyfr yw Ddarllen i'r Cleifion, gyda Myfyrdodau peraidd a gweddiau i'w harfer yn amser Clefyd, o waith yr Esgob Andrews. Ag a gyfieithiwyd i'r Gymraeg gan Edward Roberts, Ciwrate ynghappel St. Garmon, yn Sir Ddinbech, yn y flwyddyn o oedran Crist 1671. Angenrhaid i fôd Gan bôb Teulu. A brintiwyd yn awr, Tros Cadwalader Davies, o blwy Gwyddelwern, yn Sir Feirionydd, yn y flwyddyn 1754."

Y mae yn cynnwys 16 tudal. 18plyg; ac heb enw yr argraffydd.

3. "Gwirionedd y Grefydd Gristionogol: A Dull y Farn Fawr. Mewn tair Pregeth, o waith y diweddar Barchedig Mr. Richard Rees, gweinidog yr Efengyl, yng Nghwm y Gloe. Bristol: argraphwyd gan S. Farley, yn y flwyddyn M.DCC.LIV."

Cwm-y-Glo sydd yn nghymydogaeth Merthyr Tydfil, lle yr oedd gynt dŷ addoliad yn perthynu i'r Presbyteriaid, cyn adeiladu hen gapeli Cefn-coed-y-cymmer ac Ynys-Gou. Y mae murddyn, neu sylfeini, yr hen gapel yn cael ei ddangos hyd yn hyn.

4. ¶ "Difyrwch y Pererinion, o fawl i'r Oen, yn cynnwys Hymnau ar amryw Destunau o'r ysgrythyr lân."

Yr awdwr oedd Dafydd Jones, o Gayo, cyfieithydd Salmau Watts. Gwel rhif. 2, 1753.

5. "Llythyr Difrifol at Bechadur, ynghylch Cyflwr ei Enaid. A gyfieithwyd i'r Gymraeg er Budd i'r Cymru. Argraphedig ym Mristo, gan E. Farley, yn y flwyddyn 1754."

1755.

1. "Prif Addysg y Cristion. Y rhan Gyntaf, Sy'n cynwys, i. Cyngor difrifol

i Rieni faethu eu Plant yn ofn, ac Addysc yr Arglwydd. ii. Ysponiad Byrr ar y Catechism. iii. Ychwaneg ynghylch Sacrament y Bedydd. iv. Addysg ferr ynghŷlch Confirmasiwn, neu Fedydd Esgob. v. Eglurhâd Sacrament Swpper yr Arglwydd, &c. Yr ail ran, sydd yn cynwys, i. Cadw yn sanctaidd a chrefyddol Ddydd yr Arglwydd. ii. I fynŷch Gymuno. iii. I ymddwŷn gyda pharchedig ofn 'n Nhŷ Dduw, sef yr Eglwys. iv. I arfer Enw Duw gŷda pharch yn ein hymddiddanion cyffredin. v. Cyngor yn erbyn Pechod o feddwdod. vi. Yn erbyn dywedyd Celwydd. vii. I ymarfer y mawr Ddyledswydd o weddio mewn Teuluoedd, mewn Dull o amryw Lythyrau oddiwrth Weinidog o Eglwys Loegr at êi Blwyfolion. O gyfieithiad Edward Wynne, Ciwrate Llanaber. Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Cotton, a J. Eddowes. M.DCC.LIV."

Yr awdwr oedd drydydd mab i Ellis Wynne, ac y mae yn niwedd y llyfr "Hymnau a Charolau, o waith Mr. Ellis Wynne, o Lâsynŷs."

2. "Welch Piety: Or, A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, From Michaelmas 1754, to Michaelmas 1755. To which are annexed Testimonials Relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. MDCCLV."

3. "Catechism Byrr a Buddiol. Wedi ei gymmeryd (gan mwyaf) o'r Saesoneg. Argraphwyd ym Mristo, gan E. Ffarley, yn y flwyddyn 1755."

1756.

1. "Rhesymmau Protestant, Pa ham na fyddai yn Babist, mewn ffordd o Gwestiwn ac Atteb. Gwedi ei gyfieithu o'r seithfed Argraphiad ar hugain yn y saesoneg, er Budd i'r Cymru. Argraphedig ym Mristo gan E. Ffarley, yn y flwyddyn 1756."

2. "A Treatise on the Medicinal Mineral Waters of Llandrindod, in Radnorshire, South Wales; with some remarks on Mineral and Fossil Mixture, in their native veins and beds; at least as far as respects their influence on Waters. Dy Diederick Wessel Linden, M.D. Lond. 1756."

3. "Hyfforddiadau Eglur i'r jeuaingc a'r Anwybodus; yn cynwys Eglurhâd hawdd a chryno o Gatechism yr Eglwys; wedi ei Gymhwyso i ddeall a choffadwriaeth y Rheini o'r synwyr salaf: Gan Esgob Synge. Ac wedi ei gyfieithu o'r seithfed Argraffiad. Gan L. Anwyl, Vicar Abergele. Mwythig: Argraffwyd gan T. Durston."

4. ¶ "Y Sacrament a'r Aberth Cristionogol."

Fe allai mai nid yma y dylai fod—nid oes gwyneb-ddaien i'r un sydd yn ein llyfrfa. Deallwn wrth y rhagymadrodd mai gwaith Daniel Brevint, D.D. ydyw. Y mae y Parch. J. Wesley yn rhoddi canmoliaeth uchel iddo.

5. ¶ "Cyfoeth y Cymru, &c. Argraphwyd yn y Mwythig gan Thos. Durston."

Y trydydd argraffiad. Gwel rhif. 5, 1688; a rhif. 6, 1714.

6. "Welch Piety: or, A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, From Michaelmas 1755, to Michaelmas 1756. To which are annexed, Testimonials relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. MDCCLVI."

7. "Golwg ar Deurnas Crist, Neu, Grist yn bob Peth, ac ymhob Peth, &c. O Waith W. Williams. Argraphedig ym Mristo gan E. Ffarley, yn y flwyddyn 1756."

8. "Testament Newydd Ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Argraphwyd yn y flwyddyn MDCCLVI."

Nid oes enw argraffydd; ond y mae hysbysiad tu fewn i'r clawr, am siop "J. Eddowes, Gwerthwr Llyfrau, ac Argraphydd, yn yr Heol a elwir High Street, yn y Mwythig." Nid gwanwyniad yn blaenori y pennodau ynddo.

9. ¶ "Cynhwysiad byr O Feddyliau'r Eglwys a ymgorpholodd dan y drefn hon, yn Sir Fonwy. Pa un sy'n ymgyfarfod yn bennaf, yn y Neuadd, yn y Pant-têg, gerllaw Pont-y-pool: yn agos i'r môdd y Proffeswyd hwynt ar Ddydd ein Hordeinassiwn, sef Dydd llun y Sulgwyn, 1756. Argraphwyd yn y Bala gan John Rowlands."

1757.

1. "Tystiolaeth y Credadyn am ei hawl i'r Nefoedd, Neu, Gynnig byr tuag at Gysur Cristnogol, Neu lawenydd ysbrydol. Ymha un y dichon y Cristion wneuthur allan ei hawl i'r Etifeddiaeth Nefol, &c. A gyfieithwyd gan Josuah Thomas. Argraphwyd yng Nghaerfyrddin, gan E. Powell, yn y flwyddyn 1757."

2. "Y Gareg Wen. Pregeth ar 2 Pedr i. 10. Gan Timothy Thomas."

Gweinidog y Bedyddwyr, yn Aberduar, ydoedd Mr. Thomas, a brawd i Josuah Thomas uchod, awdwr "Hanes y Bedyddwyr." Y mae hanes bywyd Mr. Thomas yn y "Seren Gomer," am Ionawr a Chwefror, 1823."

3. "Welch Piety: Or, A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, From Michaelmas 1756, to Michaelmas 1757. To which are annexed, Testimonials Relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. MDCCLVII."

4. ¶ "Y Gwir Ddoethineb, Neu, Bregeth, &c. Gan Theophilus Evans, P. Llanddulas, Aber-caessin, &c. Argraphwyd yn y Mwythig gan Thos. Durston."

5. ¶ "Aleluia Drachefn: Neu, Dair Rhan o'r Hymnau a Gyfenwid Ffarwel Weledig, &c. Wedi eu hargraphu yn un Llyfr, a'u Diwygio. Gan W. William. Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth dros yr Awdwr gan Ioan Daniel."

6. ¶ "Gweledigaethau y Bardd Cwsg. Amwythig, Argraphwyd gan Thos. Durston."

Yr ail argraffiad, tybygid. Gwel rhif. 6, 1703.

1758.

1. "Pererindod ysprydol o'r Aipht i Ganaan, tan rith breuddwyd. O Gasgliad y Pererin o waith hunan-ymholiad, yn Nyffryn ystyriaeth. Argraffwyd tros Parch. David Jones, o Bont-y-Pwl, Caerfyrddin."

2. "Dull Priodas Mab y Brenin Alpha—Dull Priodas ysprydol rhwng Siloh a Sion, yn dangos Tragwyddol gariad Siloh, Mab y Brenin Alpha, at ferch yr hen Amoriad. Sef ail ran o'r Pererin ysprydol o'r Aipht i Ganaan. Argraffwyd yn y Mwythig, Tros Evan Ellis, o Blwyf Llanfihangel, yn sir Ddimbech, gan J. Cotton a J. Eddowes, 1758."

3. "Hanesion o'r hên oesoedd, sef, i. Dechreuad y Byd; ii. Ymddyddanion o'r Cynfyd; iii. rhwng Duw ac Adda; iv. Rhwng Satan, y sarph ac Efa; v. Rhwng Duw a Noah. O waith Thomas Williams, Merchant Taylor, o Dâl y Bont, yn agos i fangor. Rhif. i. Printiedig yn Llundain."

4. "Welch Piety: Or, A Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, From Michaelmas 1757, to Michaelmas 1758. To which are annexed Testimonials Relating to the Masters and Scholars of the said Schools. In a Letter to a Friend. London: Printed by J. Oliver, in Bartholomew-Close. MDCCLVIII."

5. "Aleluwia, Neu Gasgliad o Hymnau. O waith William Williams, Gweinidog o Eglwys Loegr. Y Drydedd Argraphiad. Argraphwyd ym Mhristo gan E. Ffarley a'i Mab, yn y flwyddyn M,DCC,LVIII."

6. "Lloffion Prydyddiaeth, sef Ynghylch chwech a deugain o Ganiadau duwiol. O waith Mr. Rees Prichard, Gynt Ficcer Llanymddyfri. Argraphwyd yn Llundain, gan Ioan Olifer. M,DCC,LVIII."

1759.

1. "Dewisol Ganiadau yr oes hon, yn ddwy rann, y rhann gyntaf sydd yn Englynion, Cywyddau ac Awdlau, o waith yr Awduriaid Goreu yn yr oes Bresenol. Yr ail ran. Carolau Plygain a cherddi Newyddion na fuont yn argraphedig erioed o'r blaen; o waith Llawer o Beirdd Cymru. A gasglwyd ac a Gyfansoddwyd gan Hugh Jones, Llangwm. Argraphwyd yn y Mwythig."

Dywedir y bu tri argraffiad o'r llyfr hwn. Yr oedd Hugh Jones o Langwm, Dafydd Jones o Drefriw, ac Ellis Robert, y *cowper*, yn gyfoeswyr, ac yn gyfeillion gwresog. Yr oedd y tri yn grach-brydyddion, y tri yn hoff o gwmni Syr John Heidden, a'r tri yn fath o ddigrifwyr—canent yn ddifrifol a chellweirus, fel y byddai y cwmni; ac yn aml gwnaent bethau crefyddol yn wawd. Y mae eu gwaith yn gymysg o bob athrawiaeth, a llawer o sawr Babaidd ar garolau Hugh Jones. Gwel y "Gwyliedydd," Mai, 1827, tudal. 149; a Chwefror, 1828, tudal. 59.

2. "Y Prif Feddiginiaeth, sef Physygwriaeth yr oesoedd Gynt, Neu ffordd hawdd a Naturiol i jachau y rhan fwyaf o Glefydau. Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg, allan o'r pummed argraffiad yn Saesoneg, er lles i'r Cymru. Argraffwyd yn y Mwythig ac ar werth yno gan Stafford Prys Gwerthwr Llyfrau. 1759."

Wrth y Rhaglythyr y mae "J. E."—h.y., John Evans, o'r Bala; ac wrth y Rhagymadrodd y mae "J. W."—h.y., John Wesley; canys cyfieithiad ydyw o'r llyfr a elwir "*Wesley's Primitive Physick*," wedi ei gyhoeddi a'i gylchdaenu gan, ac ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig, un a deugain o flyneddau cyn i ddilynwyr John Wesley ddechreu llafurio yn Gymraeg yn Nghymru.

4. "Y Gareg wen, Neu, Draethawd bychan, ymherthynas i Sicrwydd; ymha un yr amlygir, 1. Fod Sicrwydd yn Gyrhaeddadwy yn y bywyd hwn. 2. Sicrwydd o ba beth sydd gyrhaeddadwy. 3. Yr angenrheidrwydd i ymofyn am dano, a'r budd o'i gael. 4. Pa fodd i'w gael. Gan Timothy Thomas."

Gwel rhif. 2, 1757. Tybygid mai y bregeth hòno, wedi ei helaethu i draethawd, yw yr uchod.

5. "Gwagedd Mebyd a Ieuengtyd, &c. Gan Daniel Williams, D.D. Y drydydd Argraphiad. Llundain, Argraphwyd yn ol cyfarwyddiad Ewyllys diweddaf yr Awdwr. 1759."

Gwel rhif. 1, 1739. Nid ydys yn cofio i ni weled ond y ddau hyn o'r tri.

6. ¶ "Blodeugerdd Cymru, sef Casgliad o Caniadau Cymreig gan amryw Awdwyr o'r oes ddiweddaf. Yr hwn a gynnwys draethiadau Duwiol, a Diddanol; y rhai na fuont yn gyhoeddedig mewn Argraph o'r blaen. O gynnulliad David Jones o Drefriw. Argraphwyd yn y Mwythig ac ar werth yno gan Stafford Prys, Gwerthwr Llyfrau. ☞ Bydded hysbys i'r Cymru, fod Llyfr Dewisol Ganiadau yr oes Hon, yn awr yn yr Argraphwasg, ac a fydd yn barod ynghylch Gwyl Mihangel, 1759. Pris 3*s*."

Fe allai y dylasai hwn fod flwyddyn yn ol; nid oes genym ond yr hysbysiad uchod i'n harwain i amseru y ddau y flwyddyn hon.

7. "Siccrwydd Ffydd, wedi ei agoryd a'i gymhwyso; sef, Sylwedd amryw Bregethau ar *Heb.* x. 22. Gan y Parchedig Ebenezer Erskine, Athro 'r Celfyddydau, Gweinidog yr Efengyl yn Sterling, yn Scotland. Gan William Williams, Gweinidog o Eglwys Loegr. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Evan Powell, yn Heol y Prior, yn y flwyddyn, 1759."

Y mae yn ei ddiwedd Hymn gan D. R.—Daniel Rowlands, Llangeitho, yn ddiau.

8. "Traethawd ar y Wisg Wen ddisglaer, Gymmwys i fyned i Lys y Brenin Nefol; sy'n cael ei gwisgo am y Dyn Noeth Truenus, &c. Gan Timothy Thomas. Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr; gan E. Powell, 1759."

9. "Pererindod ysbrydol o'r Aipht i Ganaan, Tan rith Breuddwyd. O Gasgliad y Pererin, allan o waith Hunan-ymholiad, yn Nyffryn ystyriaeth. Argraph-

wyd yn y Mwythig, gan Stafford Prŷs, tros Evan Ellis, o'r Bryn-caled, Ymhwyf Llangwm, yn Sir Ddimbech. MDCCLIX."

Ailargraffiad. Gwel rhif. 1. 1758—hwnw yn y Deheu, a hwn yn y Gogledd.

10. "Myfyrdod y Claf, o waith y Parchedig Peter Williams. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Evan Powell."

11. "Egwyddorion y Grefydd Gristionogol yn Gymraeg, &c. Mristol, Argraphwyd gan John Grabham. 1759.

Yr awdwr oedd Abel Morgan, meddai "Hanes y Bedyddwyr."

12. "History of Modern Enthusiasm, By T. Evans."

Gwel rhif. 10, 1752. Hwn, meddai Theo. Jones, awdwr "*History of Breconshire*," wrth Syr Samuel R. Meyrick, awdwr "*History of Cardiganshire*," ydoedd gwaith diweddaf awdwr "Drych y Prif Oesoedd." Buasid yn chwanegu yma ychydig o'i hanes, oni buasai ei fod wedi ei roddi allan mor ddiweddar, yn gysylltiedig âg argraffiad newydd destlus Mr. Spurrell o'r "Drych." Yr unig ddiffyg yw na buasai y casglydd wedi rhoddi rhestr o holl weithiau "Ficar Llangammarch;" ond anweswn y dyb ein bod wedi gwneyd i fyny y cyfryw ddiffyg yn ein herthyglau hyn.

13. "Constitution of the Old Cymmrodorion Society, with List of Members, 1759." 4to.

14. "A plain disquisition on the indispensable necessity of fortifying and improving Milford Haven; containing likewise an attempt to demonstrate the advantages that will arise from it to this nation, with some hints on the prosecuting schemes. To which is anexed an exact map of the harbour, drawn after a very late Survey. Addressed to a patriotic member of Parliament. London, 1759." 8vo.

15. "History of Great Britain from the first inhabitants thereof, till the death of Cadwalader, last king of the Britains, &c. By John Lewis, Esq., Barister at Law." Folio.

1760.

1. "Y Gymraeg yn ei Ddisgleirdeb, neu Helaeth Eirlyfr Cymraeg a Saesnaeg, yn cynwŷs llawer mwy o eiriau Cymraeg nag sŷdd yn Eirlyfr y disgawdr Sion Dafis o Gymraeg a Lading. Yn gyntaf yn hysbysu meddwl y Gymraeg ddieithr, Drwŷ Gymraeg mwy cynnefinol; yr hŷn sŷdd gyfleus, a deunyddiol iawn i bawb a ewŷllysiant ddeall a ddarllenont yn Gymraeg. Yn ail, yn dangos y Gwir Saesnaeg i bob gair Cymraeg; ac yn ddilynol y modd i Gysyllty, sef, (ysbelio) pob gair yn gŵir yn y Cymraeg a'r Saesneg. Ac a helaethwyd âg argraphyddol henwau gwledydd, &c. A gasglwyd ar y cyntaf drwy ddirfawr boen a diwydrwydd Thos. Jones, ac yn awr a ddibenwyd gan Richard Morris, o lanmihangel Tre 'r Beirdd, yn sir fôn. Argraffwyd yn y Mwythig."

2. "Pregeth yn dangos Beth yw Natur ac anian y Pechod yn erbyn yr Ysbryd Glan. Gan T. Evans, Vicar Dewi, yn Aberhonddu. Argraffwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Stafford Prys, yn y flwyddyn 1760." 22 tudal.

Naill y mae yr hysbysiad cysylltiedig â rhif. 12, 1759, yn gam-ddywediad, neu dylasai hwnw fod yn ddiweddarach.

3. ¶ "Porthor ysbrydol, sef Galwad i bawb ei ymgeisio a Duw. Gwedi ei osod allan gan John Prys. Argraffwyd yn Ngwrecsam, gan R. Marsh."

4. "Agoriadau Datguddiad Creadigaeth y Nefoedd. Gen. i. viii. v. Ar Angylion, y Cerubiaid, a'r Seraphiaid. Ex. 37. 7, 8, 9. v. Esay 37. 16. Gen. i. 19. Yspryd Duw yn ymsymyd ar y Dyfroedd. Ordinhad yr haul, a'r lleuad, y ser, a'r Goleuni ar Tywyllwch. Y Trydydd 'Sgrifeniad o waith yr Awdwr, sef Thomas Williams, Merchant Taylor, Tâl y Bont, Nesa i fangor fawr, yngwynedd. Bodedeurn, Argraffwyd."

Gwel hefyd rhif. 3, 1758, gan yr un awdwr.

5. Ymbarotoad Tu ac at ddedwyddol a Tragywyddol Wynfyd y Nefoedd. Neu,

Myfyrdodau ar bob dydd o'r wythnos. Argraphwyd yn y Mwythig, gan Stafford Prys, 1760." 76 tudal. 12plyg.

6. "Un ymadrodd ar bymtheg ynghylch Iesu Grist, A'u Prynedigaeth trwyddo ef; Neu ynghylch ail Erthyg y Credo: Allan o bregethau y Gwir barchedig Ordinary y brodyr yn Berlin, yn y flwyddyn 1738. O gyfieithiad Evan Williams. (Cymharwyd y cyfan a'r Argraffiad diweddaf yn yr Allmanaeg) Anghwanegir hefyd rai Hymnau. Llundain Argraffwyd."

7. "LLYFR, Gweddi-Gyffredin, a Gweinidogaeth y Sacramentau a Chyneddfau a Seremoniau Ereill y Eglwys, Yn ol Arfer Eglwys Loegr: A Psalmau Dafydd Fel y maent bwyntiedig i'w Darllain a'u canu yn yr Eglwysydd ynghyd a Nam yn un deugain Erthyglau Crefydd. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Stafford Prys, Gwerthwr Llyfrau, 1760." 12plyg.

8. "Amddiffyniad bedydd y Crediniol, gan G. Davies, a D. Thomas."

Achlysurwyd y llyfr uchod gan yr hyn a ysgrifenasai Mr. Griffith Jones, Llanddowror, ar fedydd plant yn ei Gatecism. David Thomas ydoedd weinidog y Bedyddwyr yn Nhastell-newydd-yn-Emlyn. Dywed "Hanes y Bedyddwyr," fod "teimladau dadleuol wedi codi mor uchel rhwng pobl yr Eglwys Sefydledig a'r Bedyddwyr y pryd hyny, fel y cymhellwyd perchenog y lle y pregethent yno, i'w cau allan oddiyno, sef o'r Mŵr, yn mhlwyf Lacharn. Ofnir fod gan yr offeiriad law yn hyn."

9. "Traethawd Defnyddiol am Ben-Arglwyddiaeth Duw, a'i Gyfiawnder ynghyd a'r Pethau Pwysfawr sy'n tarddu oddiwrth ei Ben-arglwyddiaeth ef, sef; Etholedigaeth, Prynedigaeth, Galwedigaeth effeithiol, a Pharhad mewn Gras. O waith Mr. Eliseus Cole, yn Saesoneg. Bristo, Argraphwyd gan John Graeham ac William Pine, yn Heol y Gwîn, 1760."

Gwel rhif. 2, 1711. Y mae yn rhagflaenu yr argraphiad, "Annerch at y Darllenydd," gan "Peter Williams," lle y dywed ei fod o'r wythfed argraffiad Seisonig; tra yr oedd y llall o'r chweched argraffiad. Felly cyfieithiad newydd oedd yr argraffiad hwn; ac mae yn dra thebygol mai Peter Williams oedd y cyfieithydd.

10. "Archaeologia Brittannica. By Edward Llwyd."

Ailgyhoeddiad ydoedd hwn o rhif. 4, 1707, gyda chwanegiadau o amryw lythyrau Mr. Llwyd ar gloddiadau, gan J. Hudderford, 1760.

11. "Lithophylacii Britannici Ichnographia, &c. By Edward Llwyd."

12. ¶ Yr Ymarfer o Lonyddwch. I gyfarwyddo Cristion pa fodd i fyw yn llonydd yn y Byd trafferthus hwn. Gan George Webb. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Iago ab Dewi, o'r pummed Argraffiad yn Saesonaeg. Argraphwyd yn Modedern yn sîr Fôn, gan John Rowland, tros Ellis Jones.

Argraphwyd hwn o argraffiad gwallus Caerfyrddin. Gwel rhif. 1, 1730, heb ei ddiwygio, eithr yn llawer mwy gwallus na'r waith cyntaf.

13. ¶ "Rhai Hymnau: A gasglwyd ynghyd er Anogaeth a diddanwch Teulu Sion. Argraphwyd 'Modedern yn Sir Fon, gan John Rowland; tros Richard Jones, a John Roberts."

1761.

1. Rheolau a Threfniadau yr Unol Gymdeithasau a Sefydlwyd yn Llundain, Bristo, &c. Bala, Argraphwyd gan John Rowland."

Rheolau cymdeithasau y Methodistiaid Wesleyaidd yw y rhai hyn, wedi eu cyhoeddi a'u lledanu ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd, 39 o flyneddau cyn i'r corff Wesleyaidd ymsefydlu yn Gymraeg yn y Dywysogaeth.

2. "Byrr Hanes am fywyd a marwolaeth Nathaniel Othen, yr hwn a saethwyd i farwolaeth y'nghastell Dover, y 26 o hydref, 1757. A gyfieithiwyd gan John Evans. Argraffwyd yn y Bala, gan John Rowland."

3. ¶ "The Wandering Jew, neu 'r Crudd o Gaersalem."

4. ¶ "Coppi o Lythyr yr hwn a gafwyd Tann Garreg, ymmha un y mae amryw Gynghorion da a buddiol; eithr yn fwyaf enwedigol ynghylch cadw yr Sabboth."

5. "Marwnad y Parchedig Mr. Griffith Jones, Gweinidog Llanddowror a Llandeilo Fach; yn Shir Gaerfyrddin. Yr hwn a fu Farw yr 8fed o Ebrill, 1761. Colled pa un ddylai fod o fawr Alar i Bawb trwy Gymru. Ynghyd a Gair o Annogaeth i'r Bendefiges Anrhydeddus Madam Bevans, I ddwyn yr achos mawr daionus yn y blaen; Sef yr Ysgolion rhad. Gan William Williams. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Evan Powell, yn Heol y Prior, 1761."

6. "Piety the Best Portion. By W. Herbert."

Awdwr y llyfr hwn oedd bregethwr ymhlith y Bedyddwyr. Yr ydoedd yn anneddu yn Brechfa, yn aelod yn Nghedwstan, a bu beth amser yn weinidog yn Maes-y-berllan, yn sir Frycheiniog. Wedi ei farwolaeth y cyhoeddwyd y llyfr, canys bu efe farw yn 1742.—"*Hanes y Bedyddwyr*."

7. "Marwnad ar ol Mari, Gwraig Richard Howel, o Ben-y-Deintir. Yr hon a derfynodd ei Hoes y 4 o Chwefror, 1761. Gan William Jones. At ba un y 'chwanegwyd Hymn Newydd, &c. Argraphwyd yn Nghaerfyrddin, gan Rhys Tomos, yn Heol Awst, 1761."

8. "Cofiadur Prydlon Lloegr, &c. A gyfieithwyd o'r Saesneg i'r Gymraeg, gan Mr. E. Ellis, Gweinidog Eglwys Rhos a Llandidno. Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, yn y flwyddyn, 1761."

Hanes un Mr. Richard Brightly, gweinidog perthynol i'r Eglwys Sefydledig, yr hwn a fu farw yn ei areithfa ydyw.

9. "Llythyr Oddiwrth Gymanfa O Weinidogion, At yr Eglwysi Y Perthynent iddynt. Caerfyrddin, Argraffwyd; Gan Evan Powel, yn Heol y Prior, 1761."

1762.

1. "Rhodd oreu Rhieni i'w Plant. i. Yn cynnhwys Catechism yr Eglwys. ii. holion ac attebion, allan o'r ysgrythyr Lân. iii. Buchedde 'r Eglwyswyr, &c. Mwythig."

2. "Pantheologia, Neu Hanes Holl Grefyddau'r Byd, &c. At yr hyn y chwanegwyd Nodau yn rhoi Hanesion am amrywiol iawn o wledydd yn Europe, Asia, Affrica, ac America; eu sefyllfa, eu marsiandiaeth, eu Ehangder, ynghyda moesau, dysc, arferion, ymborth, a dill gwisgoedd, a threfn bywyd, eu Trigolion; Wedi eu dynnu allan o'r awdwyr diweddaraf, Goreu, a Chywreiniaf, Gan W. Williams, Gweinidog o Eglwys Loegr. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ev. a Dav. Powell, yn Heol y Prior, yn y flwyddyn 1762."

Y mae y nodyn canlynol ar waelod tudal. 499:—"☞ Argraphwyd o hyn yma allan gan E. Evans, yn Aberhonddu." Bu y llyfr hwn dair blynedd ar ddeg yn dyfod o'r wasg—yn rhanau anghyfartal. Y mae yn llyfr trwchus, yn cynnwys 654 o dudalenau 12plyg.

3. "Pumtheng Araith, ar Amryw Destunau a Osodwyd allan mewn Cymdeithas gyhoedd wrth Arwydd-arf y Frenhines, yn Heol y Porth newydd yn Llundain. Gan T. Wetherall. Wedi ei gyfieithu er lles i'r Cymru. Gan y Parchedig Mr. Rowland, Gweinidog yr Efengyl yn Llangeitho. Argraphwyd yn Nghaerfyrddin: gan Rhys Tomos, yn Heol Awst, 1762."

4. ¶ "Diferyn dewisol o fêl, a'r Graig Crist. Neu air byr o Gynghor i Sant a Phechadur. Wedi ei gyfieithu o'r 42 argraffiad: fe werthwyd o hono yn Saesneg, chwe ugain mil. At ba un y 'chwanegwyd Hymn am Gariad Crist, o waith y Dr. Watts. Caerfyrddin argraffwyd."

Gwel rhif. 11, 1740.

5. "Cofrestr o Gymdeithas y Cymrodorion yn Llundain: Gwyl Ddewi, 1762, a sylfaenwyd Fis Medi 1751, er anrhydedd eu Gwlad a'u Hiaith, Cynnyddiad cyfeillgarwch yn eu plith eu hunain, a Gwybodaeth anianol ym mhlith y Cymry yn gyffredinol: ac a ymgyfarfyddant yn Nhafarn yr Hanner lleuad yn Cheapside, yn yr hwyr, y Mercher cyntaf o bob mis trwy'r Flwyddyn. Llundain argraffwyd."

6. "Dwy Ffurf o Weddi. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Periglor

Llanddowror, yn sir Gaerfyrddin. Yr ail Argraffiad. Llundain, Argraffwyd gan I. a W. Olifer, 1762."

7. "Y Mor o Wydr. Gan W. Williams. 1762."

Y mae yr argraffiad hwn yn cae ei roddi yma ar awdurdod y Parch. T. Charles, yn ei Gofiant o hono yn yr hen "Drysorfa:" llyfr ii.

8. ¶ "Traethawd Byr yn dangos beth yw'r Anedigaeth Newydd. Ynghyd a difrifol annogaeth i ymofyn am dani. A gyfiaethwyd i'r Gymmraeg er Bydd i'r Cymru. Argraphwyd yn y Bala gan John Rowland tros John Roberts." 16 tudal. 12plyg.

Y mae yn terfynu—"dy Gyfaill yn yr Arglwydd. W. A." Y John Roberts a'i cyhoeddodd ydoedd "Sion Rhobert Lewis," yr Almanaciwr, tybygid.

9. "The Christian Covenant, or the Baptismal Vow, as stated in our Church Catechism, &c. By the late Rev. Mr. Griffith Jones. The Second Edition. London: Printed by J. and W. Oliver, in Bartholomew-Close, near West-Smithfield. MDCCLXII."

10. "The Christian Faith, or the Apostles' Creed Scripturally explained. By Questions and Answers. By the late Rev. Griffith Jones. London: Printed by J. and W. Oliver, in Bartholomew-Close, near West-Smithfield. MDCCLXII."

11. "Cydymaeth i'r Allor, yn dangos Natur ac Angenrheidrwydd o ymbarotoi i'r Sacrament, mewn trefn i dderbyn yn deilwng y Cymmun Sanctaidd. Ymmha un y Profir yr holl ofn a'r arswyd (ynghylch Bwytta ac yfed yn annheilwng, ac i fod yr Euog o Ddamnedigaeth i ni ein hunain wrth hyny) yn ddisail; ac yn anwarantedig, &c. Gwedi ei gyfieithu i'r Cymraeg, gan L. E. Argraphwyd yn y Mwythig, gan Stafford Prys. 1762."

Arwyddir "Y Rhag Ymadrodd" gan "W. V." Arferid cydrwymo hwn â rhif. 7, 1760. Gwel rhif. 3, 1715; a rhif. 4, 1753.

12. "Y Drydydd Ran o Ganiadau Sion; neu Hymnau ac Odlau Ysprydol. Gan John Thomas. Bristol: Argraphwyd gan E. Farley. 1762. Pris Tair Ceiniog."

Yr Awdwr oedd weinidog yr Ymneillduwyr yn Rhaiadrŵy, a'r Caebach, yn sir Faesyfed.

13. "Proposal for enriching the principality of Wales, humbly submited to the consideration of his countrymen, by Giraldus Cambrensis. Gloucester. 1762." 8vo.

1763.

1. "Diddanwch Teuluaidd, y Llyfr cyntaf: yn cynnwys gwaith y Parch. Mr. Goronwy Owen, Lewis Morris, Esqr., a Mr. Hugh Hughes, &c. Beirdd Mon Mam-Gymru, ac aelodau o Gymdeithas y Cymrodorion. O gasgliad Hugh Jones, o Langwm, C.C.C. Llundain, Argraffwyd gan William Roberts, 1763."

2. "Troedigaeth Atheist, neu lygaid yr Angrhedadyn wedi ei Hagor, Gan roddi Cyflawn a Gwir Hanes Mr. Wright, Gwr Bonheddig, yr hwn oedd yn byw yn Nhref Guernsey, efe oedd wir atheist, ac ni chynhwysau ef i un o'i Blant i fyned i'r Eglwys, gan fynych adrodd iddynt fod Pob peth yn dywad wrth Natur. Yn dangos fel yr ymddangosodd Angel i'w Eneth, yr hon oedd ddeg oed, &c. A gyfieithwyd gan John Vaughan, Dimbech. Argraphwyd yn y fl. 1763."

3. "Cyngor Difrifol i gadw Dydd yr Arglwydd. Argraffwyd yn Llundain, gan W. Roberts, ac a werthir gan Hugh Jones, o Langwm."

4. "Coffadwriaeth y Cyfiawn a'i Ddedwyddwch, neu Farwnad Joseph Thomas, o'r Dyffryn ym Margam, yn Sir Forganwg. Yr hwn a ymadawodd ar Byd hwn, Mai 17, 1763, &c. A gyfansoddwyd gan Dafydd William. Caerfyrddin: Argraphwyd gan E. Powell, yn Heol-y-Prior, 1763."

5. [Rhyw Lyfr gan John Dafydd, Gweinidog Capel Pentre'r Fidog.]

Cyfeirir ato yn y "Diddanwch Teuluaidd."

Difyrwch i'r Pererinion o Fawl i'r Oen. Neu Gasgliad o Hymnau ar amryw

Ystyriaethau allan o'r Ysgrythyr Lan. Gan Dafydd Jones, o Gayo. Caerfyrddin: Argraphwyd dros yr Awdwr, gan Ev. Powell, yn Heol-y-Prior, 1763."

7. "Ateb Philo-Evangelius i Martha Philoper. Gan William Williams, Gweinidog yr Efengyl. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Rys Tomas a I. Ross, yn Heol Awst, 1763. Lle y dygir Argraphyddiaeth ym mlaen yn ei holl rannau ar Lytherenau Newyddion yn y dull mwyaf cywrain."

Yn sicr y mae yn bryd bellach terfynu yr erthygl hon. Yr un cyfnod yw hwn yn barhaus; gan hyny, yr ydys yn terfynu yn awr er mwyn deheurwydd cyfartalwch yr erthyglau, yn hytrach na bod dim newyddion yn y dyfodol. Y mae yr ysgrifenydd yn dymuno cyflwyno ei rwymedigaeth mwyaf gostyngedig i'r cyfeillion hyny a sylwasant ar gamgymeriadau neu wallau a welsant, ac a roddasant hysbysiad o'r unrhyw; ac y mae hefyd yn taer ddymuno iddynt beidio gadael i unrhyw wall a ganfyddant fyned heibio, heb roddi hysbysiad o hono. Yr ydys yn gwneyd cofnod o honynt, i'w gosod mewn trefn yn niwedd yr erthygl olaf.

---

# BLODAU GWLAD ESTRON.

[YR oedd yn ein bryd, er's tro, i anrhegu darllenwyr y "Traethodydd" âg ambell swp o "flodau" wedi eu cynnull o erddi persawrus yr awen Seisneg. A dyma ni yn cyflwyno iddynt ein pwysi cyntaf. Lle nas gellid cael hyd i enw yr awdwr gwreiddiol, rhoddwyd y gair "dienw" i sefyll am dano.]

## I ADERYN PENAUR A NEWYNWYD I FARWOLAETH YN EI GAWELL.

GAN COWPER.

Bu amser pan oeddwn mor rhydd a'r awelon,
Ar hadau 'r ysgallen ymborthi a wnawn;
Fy niod oedd gwlithoedd grisialaidd y wawrddydd:
A sefyll pan fynwn ar bob cainc a gawn—
Fy ffurf yn foneddig, mewn harddwisg aneilydd,
A'm seiniau perorol bob amser yn newydd.

Ond ceinblu ardderchog, per seiniau dymunol,
A ffurf hardd, nid oeddynt ond ofer i gyd;
Byr, byr, oedd eu cyfnod, o herwydd fe 'm daliwyd,
Ac yma, yn gaeth, fe 'm newynwyd o'r byd;
O'r gwyfraidd garchardŷ, fy anadl fechan,
Mewn marwol och'neidiau ddiangodd yn fuan.

I ti, dyner wladwr, y rhoddaf fy niolch,
Am frysio, fel yma, derfyniad fy ngwae;
Creulondeb mwy anfad nis gellid ei ddangos,
Ond profi i mi 'n waredigaeth y mae:
Myfi, yn ddiammhau, pe gwnelsit ei hebgor,
Yn hir eto fuaswn i ti yn garcharor.

## BYDD DYNER WRTH DROSEDDWR.

GAN FREDERICK G. LEE.

BYDD dyner wrth droseddwr!
Ni wyddost â pha rym
Y daeth y ddu demtasiwn,
Pryd na feddyliai ddim;

Ni wyddost pa mor galed
Fu'r ymdrech, nes i awr
Ei wendid ddyfod arno,
Ac yna cwympo i lawr!

Bydd dyner wrth droseddwr!
  O! na ddirmyga 'i friw;
Os llygrwyd ef gan bechod,
  Dy frawd er hyny yw;
Etifedd o'r un fendith,
  A'ch Tad eich dau yr un:
Os cwympodd ef, 'rwyt tithau
  Yn ddigon llesg dy lun.

Bydd dirion wrth droseddwr!
  Cân heb i ti ymroi
I'w faeddu, ai nid digon
  Fod heddwch wedi ffoi?

Blin dynged iddo 'n ddiau,
  Yw dwyn ei galon drom;
Gall rhai dedwyddach hebgor
  Yn hawdd eu geiriau ffrom.

Bydd dirion wrth droseddwr!
  O'r ddreiniog ffordd ddidrefn
Gall sanctaidd eiriau cariad
  Eu dwyn yn ol drachefn:
Ah! cofia, i tithau 'n fynych,
  Trwy bechod ddigio 'th Ri;
Bydd dirion wrtho, megys
  Bu 'r Arglwydd wrthyt ti!

## ARWYDDION FFAFRIOL.

DIENW.

Lle gwelir y rhawiau yn loewon,
  A'r dïog gleddyfau yn rhwd,
Carcharau y siroedd yn weigion,
  A'r aml ysguboriau 'n llawn cnwd;
Holl lwybrau 'r eglwysi 'n dreuliedig,
  Gan ymdaith addolwyr dibrin,
A bueirth y llysoedd cyfreithiol,
  Yn tyfu mewn anghof yn chwyn;

Meddygon, trwy bobman yn cerdded,
  A'r ffermwyr yn marchog mewn bri;
Hen oedran yn aml a lliosog,
  A'r ieuainc yn chwyddo mewn rhi:
Cydgasgliad o bethau fel yma,
  Yn eglur amlygu a wna,
Boblogaeth gysurus, a theyrnas
  Yn cael ei llywyddu yn dda.

## O! TORWYD DI YMAITH!

GAN BYRON.

O! torwyd di ymaith yn mlagur dy harddwch;
  Ni roddir trwm weryd i hulio 'r fath wedd,
Ond ar dy dywarchen ymegyr rhosynau
  Cynaraf y flwyddyn, yn arwydd o hedd;
A'r wyllt gypreswydden ei hunan a chwyfia
  Mewn agwedd bruddglwyfus yn ymyl dy fedd.

A mynych hyd lenydd y ffrydlif lân acw,
  Y gwelir dwys alar yn crymu ei phen,
Gan borthi dwfn feddwl â llawer dwys freuddwyd;
  Ac ysgafn y troedia ar hyd y werdd len,
Fel pe bae rhyw berygl i'w cham aflonyddu
  Y marw sy'n huno dan ofal y nen!

Ond ymaith! ni wyddom mai ofer yw dagrau
  Ni sylwir gan angeu ar drallod didrai;
Ond eto, wna hyny ddystewi 'n cwynfanau?
  Neu wneyd i'r galarus wylofain yn llai?
A thithau, yr hwn wyt yn hybu fy ngwaith;
Dy olwg sy'n bruddaidd, a'th lygaid yn llaith.

## PERORIAETH Y CEFNFOR.

DIENW.

Mewn gwylltedd unig, clyw! i fyny
Rhyw swn perorol sydd o'r môr yn dringo,
A'r awyr fel pe 'n crynu rhag dadguddio
  Cyfrinach ddofn y weilgi.

Clyw! eilwaith, isel dwrdd,
Mewn murmur lleddf ar glust y dydd sy'n trengu,
Prin gwnaeth i'th fryd ei bêr wyddfodaeth hòni,
  Ac yna marw i ffwrdd.

Ust! eto enfyn adsain lefn,
Ei chwyddawl fwrlwm o'r gwastadlyfn wyrddli,
Gan daenu mwyth fuddugawl swn oddeutu,
A ffoi drachefn.

O ddyfnfor! gwyddom fod yn nghudd
O fewn dy wyll ddyeithrol ryfeddodau,—
Heirdd emau gwych, yn lluoedd maith gorlathrol,
Y rhai oddiwrth eu llewyrch annaearol
Seiliedig yw dylanwad a phelydrau—
Ddihafarch deyrn y dydd;

A llaw tragwyddawl wanwyn gair
Yn hael wasgaru ei goludog liwiau,
Lle mae y cwrel goed yn chwifio 'u cangau
Dros dywod aur.

Ond gwêd, O ddwfn, diorphwys! pwy
A drigant obry yn dy fyd cyfriniol,
Gan nad yw'r ddyfrllyd fro, â'i grym diffynol,
Yn gallu cadw y llawenydd siriol
A chweg anadlant hwy?

Arwyddlun enwog nerth! a yw
Dy wylltion blant fel ti, mor gain eu hagwedd
Mewn gwisg o rydd anfarwol hyfrydlonedd,
Na ddichon fyn'd yn wyw!

Neu ai fel dynol hynt
A cholyn tanllyd nwyd a gwae'n ymboeni,
Fel eu cartrefle 'u hun, lle mae'n llywyddu
Ystormydd broch, neu heddwch llawn tirion,
Fel rhynga bodd y gwynt?

Ah! fel mae dynol fryd
Yn ffoi oddiwrth fodolaeth hen, dreuliedig,
I geisio cwmni bodau têg, ffurfiedig
O harddach defnydd drud.

Oferedd yw?—y llymrig dònau sydd
Mewn croch foddhad yn uno gyda'r oesau
Sy'n llifo i ffwrdd, gan gadw 'r cyfrinachau,
Orweddant isod yn eu cêl ogofau,
Mewn llwyr ddirgelwch cudd!

### MACHLUDIAD A CHODIAD HAUL.

GAN COWPER.

Ar fachlud haul boed angeu dwys
A'i bwys yn llenwi 'th enaid;
Pan gwyd drachefn, gwel doriad gwawr
Dydd mawr yr adgyfodiad!

---

## LLANFAIR A LLANWRTYD.

Y MAE yn awr yn adeg yr ysgrifenu. Dyma y ffordd y mae y byd yn dangos ei hunan y dyddiau hyn. Cewch olwg ar farn, cymeriad, a hanes y byd yn yr hyn a ysgrifena. Tafla ddirgeloedd ei galon i wyneb y ddalen.

Mae yr ysgrifenwyr yn amlhau bob dydd. Mawr y galw sydd am bapyr gwŷn. Y mae miloedd wrthi â'u holl egni y foment hon, galon, pen, a bysedd, yn parotoi i'r wasg. Cymer, braidd, bob un arno fod yn dipyn o ysgrifenwr, os medr wneyd rhyw lun ar y llythyrenau; ac ysgrifenir bron bobpeth. Os ymwelir â'r dref, neu â'r wlad, caiff y byd wybod: os treulir ychydig ddyddiau ar làn y môr, neu yn nghymydogaeth y ffynnonau,—os dygwydd rhyw ymddyddan rhwng dau yn y cerbyd, neu ar ei ben,—os llithra gair garw neu ledchwith am enwad, person, neu bwnc,—wrth gwrs, rhaid ysgrifenu.

"Os tynir draen—y lleiaf hap
A roir y'mhapyr n'wyddion."

Nid yr un amcan sydd gan yr ysgrifenwr bob amser wrth ddefnyddio ei bin. Weithiau, ysgrifena i argyhoeddi y darllenydd; dro arall, i'w hyfforddi; a phryd arall, i'w ddifyru: ac y mae eisieu pob un o honynt ar y meddwl tuag at ei gadw i fyny yn dymherus a boddlawn. Ceisio gweini ychydig i'r olaf yw ein hamcan yn awr wrth ymaflyd yn ein hysgrifell, i ollwng dros ei blaen ychydig o helynt ein hymweliad â'r ffynnonau sydd yn y lleoedd uchod.

Daethom i Lanfair ar frig noson deg, ganol mis Awst diweddaf. Yr oeddem yn disgyn mewn lle mor ddyeithr a phe disgynasem yn un o fân drefi Unol Daleithiau America. Nid oedd yno neb yn ein hadwaen, na ninnau yn adwaen neb. Yr oedd y dref yn llawn iawn o ddyeithriaid, ac yn fawr ei ffwdan; pob un yno fel y morgrugyn, yn gwylio ei dymmor i gasglu ei damaid. Ar y cae, yn ymyl yr afon, gwelem *set* o fechgyn ieuainc gwisgi yn chwareu "efo'r bêl;" ac ugeiniau o edrychwyr, o bob rhyw ac oed, yn sefyll ger llaw iddynt. Wedi i ni, trwy ddyfal chwilio, gael llety, aethom allan, ac oddiamgylch. Tynwyd ein sylw yn fuan gan dŵr o ddynion oeddent yn sefyll o flaen capel oedd yn wynebu at y cae lle chwareuid y bêl. Cawsom allan fod gŵr dyeithr i bregethu yno. Wedi myned i mewn, gwelem ddyn mawr, tàl, cribgoch, yn codi i fyny yn y pulpud i ddarllen. Yr oedd cryn wahaniaeth rhwng ei gorff a'i lais—llais main, cwynfanus, oedd ganddo: ac er y cwynai ar ei iechyd, cafodd nerth i wneyd cyfiawnder â'r amser. Yr oedd yn pregethu yn go dda, ac yn ddifrifol; a'r gynnulleidfa yn gwrandaw yn astud, ond yn ddystaw iawn; nid oedd *hum* nac *Amen* yn dyfod o un cŵr. Deallem o'r goreu fod chwaeth y pregethwr a'r gynnulleidfa yn wahanol iawn; ac wedi holi, cawsom fod pregethwr da, pert, ac o chwaeth dra choethedig, wedi bod yn aros yno, ac yn pregethu i'r gynnulleidfa am flyneddau, a'i fod wedi eu llunio oll ar ei ddelw; a'r *pregethwr* ganddynt hwy byth wed'yn yw hwnw, neu ei gyffelyb; a dywedent wrthym eu bod wedi taro wrth un eto sydd yn eu hateb i'r dim. Hir oes, a phob llwyddiant iddo ef a hwythau. Aethom allan o'r capel bychan y waith gyntaf a'r olaf, wedi dysgu rhai gwersi newyddion.

Treflan fechan yw Llanfair-yn-Muallt, ar làn yr afon Gŵy, o'r tu deheuol iddi. Y mae yn gorwedd ar lechwedd prydferth, a'i godreu yn cyrhaedd hyd ymyl yr afon. Ymsytha y coedydd tàl, brigfeinion, yn brydferth oddirhwng y tai, ac o amgylch y dref;—rhed yr afon hardd yn llydan a llonydd heibio, i wasanaethu y trigolion, ac i ddwyn ymaith eu holl fudreddi. Y mae capeli gan y pedwar enwad Ymneillduol yn y dref; ond fod y Wesleyaid yn anghyfannedd yno er's tro. Y mae golwg hen iawn

ar y llan a'i mynwent lydan: gwelsom rai ceryg beddau yno â'u dyddiad yn gannoedd o flwyddau oed: gallesid gwneyd cyfrol dda o'r englynion, pennillion, a'r rhigymau, oedd yn gerfiedig arnynt. Y mae yn dref go Seisnigaidd. Cyfarfuasom âg un hen ŵr, tlawd yr olwg arno, yno, a'i wàr yn grymedig dan faich anweledig henaint. Yr oedd yn Gymro diledryw, ac yn berchen ar dafod ffraeth. Dywedai fod y Seisneg wedi disgyn fel cawod o eira drostynt yno. Yr oedd yr un brofiad a'r "Henwr" hwnw a gwynai—

"Mae'n trefni oll yn Saison,
A'r merched fel bon'ddigion."

A barnai am Gymry o waed, calon, a thafod, fod yn hawdd eu rhifo. Yr oedd yr hen ŵr yma yn *garacter* anghyffredin. Dywedwyd wrthym wed'yn, iddo fyned allan o'r capel ar ganol y bregeth, unwaith; a phan aeth un arall allan ar ei ol, gwelai yr hen lanc wrth y bwrdd yn ei dŷ, yn mwynhau ei dê yn hapus. Ac ar ol myned trwy y dasg hòno, aeth yn ol i'r capel i fwynhau y gweddill o'r cyfarfod: a bernid y medrai adrodd mwy o'r bregeth, yn y diwedd, na 'r rhan fwyaf o'r gynnulleidfa. Cawsom lawer iawn o hyfrydwch gyda yr hen ŵr ffraeth, yn gwrandaw arno yn adrodd helyntion yr "hen amser gynt;"—y cyfnewidiadau mawrion sydd wedi cymeryd lle yn y cymydogaethau hyny; ac yn neillduol, gwrandaw arno yn parablu yr hyn a ystyriai yn Seisneg. Meddyliem ei fod am dalu parch cyfartal i'r ddwy iaith, trwy eu defnyddio ar yn ail air: yr oedd yn ei gollwng allan yr un fath a phe buasai wedi gwneyd cawl o'r ddwy ynghyd. Tangnefedd i'r hen Gymro gonest.

Y mae y ffynnon oddeutu milltir a hanner o'r dref, y tu gogleddorllewin, dybygem. Y mae y ffordd tuag ati yn myned dros bont haiarn, gul, a sigledig iawn, sydd yn croesi yr afon, yr hon oedd yn dramgwydd cyffredin i wendid y llestri gwanaf; er nad oedd perygl syrthio i'r afon, oblegid y canllawiau. Y mae y ffynnon yn sefyll ar ysmotyn bychan o las hyfryd, yn nghanol coedwig dew. Y mae yn perthyn iddi dri sugnedydd (*pump*), yn sefyll fel tri throed ystôl, o fewn ychydig droedfeddi i'w gilydd; a dwfr gwahanol yn mhob un o honynt;—yr halenawg (*saline*), yr hwn sydd yn gweithio yn rhyddhaol;—y brwmstanaidd (*sulphur*), at buro y gwaed;—a'r haiarnaidd (*chalybeate*), at gryfhau y gewynau. Cynghorid ni i yfed yr halenawg cyn boreufwyd, y brwmstanaidd rhwng boreufwyd a chiniaw, a'r llall y prydnawn. Y mae yma ddwfr halenawg da, ond y mae hwn yn gymysgedig â'r ddau eraill. Y mae tŷ crwn yn cysgodi y ffynnon; ac uwchben yr ystafell lle mae y sugnedyddion y mae ystafell gron, a bwrdd mawr pedwar onglog ar ei chanol, at wasanaeth yr ymwelwyr.

Os bydd tuedd gyfeillgar mewn dyn, nid hir y bydd wrtho ei hunan "yn y ffynnonau," er y bydd pawb yn ddyeithriaid iddo. Treuliasom ein diwrnod olaf yno yn dra difyrus. Penderfynodd hanner dwsin o honom fyned, ar ol boreufwyd, i ben clogwyn o graig, oedd yr ochr arall i'r afon, yn sir Faesyfed; ac erbyn ein bod yn cychwyn dros y bont, yr oedd yn rhaid caniatäu i dyrfa arall ein canlyn. Yr oedd ein ffordd yn arwain heibio i làn fechan; a throisom i mewn i gael golwg arni. Yr oedd dyddiau henaint wedi ei dàl, druan: yr oedd ei llawr yn friw, a'i choed yn bydredig; ac eisieu yr "ysgub lawr" arni yn dost, heb son am ddwr a sebon. Yr unig ddrws i fyned i mewn oedd yn ei hystlys. Yn y naill ben iddi, o fewn, yr oedd drws i fyned i'r clochdŷ; agorasom ef, ac er ein

syndod, yr oedd yn hanner llawn o hen offer, a hen gelfi diffrwyth, wedi eu taflu ar eu gilydd; ac yn y naill gornel yr oedd buddai gorddi. Awgrymai un fod preswylwyr nosawl y llanau a'r mynwentydd yn gwneyd defnydd o'r olaf. Dywedid wrthym na fu cymaint o gynnulleidfa o fewn y muriau hyny er's blyneddau. Yr oedd yn ein mysg rhyw hen *garacter* o'r P——, Morganwg. Ar yr olwg gyntaf arno, gallasech feddwl mai rhywbeth hanner gwirion ydoedd; ond, credwch ni, nid yn hawdd y twyllid ef. Rhyw bwt o ddyn bach, dan bum' troedfedd, ydoedd, yn gwisgo hugan o frethyn llwyd gwlad, a hòno yn glòs-gauedig am dano;—cadach mawr brith am ei wddf a'i ên, hyd ei glustiau; yr un fath ar nawn poeth, tesog, ac ar ben boreu llwydrewog;—gwisgai ei het yn isel, yr hon a fargodai dros drwyn mawr Rhufeinig, a genau llydan gwênog; ac yr oedd ganddo *umbrella* a ffon bob amser dan ei gesail. Hen lanc ydoedd; ac am hyny, byddai y rhyw deg â'u hap arno yn mhob cornel. Ymaflodd un o honynt yn ei fraich yn y llan, a dygodd ef ymlaen at yr allor, a dymunodd ar ryw *un* oedd yno i wneyd y gymwynas o'u "cysylltu mewn glân briodas." Yr oedd yr ymadrodd yn dân poeth ar groen yr hen lanc. Yr oedd golwg ddigrif arno yn edrych oddeutu, ac yn ceisio tynu ei glai yn rhydd o afael y ferch. Cynhyrfid ei holl ddynsawd gan y drychfeddwl; ac mor gynteg ag y cafodd ei hunan yn rhydd, rhedodd allan *rhag ofn!*

Wedi cyrhaedd y clogwyn, eisteddwyd i lawr i fwynhau yr olygfa adfywiol ar y dyffryn cul, a'r bryniau o'i amgylch. Yr oedd yr afon loewdeg yn rhedeg odditanom, a lliaws o wartheg blithion braf ynddi hyd eu tòrau, yn ymoeri oblegid y gwres. Yr oedd y dref yn gorwedd dipyn yn nes i fyny ar ein deheulaw. Ychydig yn nes i lawr, ar ein haswy, yr ochr arall i'r afon, yr oedd y twyn lle trefnodd Llywelyn ab Gruffydd, tywysog olaf y Cymry, ei fyddin y waith olaf yn erbyn y Seison. Ar ei gyfer, ar waelod y dyffryn, gwelem y twmpath a elwir Cefn Twm Bach, wrth yr hwn y croesodd y milwyr Seisnig rŷd yr afon, ar ol Llywelyn. Ar gyfer hwn, yr ochr atom i'r afon, y mae Cwm Llywelyn. Yma y bu y tywysog yn ymguddio mewn gallt;—tuag yma y teithiodd wedi troi pedolau ei geffyl o chwith, er mwyn twyllo yr ymlidwyr;—yma y trywanwyd ef â'r cleddyf, ac ei lladdwyd gan Francton, y Sais. Dygwyd ei ben i Lundain, a gosodwyd ef ar ben y tŵr yno, a chladdwyd ei gorff yn agos i'r fan ei lladdwyd, ac adeiladwyd tŷ ar ei fedd, yr hwn a elwir hyd heddyw, Cefn y Bedd.

"Dai 'r estron ryfelwyr fel cefnllif y gauaf,  
Neu dyrfa medelwyr yn amser cynauaf;  
Ac fel mewn dryghinoedd y cuddir haul melyn,  
Yn nhrwst y byddinoedd y cwympodd Llywelyn."

Er fod y pethau hyn wedi dygwydd er's mwy na phum' cant a hanner o flyneddau, ymrithiai y golygfeydd yn fyw o flaen y meddwl: dychymygem weled y byddinoedd—glywed trwst eu harfau a'u bloeddiadau.

"Dan fy mron, clywa'm llon galon yn curo,  
Gan fawr rym digter llym wrth im' fyfyrio;  
Trwy y gwyll gwelem ddull teryll y darian,  
Clywem si eirf diri' arni yn tincian."

Teimlem ein cnawd yn oeri am danom, wrth gofio fod dwy fil o Gymry dewrion wedi eu lladd, ac wedi bod yn gorwedd yn gelaneddau meirwon ·r, ac o gylch, y fan yr eisteddem.

"Trosom daeth, fel rhyw aeth, alaeth a dychryn;
Och! rhag bost bloeddiadau tost ymffrost y gelyn!"

I'r dyben i gael ein meddwl oddiwrth yr adgof anhapus, cydganasom "Y Cyfammod Disigl;" a rhwng ardderchogrwydd y pennillion, a phereidd-dra y canu, llwyddwyd i'w gael o olwg y gyflafan waedlyd, a chollwyd ef yn fuan yn nghwmpasoedd

"Ffynnonell y cariad tragwyddol,
Hen gartref meddylian o hedd."

Cyn i ni ddychwelyd i'r dref i gael ein ciniaw, penderfynwyd cydgyfarfod i yfed tê, y prydnawn hwnw, yn yr ystafell uwchben y ffynnon. Yr oeddem yno at yr amser penodedig, yn llu mawr—yn wŷr a gwragedd, gwyryfon a llanciau. Yr oedd yno rai yn cynnrychioli pob sir yn Nebeudir Cymru, ac yn cynnrychioli holl brif enwadau crefyddol y Dywysogaeth. Buasai yr olygfa oedd arnom yn cylchynu y bwrdd mawr yn ddigrif mewn arlun. Ymhlith y gwrywiaid, yr oedd dynyn o deiliwr teneu, o F——, yn chwennych y blaen, fel y bydd rhai o'r urdd hono yn gyffredin. Tybiai mai efe yn unig o'r lliaws oedd yn berchen cynghor, ac mai yn ei ben ef yr oedd cartref rheswm. Yr oedd yr hen lanc o'r P——, y soniasom am dano, wedi ei osod ar gader dipyn yn uwch na'r lleill, fel y gallai y neb a deimlai ei feddwl yn pruddhau gael gwellhad uniongyrchol trwy edrych arno. Yr oeddem wedi ei berswadio am unwaith i roi ei *umbrella* a'i ffon dan y bwrdd; ac yr oedd arno i ofalu am ddwfr berwedig i'r *waiters*. Ymhlith y rhyw deg, gallasech weled yno y bincen falch, y dafodrydd glebrog, y fwyndeg wylaidd, a'r bwyllog synwyrgall. Er ein bod yn mwynhau ein tê gyda llawer o ddifyrwch diniwed, yr oeddym, er hyny, yn cadw yn mhob peth o fewn terfynau moes a gweddeidd-dra. Wedi codi y llian, fel y dywedir, adroddodd cyfaill "Gân Miriam wrth wylio Moses yn ei gawell" yn dra dylanwadol, er mawr foddhâd y gwyddfodolion. Erbyn hyn, yr oedd y dyrfa wedi cynnyddu lawer yn fwy nag a gynnwysai yr ystafell; ac wrth weled cynnifer ynghyd, a'u hagwedd fel adar yn y nyth, a'u pigau yn agored am ragor, a chan fod y ffynnon odditanom, a phawb yn ymddangos mor gyfeillgar a'i dyfroedd iachusol, cynnygiwyd ar fod i un roddi araeth ddirwestol yno. Cydsyniwyd yn unfrydol; ac ni chafwyd gwrandawiad mwy astud erioed. Gan nad faint o wahaniaeth oedd yn nghredoau y lliaws oedd yn bresennol, gallasem feddwl ein bod oll yn cyduno mewn un pwnc pwysig o athrawiaeth; sef cynnwys y ddwy linell ganlynol:—

"Peraidd yfaf y pur-ddwfr
I'm safn ni ddaw dafn ond dwfr."

Boreu drannoeth, aeth llwyth o honom yn ngwagen Joseph y Cariwr, tua Llanwrtyd. Yr oedd y llwyth yma yn dra chymysglyd eu golygiadau, fel y profai y dadleuon fu ar y ffordd. Galwodd rhai am *borter* wrth ryw dafarn ar y daith; ac mor gynted ag yr arllwysodd un o honynt ei gwpanaid i'w geg, dechreuodd boeri a charthu, nes oedd yn berygl bod o fewn teirllath iddo: cwynai am ei gopor, achwynai ar y *porter*, a dywedai, gyda gwep anhapus, y buasai yn well ganddo dalu am gwpanaid o ddwfr trwbl y ffos, waith bod rhyw "*dach*" cas ar ei ol. Estynai ryw wyneb hir sur sarug, ac ail ddywedai, "Y mae *tach* ar ei ol." Ddarllenydd! paid yfed diodydd y tafarndai: yn wir, y mae "*tach*" cas i'w canlyn; "yn y diwedd hi a frath fel sarff, ac a biga fel neidr!"

Yr oeddem yn teithio â'n gwynebau tua'r gorllewin, gydag ystlys Epynt, y tu gogleddol iddo. Y pryder mwyaf a deimlem ar y ffordd oedd, ynghylch llety yn Llanwrtyd; canys deallem fod y lle anghysbell yn llawn ar y pryd; ond er ein mawr lawenydd, yr oedd cyfaill i ni wedi darparu ar ein cyfer yn "Nghastell Nansi," un o'r lletydai mwyaf dymunol yn y lle. Yr oedd yn ein derbyn o'r glud, a'r ciniaw yn barod ar y ford. Y cwestiwn cyntaf a daflasom i wyneb ein cyfaill, cyn gollwng ei law—"Pwy sydd yma?" Atebodd gyda thôn falchaidd, fod yno amryw o barchedigion, a boneddigion nid anenwog; fod hwn a hwn, a hon a hon, ac ugeiniau o wahanol barthau y Dywysogaeth.

Bellach, cynnygiwn roddi ychydig o hanes y lle hwn a'i drigolion i'r darllenydd. Y mae tŷ y ffynnon yma yn adeilad bychan isel, pedwaronglog, yn cynnwys tair o ystafelloedd; y ddwy nesaf i mewn ydynt at ymdrochi; ac yn yr ystafell nesaf allan, yr hon sydd â'i drws yn agored i bawb, bob amser, y mae y pistyll dwfr. Dau fath o ddyfroedd sydd yma, y *sulphur* a'r *chalybeate*. Dywedir mai yn Llandrindod mae y *chalybeate* goreu; mai yn Llanfair mae y *saline* goreu; ond mai yn Llanwrtyd mae y *sulphur* goreu sydd i'w gael; ac y mae digonedd o hono yn rhedeg ddydd a nos, haf a gauaf, trwy y pistyll sydd yn nghongl yr ystafell yma. Y mae y *chalybeate* yn rhedeg yn fain trwy bistyll y tu allan. Yn y boreu, cyn bwyta, y mae mwyaf o yfed ar y dwfr. Y mae hi yn amser prysur yn nghwmpasoedd y ffynnon o bump hyd wyth neu naw o'r gloch.

Er mwyn rhoddi drychfeddwl i'r dyeithr am y lle, safwn ar ddrws tŷ y ffynnon, yr hwn sydd yn wynebu tua'r dwyrain, dybygem. Y mae y tŷ ar ganol cae bychan yn ngwaelod cwm cul a dwfn; gydag ochr y cae, ar ein deheulaw, y mae afon Irfon, yn rhedeg tua'r pentref sydd o'n blaen. Y ffermdŷ sydd am yr afon â ni, ar ein cyfer, yw Dolgou. Lled cae cul sydd o'r tuhwnt i'r afon, ac yna mae troed y mynydd, yr hwn sydd yn ymgodi i fyny yn serth ac uchel. Ar ein haswy, y mae twmpath uchel rhedynog, yn codi oddiwrth wrych y cae yr ydym arno. Buom yn yfed yr awelon iachus droion ar ben y naill a'r llall. O'r tu cefn i ni, y mae y cwm yn culhau am ychydig; ond yn mhen oddeutu hanner milltir, tua y fan y gorwedd y Llan, y mae yn ymagor peth drachefn. Y tŷ mawr yna sydd o'n blaen, hyd dau gae oddiwrthym, yw Dol-y-coed, y ffermdŷ mae y ffynnon yn perthyn iddo; chwarter milltir nes ymlaen, dyna y pentref; y tŷ mwyaf yn y pentref, yr hwn sydd yn sefyll ar ei ben ei hun, ar ychydig o godiad tir, a'r llechau gleision yn dô iddo, âg wyneb ddwbl—yr un llun a'r llythyren L, yw "Ty Elias," neu "Gastell Nansi." Y cefn acw, sydd yn ymgodi yr ochr draw i'r pentref, a elwir Cefn y Gorwydd; y tuhwnt i hwnw wed'yn, yn gorwedd ar draws dy olwg, oddeutu tair milltir oddiwrthym, dyna Fynydd Epynt. Gad i ni yn awr fyned fraich-yn-mraich ar hyd y droedffordd deg yma gyda glàn yr afon, heibio wyneb tŷ Dol-y-coed, a sefyll ar Bont-rhyd-y-fferau yn nghanol y pentref; cadwn ein wynebau tua'r un pwynt o hyd, sef tua'r dwyrain—dyna, pwysa ar y ganllaw, ond gochel rhag iddi drosi; y mae hen bont o goed hanner pydredig fel yma, mewn lle fel hwn, yn warth i'r bedwaredd ganrif ar bymtheg. Ofni yr ydym ni mai syrthio yn gregyn a wna hi ryw ddiwrnod o dan y "*bus*," pan yn orlawn o ddynion; ac wedi lladd dwsin neu ddau, fe geir pont newydd.

Ti a weli mai oddeutu dwsin o dai yw pentref y Bont i gyd. Dyna "Dŷ

Elias" fan yna, ar dy aswy, rhyw ddeg llath ar hugain oddiwrth dalcen y bont; cymaint a hyny yn nes hwnt, dacw'r "*Belle vue;*" yr heol sydd yn myned heibio y rhai yna yw heol Llanfair: rhyw bedair milltir ffordd yna mae Llangamarch yn gorwedd. Dyma eto dri neu bedwar o dai bychain tlodion, yn ein hymyl, wrth dalcen y bont, yr un ochr i'r afon. Tro dy lygad i'r ochr ddê i'r afon: un filltir ar ddeg ffordd yna mae Llanymddyfri; yr ochr uchaf i'r bont, yn ymyl yr afon, dyna gapel bach tlws ddigon,—capel y Methodistiaid Calfinaidd ydyw; yr ochr aswy, rhwng y ffordd a'r afon, dyna y "*New Inn*" â'i wyneb atom; ac y mae oddeutu hanner dwsin o dai bychain, gwledig a gwael, o'r tu cefn iddo. Y mae yr holl dai hyn, er mai muriau pridd a tho gwellt sydd iddynt, yn llawn dyeithriaid dros dymmor yr haf. Y mae yn ffair dynion yma bob blwyddyn, o ddechreu Mai hyd ddiwedd Medi; dros y tymmor hwnw, y mae cerbyd yn rhedeg o Abertawe, trwy Landilo, Llanymddyfri, Llanwrtyd, Llanfair, ac i Landrindod un diwrnod, ac yn dychwelyd drannoeth, ac felly dair gwaith yr wythnos. Y mae "Isaac" yn myned i Lanymddyfri bob yn ail dydd, i gario llythyrau, ac iawn yw newid cyfenw y llythyrwr bellach, "Isaac geiniog," yn lle "Isaac ddwy geiniog," fel o'r blaen. Y dyn ysgrifenai fwyaf o lythyrau oedd y dyn goreu yn marn gwraig Isaac; ac nid oedd dim a barai i'r hen wreigan chwerthin mor effeithiol, a chael llonaid copa het o honynt pan ddelai o amgylch y tai i yspïo am danynt. Y mae yr hen bont yma yn gyrchfan yr ymwelwyr; nid oes awr o'r dydd nad yw hi druan o dan ei baich; y maent yn ymorwedd ar ei chanllawiau, yn ymddifyru yn nhrwst yr

"Elfen deneu ysblenydd
Lyfndeg sy'n rhedeg yn rhydd"

odditani; ac wrth syllu ar y pysgod braf acw yn chwareu, ac yn llygadu mor llym am damaid. Dyma y fan yr adroddir pob math o ystorïau, ac y dadleuir ar bob math o bynciau gan braidd bob math o gymeriadau.

Os wyt wedi blino sefyll, ni a awn i Dŷ Elias, i'r *sitting-room*, i eistedd, tra yn adrodd darn o'n ystori. Byddwn yn arfer ffurfio ryw ddrychfeddwl am gymeriad yr ymwelwr â Llanwrtyd, oddiwrth y llety a ddewisai, os cai ddewis arno. Y lle y mae y bobl lyfnaf eu dillad—yr ysweiniaid, a'r offeiriaid—y rhan amlaf yn dodi i fyny yw Dol-y-coed; y pregethwyr o bob enwad, ac aml yswain ac offeiriad yn eu mysg, a phawb a fyddo yn hoff o gyfeillach lawen a difyr, ymddyddan ac ymddadleu ar bob math o bethau—y tŷ hwn (Elias) yw eu hoff fan: y mae lle da i letya, a phobl serchog yn byw yn "*Belle vue.*" Y *No.* 4, yw y "*New Inn;*" ac y mae aelwyd gysurus i dorf o ymwelwyr yn Dolgou.

Prif gymeriad teulu Dol-y-coed yw Mrs. R., trolen o fenyw fer, serchog, a chyflym ydyw; "*right sharp*" bob amser. Y mae gwaed Iuddewaidd yn rhedeg trwy ei gwythienau; ac y mae llawer o'r Iuddew yn ei gwedd. Nid oes pall ar ei dawn siarad; sieryd faint a fyno, â'r neb a fyno, ac ar y testun a fyno; a chan nad â phwy y bydd yn siarad, bydded ef yswain, offeiriad, neu esgob, odid na chlywir hi cyn hir yn canmol "ein henwad ni, a'n pregethwyr ni," gyda gwyneb mor agored, deigryn yn ei llygaid, a chalon mor onest a diniwed a'r plentyn. Y mae Miss R. fel pe byddai wedi ei gwneyd o bwrpas i drin ac ymgeleddu dyeithriaid. Nid yw Mr. R. yn blino fawr arno ei hunan gyda'r lletywŷr; gofalu am ei fferm—yr ŷd, y gwair, y gwartheg, y moch, a'r *fowls*, yw ei orchwyl ef. Y mae ei

drwyn llym Rhufeinig yn arwyddo ei fod yn rhywbeth allan o'r cyffredin.

Pedwar o nifer yw teulu Elias; ac y mae i bob un o honynt ei swydd. Dernyn o ddyn bach byr, cadarn, cyflym, a'i war yn crymu ychydig, yw gŵr y tŷ; ei swydd ef yw *tendio 'r shop*, a galw am "dorth 'whech." Tamaid o fenyw Gymreigaidd, ac eithaf gwladaidd yw Nansi: crasu bara yw ei galwedigaeth hi, o'r boreu hyd yr hwyr, o foreu dydd Llun hyd nos Sadwrn. Gorchwylion y merched, Mari fwynaidd—trin y bwyd a'i ddarparu; ac Elen ffraeth—hilio y byrddau. Elias yw oracl Llanwrtyd. Y mae yn gorff o dduwinyddiaeth, yn hanesydd manwl, yn fardd gwych, yn hen gofiadur croniclaidd, yn ystoriwr difyrus, a lloned ei ben o synwyr (ang) cyffredin.

Pan ddaethom i mewn yma gyntaf yn mraich ein cyfaill, yr oedd llonaid yr ystafell o ddynion, o bob oed ac ymddangosiad;—rhai yn darllen, rhai yn clebran, rhai yn ysmocio, ac eraill yn gwneuthur dim; ac un o blant yr awen ar ei draed, yn cerdded o gylch y bobl, y bibell yn ei law, yn procio ei phen â'i fys bach, ac yn canu am gardod—

"Hir iechyd a bywyd y bo
I'r tebyca i ranu tybaco."

Yn nhymmor ein harosiad yn y lle, ymwelwyd â'r ardal gan fwy na deg ar hugain o wŷr llen, y penaf o ba rai ydoedd ryw barchedig o un o brif borthladdoedd Lloegr. Dyn gwerth siarad âg ef, ac am dano, ydoedd hwn: yr oedd ganddo dair neu bedair blynedd yn fyr o gyrhaedd triugain oed. Yr oedd ei ymddangosiad, a'i holl ymddygiad, yn syml a gweddaidd. Meddai ar un o'r wynebau mwyaf dedwydd; yr oedd pelydriad ei ddau lygad siriol yn gwneyd i'w wyneb lewyrchu gan hapusrwydd, fel pe buasai dan wên ddigwmwl yr haul. Byr iawn ei olwg yw y dyn fedr graffu ar y cyfryw wyneb, heb ei ganfod yn *index* o ryw doraeth o synwyr, pwyll, diniweidrwydd, a chariad. Dysgasom oddiwrth ein cyfaill hwn, nad gwir yw yr hyn a fynai llawer coegyn penwag, sydd â'i holl ragoriaethau tu-allan i'w groen, i ni ei gredu; sef fod siarad â phobl gyffredin, a chyfeillachu â hwynt, yn darostwng ac yn anafu gwir fawredd. Gwilym Hiraethog, os da y cofiwn, a glywsom yn dyweyd, mai dyn yn unig fedr chwerthin; a chynghorai ni i ochelyd bob amser y dyn nad allai chwerthin. Byth oddiar hyny, yr ydym wedi cael fod *rhywbeth* yn y sylw: y gwr fedr chwerthin o waelod ei fola, teimlwn barodrwydd mawr i roi ymddiried ynddo. Ond y chwarddwr goreu a glywsom erioed ydoedd ein cyfaill hwn: medrai chwerthin yn ddoniol; ymaflai yn môn ei fraich, a gwasgai hi dan chwerthin, nes yr ofnem ar brydiau i rai o gortynau ei babell dori; ac yr oedd dylanwad ei chwerthin lawn mor feddyginiaethol i ni a dwfr y ffynnon. Cawsom ddifyrwch mawr, adeiladaeth lawer, a gwleddoedd breision, yn ei gyfeillach, ei ymddyddanion, a'i bregethau. Hir y parhao ei oes, a'i lafur i wasanaethu ei genedlaeth. Yn ei briod, cawsom fam dyner a gofalus; yr oedd rhagoriaethau benywaidd wedi cyfarfod ynddi yn hynod gyflawn a hapus. Ei gorchwyl mwyaf pleserus hi wrth dreulio ei horiau yno, oedd dal ar dafodiaith yr ymwelwyr a'r preswylwyr. Aeth â rheffyn cyhyd a braich o eiriau ganddi adref, y rhai a gyfansoddent gystal pregeth o dafod dyeithr i Formon ag a allai byth ddymuno.

Yr oedd yno ychydig o gymeriadau eraill gwerth eu coffa. Un brig noson, daeth yno ddyn byr, bach, teneu, a dillad duon yn ei gylch, o gyf-

eiriad Morganwg: buasai yn sicr o *ddemandio* eich sylw yn nghanol llwyth *omnibus*. Yr oedd ganddo ben mawr lluniaidd; yn gwisgo ei *hét* yn go isel; ei wallt yn ddu—yn gruch fel y fran; ei wynebpryd teneu o wedd tywyll a gwelw; talcen braf; aeliau duon bwäog; llygaid mawrion llwyd-ddu, dysglaer, yn chwyddo allan—digon i beri dychryn yn y fron wrth edrych arnynt: galleaid meddwl mai rhyw *foreigners* oedd ei lygaid, ac mai prin oeddynt yn hoffi eu lle; a braidd na theimlem yn anhapus rhag y byddem yn dystion o'u ffoedigaeth. Yr oedd ei wyneb, o'i lygaid i lawr, yn ddigon dymunol. Yr oedd ei olwg yn feddylgar ac athronaidd; ac yn sicr i chwi, yr oedd tipyn o eiddo go dda dan ei wallt. Barnai rhai fod yno lawer gormod i ateb y llipryn corff oedd ganddo. Byddai yn esgeulus yn ei wisgiad, ac yn agored i gamsyniadau aml gyda phethau dibwys. Nid oedd dàl yn y byd arno tuag amgylchoedd y cwpbwrdd a'r ford, yn ei letŷ—torth pwy fuasai yn ei dafellu, yn nghosyn pwy y buasai ei gyllell, neu yn nghwpan siwgr pwy y buasai ei lwy: nid o'i fodd, ond yn berffaith ddifwriad. Yr oedd hwn yn chwarddwr iach hefyd. Medrai drin pwnc, a dadleu arno yn go gampus. Iselder ysbryd yw ei glefyd penaf ef; a dylai fyned i'r ffynnonau ddwywaith y flwyddyn.

Am ein cyfaill arall, yr hwn a barotôdd i ni letŷ, a'n derbyniodd yno mor groesawgar, a'n cywely dros yr holl amser,—un o feibion Morgan oedd yntau. Yslebyn o ddyn main, tàl, teneu, llawn chwe' troedfedd o hyd, yn nhraed ei 'sanau, ydoedd. Yr oedd gwallt hwn eto yn ddu, sidanaidd; ei wynebpryd yn deneu, o liw llwydgoch. Yr oedd yn hynod yn nghanol y llu, am y byddai agos o'i ysgwyddau i fyny yn dalach na'r talaf. Ei ddelweddau amlycaf oeddynt sirioldeb a chyfeillgarwch. Yr oedd ynddo lawer o'r bardd; ac adroddai aml ddernyn o farddoniaeth nes gwneyd i lonaid tŷ o honom wylo ein teimladau

"Yn ddagrau melus iawn.'

Nid allai y pruddglwyf aros pum mynyd dan yr un gronglwyd a hwn; yr oedd ei dafod fel pin ysgrifenydd buan; siaradai yn ddidor dri diwrnod; yr oedd ei ystorïau difyr, ei *wits* chwilboeth, ei ganu soniarus a dylanwadol, yn cadw lliaws o gwmpeini gerllaw iddo bob amser, ac yn ddigon i beri anghofio bwyd a gwely. Ystyriwn fod yr holl ymwelwyr â'r ffynnonau ar y pryd yn ddyledus iddo; ac oddieithr fod "apostol y dwr" ei hunan yno, y byddai yn werth iddynt anfon am dano i'w cyfarfod y tro nesaf, a'i gosti yno i'w difyru. Yr oedd ei serchogrwydd, a thynerwch ei deimlad, yn ddiarebol—

"Ei fron yn galon i gyd."

Dangosai ofal am bawb, fel pe buasent ei berthynasau agosaf. Gwelsom ef yn prynu gwerth ceiniog o fara a chaws i'w rhanu rhwng y pysgod dan y bont, yn unig o dosturi atynt, y rhai a'i llyncent yn ddigellwair ac yn ddoniol ryfeddol.

Yr oeddem ein pedwar fel twr o ser bob amser gyda'n gilydd; neu, yr oedd ein cyfaill o Loegr fel haul, a ninnau yn dair seren sefydlog yn troi o'i gwmpas. Yr oedd ugeiniau eraill i'w gweled yn awr ac eilwaith, fel ser gwibiog; ond am y pedwar, pa le bynag y ceid un, yr oeddynt oll o hyd galw. Buom am bythefnos mewn ardal anial, yn cydeistedd, yn cydfwyta, yn cydymddyddan, yn cydrodio, yn croesddadleu, yn cydgneua, yn "hel jobau"—ac, yn wir, er fod ein pen yn hynach ac yn drymach na'r un o honom, efe oedd y goreu i gneua o lawer, fel yr oedd yn oreu i bob

peth. Er ein bod oll yn adwaen ein gilydd o'r blaen, rhoddwyd twymias i'r cyfeillgarwch yno nad oera byth.

Awr o ddysgwyliad a phryder yn Llanwrtyd ydoedd amser pasiad y *bus;* oblegid byddai yn dwyn rhai newydd-ddyfodiaid, ac yn yspeilio rhai o'n cwmni, bob dydd. Ar ei phen un diwrnod, yn dyfod i fyny o sir Gaerfyrddin, gwelem ddyn mawr, tywyll, penddu, yn crymu ychydig yn ei war, ac yn edrych yn dra phatriarchaidd. Disgynodd i lawr, a bwriodd ei goelbren i'n plith. Cawsom lawer awr felus o gymdeithas âg ef. Yr oedd cryn dipyn o'r *wag* yn hwn; a byddem yn llwyr gredu ei fod â'i gorsen fesur allan yn ein treio oll, yn mhob ysgogiad. Yr oedd hwn yn llawn o deimlad y bardd, ac o dalent yr emynwr. Perthynai i Abraham, heblaw trwy ffydd; a dygai y prawf o hyny yn ei wedd, ac ar ei dafod. Yr oedd yno un arall, a'r un gwaed yn rhedeg trwy ei wythïenau: yr oeddynt yn asio Iuddew a Groegwr yn un yno.

Dygwyddodd fod nythiad o hen lanciau yn lletya yn yr un tŷ a ni; ac nid ydym un amser yn rhyw hoff iawn o'u cwmnïaeth. Dynion sychion, a diafael ydynt yn gyffredin; ac o'r braidd y maent, nac y teilyngant fod, yn aelodau cymdeithas. Dywedodd un dyn gwybodus, nad yw hen lancedigaeth i'w gael ymhlith creaduriaid direswm; fod natur yn cyffroi rhag y fath syniad. Nid oeddem yn synu fod y rhyw deg yn edrych arnynt gyda'r fath ddirmyg gwrthwynebus. Beiddiodd un hen lanc trwsiadus, wrth estyn ei bibell i'r tân, ar ol ciniaw, dori allan i ddyweyd ei brofiad ar g'oedd y cwmni, yn y pennill canlynol:—

"Twyll i gyd yw merched ifanc,
O'u crafangau braint yw dianc;
Ac am eu gormes twyll a'u twrw,
'Rwy'n penderfynu byw yn weddw."

Cyffrôdd ysbryd rhyw ddynes a eisteddai gyferbyn âg ef, yr hon ydoedd ferch ieuanc oddeutu pymtheg ar hugain oed, ac yn meddu pen a chalon; edrychodd yn watwarus arno, a gollyngodd yr yslach yma yn ol i'w wyneb yn dra doniol—

"Be' wyddost ti, yr adyn gwirion,
Am gyfeillach fwyn morwynion?
Yn weddw bydd, a dal dy dafod!
Pwy sydd am dy gael yn briod?"

Am yr hen lanc sydd felly wrth naturiaeth, os oes un felly, nid oes genym ddim i'w ddyweyd, ond mai blin yw ei dynged; ac am y rhai sydd yn hen lanciau o gariad at eu pyrsau, neu rywbeth gwaeth, tybiwn eu bod yn haeddu eu poeni a'u dïystyru.

Rhaid i ni eto ysgrifio gair o hanes ein hymweliad â "Chamau 'r Bleiddiaid;" a elwid felly, "medda nhw," am fod yno le cyfleus i'r bleiddiaid yn yr hen amser gynt i groesi yr afon o un mynydd i'r llall, i ddal a dyfetha eu hysglyfaeth. Yr oedd genym wyth milltir o ffordd, gyda glàn afon Irfon, a'n hwynebau tua chŵr uchaf sir Aberteifi. Er fod ein llwybr yn arw, yr oedd y golygfeydd yn adfywiol. Yr oeddem yn myned trwy ddyffryn cul, troellog, rhwng mynyddoedd uchel geirwon, a chreigiau hyllion cribog, a llu o dwmpathau mawrion, y rhai a gydeisteddent mor hapus, ac a ymddangosent fel crug o bendefigion wedi cyfarfod—yn mwynhau eu gorphwysfa, ac yn gwlychu bodiau eu traed yn yr afon loew drystiog, a ddolenai heibio trwy y gwaelodion. Wedi teithio chwe' milltir, a myned heibio hen ffermdŷ unig a gwael, a llan mwy unig a gwaelaf

Abergwesin, yr oeddem yn gadael tai a dynion, ac yn dilyn glàn yr afon i'r mynydd-dir anial. Ac erbyn pedwar o'r gloch, ar brydnawn heulog, yr oeddem (wyth o nifer) wedi cyrhaedd y fan; ac am unwaith, beth bynag, aeth "Camau'r Bleiddiaid" yn gamau dynion. Lle ydyw, ag y mae dyfroedd Irfon wedi gwneyd gorchestion, dybiem ni, nad allasai eu cwblhau heb ugeiniau o filoedd o flyneddau o ymdrech didor. Y mae wedi gweithio ei ffordd drwy galon y creigiau oesol, gan adael yma a thraw fwäau crogedig dros ei ffrydiau gorwylltion. Weithiau, byddai ei gwely cul a thlws mor llyfn a'r mynor; bryd arall, yn llyn llonydd, mor grwn a chrochan, ac heb un gwaelod i'w gael iddi. Collem hi weithiau yn ddisymwth, canys ymollyngai yn gryno i'r ddaear o'r golwg, a chlywem hi yn brwlian yn ngheudod y graig. Ychydig latheni nes i lawr, ymdaflai allan yn ffyrnig a bygythiol; yn y man, disgynai wed'yn i ddyfnderoedd cul, tywyll, nad allem ni weled ei gwaelodion. Tarawyd ni oll, am dro, yn fud gan syndod.

Yr oedd y defaid mân yn pori ar hyd y llethrau sythion, dan gopäau creigiog y ddau fynydd oedd bob tu i'r afon. A rhwng dyeithrwch golygfa glàn yr afon—trystiau amrywiog y dyfroedd—brefiadau soniarus y defaid—a chwibaniad yr awel iachus, yr oeddem wrth ein bodd yno;—wedi anghofio hyd yn nod y ffynnonau a'u hymwelwyr. Erbyn i lèni y nos gael eu gollwng i lawr rhyngom a phrydferthwch y golygfeydd, dechreuem ddyfod atom ein hunain, a theimlo yn lluddedig: brysiasom yn ol. Gwnaethom ein hol ar y bwyd y noson hòno, a chawsom ein gwely a'n cwsg yn felus.

Y mae trigolion Llanwrtyd, yn gystal a'r ymwelwyr, yn haeddu llawer o glod am eu moesgarwch. Ni welsom yr un dyn meddw, na'i debyg, yno;—ni chlywsom na llŵ na rheg yn dyfod dros un wefus yno;—yr oedd pawb yn ymddangos yn hynaws a charedig, yn siriol, moesgar, a chrefyddol.

Boreu pruddglwyfus oedd boreu ein hymadawiad. Yr oedd ynom liaws o deimladau cymysgedig;—hiraeth, ymadael â'n cyfeillion, a'r dysgwyliad brysiog am weled ein teuluoedd, yn berwi yn frwd yn ein mynwesau.

Yr oedd un peth yn ffodus, fod y rhan fwyaf o honom yn ymadael yr un amser. Wedi i ni gyrhaedd Cefn Epynt, safem ac edrychem yn ol; meddyliem, gyda syndod;—y fath deithio i gongl wael, ddirgel, ac anghysbell, rhwng y bryniau! Fel y mae Awdwr natur wedi gwneyd y naill beth ar gyfer y llall! Y mae ffynnon iachusol Llanwrtyd ddiffrwyth yn dwyn cynnaliaeth i'w thrigolion. Y mae miloedd wedi dyfod o bell i'r gongl fechan acw yn afiach a digalon, ac wedi dychwelyd adref at eu teuluoedd yn iach a llawen.

Arweiniodd y myfyrdod am y ffynnon, a theimlad o'i rhinweddau, ein meddwl at ffynnon arall—"ffynnon y dyfroedd byw;" ffrydiau grisialaidd a iachusol yr hon—

"O'r nefoedd a redodd yn rhad,
I'r ardal lle 'r ydym yn byw."

Y ffynnon sydd wedi ei hagoryd gan ddoethineb dwyfol, i symud ymaith afiechyd a brynti, na fedrai yr un ffynnon arall ei wneyd byth—i gyflawni yr orchest ryfeddaf erioed—"i olchi ymaith bechod ac aflendid!"

"Heblaw iachau fy llesgedd,
Hi 'm cana 'n hyfryd wyn."

Iă, a phwy bynag a yfo o'i dyfroedd a fydd byw, ac a aiff yn iach o ba glefyd bynag! Ehedai ein meddwl ymlaen, ymlaen, fil cyflymach nag amser, a gwelem dyrfa aneirif, y rhai fuont unwaith yn afiach a brwnt, ond yn awr yn dysgleirio fel yr haul, wedi bod yn y ffynnon hon—

"Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,"

wedi dyfod i fyny o'r cystudd mawr, ac wedi golchi eu gynau, a'u cànu yn ngwaed yr Oen. Gwelem hwynt

"Wedi eu dyrchafu o domen y ddaear,
I fysg y lluoedd seraphaidd a hawddgar;
Mewn purdeb cyfaddas i'w rhestr yn ymyl
Cerubiaid difrychau a dihalog engyl:"

a'r Priodfab—Brenin y Gogoniant, yn eu harwain i mewn trwy byrth y nefoedd, a

"Chyflwynai ei deg briodasferch ddifrychau,
Gan dd'wedyd, 'O Dad! wele'r teulu a minnau;
Y rhai i mi roddaist, a gedwaist trwy d' enw,
Er byd, cnawd, a diafol,—byw ydynt, nid marw!"

Anwyl ddarllenydd! os caret fod o nifer y dyrfa hon

"Tua 'r ffynnon gyda hwy
Dos—ymolcha!"

Troisom ein cefn ar Lanwrtyd. Aethom rhagom dros Gefn Epynt, dan sisial canu

"Minnau ddof i'r ffynnon loew,
Darddodd allan ar y bryn,
Ac mi olcha 'm henaid euog
Ganwaith yn y dyfroedd hyn.
Myrdd o feiau,
Daflaf lawr i rym y dwr."

---

## ATHRYLITH A GWEITHIAU MR. DAVID OWEN (DEWI WYN).

Effeithiodd y siomedigaeth a gafodd Dewi Wyn, yn Eisteddfod Dinbych, gyda golwg ar yr "Awdl ar Elusengarwch," yn ddirfawr ar ei ysbryd, megys y gwelir wrth y rhagymadrodd i'r awdl a gyhoeddodd efe, ac wrth "Awdl yr Adebau," fel y geilw efe hi; ond yn ein barn ostyngedig ni, y mae gormod o angerddoldeb yn mhob un o'r ddau erthygl hyn.[1]

[1] Wrth fod llawer o'r Cymry mor anghyfarwydd â beirniadaeth, y maent yn tybied mai y dyben yw iselu yr awdwr os cyffyrddir yn y gradd lleiaf â'i ddiffygion. Nid yw yn ddigon dyweyd fod ynddo ragoriaethau, ond y mae yn rhaid rhoddi ar ddeall i bawb nad oes ynddo ddim ond rhagoriaethau. Y mae yn hen bryd newid yr arferiad hon o roddi canmoliaeth ddigymysg i bob math o ysgrifenwyr, oblegid nid oes dim wedi ein cadw yn fwy ar ol fel cenedl. Yr ydym yn addef y dylid cymeryd awdwyr ieuainc yn dringar, rhag eu digaloni; ond os dysgwylir iddynt ragori, y mae yn rhaid dangos beiau y rhai a osodir o'u blaen fel arweinwyr. Oddiar y teimlad hwn y cymerasom ryddid i geisio profi nad yw Dewi Wyn ei hun yn berffaith: ond nid oes neb yn ei barchu yn fwy na ni, ac yr ydym wedi amlygu lawer gwaith ein bod yn ei gyfrif yn un o'r beirdd mwyaf a fu erioed yn Nghymru. Os nad yw hyn yn ddigon gan rai o'n cyfeillion brwdfrydig, dymunwn iddynt fod yn amyneddgar am ychydig; oblegid yr ydym yn bwriadu cymeryd achlysur, cyn bo hir, mewn sylwadau cymhariaethol ar feirdd Cymru, i gyfeirio yn fwy neillduol at ei ragoriaethau.

Yr oedd rhagoroldeb awdl Dewi ar awdl salw y "Dryw" mor amlwg, fel nad oedd unrhyw achos i'r awdwr fyned i dymher ddrwg yn ei chylch; ac i wneyd math o lw, na fyddai dim a wnelai ef ag Eisteddfodau ar ol hyny. Y mae "Awdl yr Adebau" yn un gref o ran iaith, ac yn cynnwys gryn radd o watwareg, ond y mae yn ymffrostgar dros fesur; megys y gwelir wrth y difyniadau canlynol:—

"Gyru dirmyg ar deirmil,
Trechwn o'u math trichan mil,
* * *
A'u tenynod hunanawl
Crogaf hwy uwch creig o fawl;
Gwingant o meiddiant am hyn,
Tynach, tynach, eu tenyn.
Beirdd beilch, dig weilch, beirniaid gau,
Ebrychant wrth y bachau.
* * *
Ond Eifion a da wiwfoes,
Goreu ar awdl gwŷr yr oes;
Ac O! 'r cof hyd y brofydd
O'r awdl fawr, O! 'r odliw fydd:
Rhagor im' oedd rhoi gair mawr,
Na glain, ac na main mynawr,
A thriwriaeth Eryri,
Yw'r gair mawr a geir i mi."

Nid mynych y canfyddwn yn ngwaith ungwr gymaint o hunan-foliant, ag a geir yn y llinellau blaenorol. Ni chymerodd ein bardd gynghor y gwr doeth, y mae yn amlwg, sef, "Canmoled arall dydi, ac nid dy enau dy hun, estron ac nid dy wefusau dy hunan." Nid ydym yn dadleu nad oedd digon o achos i awdl Dewi gael ei hamddiffyn; ond buasai yn weddeiddiach i rywun arall wneyd hyny, nag iddo ef ddyfod allan, yn y fath gynddaredd a nwydau drwg, i ganmol ac i ddyrchafu ei hun fel un goruwch pawb oll. Yr oedd hyn yn arwydd o falchder a ffolineb, ac yn ei dynu i lawr yn ngolwg pob dyn synwyrol. "Y mae hunanfoliant yn halogi y genau," medd y ddiareb. Mae llawer iawn o iselder chwaeth yn y llinellau canlynol,—

"Ceinciau 'r Dryw, cancr a drewiant,
Dom yr oes, i'r dim yr ant.
* * *
Ac aur yn dorch, cywrain did,
Am golwyn yma gwelid:
A chymwysach am asyn,
Na rhyw dwrch o hanner dyn.
Er tlws mwnws a manaur,
Twrch yw ef mewn torch aur."

Y mae cystal tafod drwg yn y llinellau uchod, ag sydd yn nghywydd Tomos o'r Nant i glochydd Llanfihangel-y-Gwynt. Yr oedd Dewi fel pe buasai wedi colli arno ei hun yn lân, pan gyfansoddai yr awdl hon; ac onidê ni allasai byth ddyfod allan â'r fath eiriau ar ei wefusau,—

"Galwaf yn awr bob gelyn,
A ddel doed, o ddiawl a dyn:
Byddwch, O! deuwch,—'rwy'n dod,
Ben boreu bawb yn barod."

Yr oedd ef yn edrych ar bob un oedd mewn cysylltiad â Gwyneddigion Llundain, gydag eiddigedd. Nid allai adael llonydd i'r boneddigaidd

William Owen Pughe heb ei lurgunio o herwydd ei ddaliadau crefyddol, gan osod y gwr a wnaeth fwyaf o neb dros yr iaith Gymreig yn brif ferthyrwr iddi. Y mae efe yn rhedeg i eithafion afresymol yn ei ddirmyg. Pa ddyn yn Nghymru a gawsai ei oddef ond efe, i son ar ddu a gwyn am i'r athraw

"Dynu ei gred o d—n gwrach !"

Y mae y llinell hon nid yn unig yn ffiaidd, ond yn afresymol i'r eithaf. Y mae yn drueni i gyhoeddwyr gwaith Dewi Wyn, ddodi yr awdl yma ynghyd âg amryw ddarnau yn ei berthynas â'r ddadl âg Iwan, yn y casgliad. Gallasai y byd barddonol wneyd hebddynt; ac nid ydynt yn gwneyd dim heblaw dynoethi gwendid a ffolineb eu hawdwr, gan ddangos y meddyliau anfeidrol oedd ganddo am dano ei hun, a'i alluoedd.

Y mae Dewi, yn ei awdl, "Coffadwriaeth am Goronwy Owain," yn llai nag arferol, ac yn llai nag ef ei hun o lawer. Y mae rhai o'r ffugyrau yn arswydus; megys,

"Diwyd ydoedd yn deawr,—o'i fynwes
Wiw feini tra gwerthfawr;
O'i law wen yn loew wawr
Mewn mynyd daeth maen mynawr."

Pa reswm sy mewn dyweyd fod Goronwy yn "deor meini o'i fynwes?" Ac fod "maen mynawr" yn dyfod o'i "law wen?" Ychydig ymlaen y mae efe yn dyweyd ei fod yn rhoi "mêl a gwin o'i fronau:"—

"Mel a gwin, llawn rhin, yn rhodd,
O'i fronau a gyfranodd."

Mel o gwch, gwin o rawn, a llaeth o fronau, medd natur; nid oes reswm mewn dyweyd fod gwryw yn cyfranu dim o'i fronau. Y mae y syniad yn annaturiol ac yn wrthun.

Y mae efe ychydig ymlaen yn cael "ffynnon o enaint,—

"Ffynnon o werthfawr hoff enaint,"

a hono yn myned yn

"Loew foroedd o lifeiriaint."

Pwy a welodd ffynnon o enaint erioed? Onid cymysgedd o waith yr apothecari yw enaint? "Gwibed meirw a wnant i enaint yr apothecari ddrewi; felly y gwna ychydig ffolineb i wr ardderchog o herwydd doethineb ac anrhydedd;" ac y mae y son am i'r ffynnon fyned yn "foroedd" yn fwy afresymol fyth.

"Telyn oedd yn ein talaith,—a'i mesur
A'i miwsig yn berffaith."

Cylch o gwmpas y pen yw *talaith*, neu goron; *talaeth* a ddylasai y bardd arfer am *province* neu *territory*.

Ni welem ni yn ein byw y prydferthwch a all rhai ganfod yn y llinellau hyn,—

"Ei gerddi gleiniawg urddwaith;
Blawd aur ynt, blodau yr iaith;"

Sef, fod cerddi Goronwy yn "leiniawg," sef, yn berlawg, ac yn "flawd aur ac yn flodau."

Y mae efe yn gwella ychydig yn y llinellau canlynol,—

"Gwyddai gylchoedd y bydoedd gwibiedig,
A llewyrch y rhodau llacharedig,
A thynged daear galed, a'i dirgeloedd,
Y naturiaethau hynota', a'r ieithoedd,

Rheolau 'r lleuad, yr haul a'r holl luoedd,
Creaduriaid gloewon crwydredig leoedd."

Nid ydym yn hoffi "lleoedd crwydredig." Y mae gormod o ansoddau yn y llinellau dilynol,—

"Gwiw a myg weinidog maeth
Y dwyfol air dysglair, doeth;
A gwiw gain addurn gogoneddus,
Feiliai lawenaf fawl haelionus,
O ei ddwys galon ddiesgeulus,
I Dduw nefolaidd yn ofalus."

Y mae gan y gweinidog dri ansawdd, sef, "gwiw, myg, a maeth," a'r gair dri sef, "dwyfol, dysglair, a doeth." Ni feddyliasai yr awdwr am bentyru cynifer, fel y gŵyr y deallus, oni buasai y gynghanedd. Gelwir am "gwiw" eto i fynegu pa fath "addurn" oedd ar ei fawl; a "gain" a "gogoneddus," a ddefnyddir at yr un pwrpas. Y mae y llinell,

"I Dduw nefolaidd yn ofalus,"

yn swnio yn lledchwith. Nid oedd unrhyw anghen am yr *aidd.* "Duw nefol" fuasai y mwyaf priodol; oblegid y mae y terfyniad *ol* yn arwyddaw perthynol, ac *aidd* tebygolrwydd. Nid un tebyg i nefol yw y Goruchaf. Ni fuasai dim ond anghen am gynghanedd yn cymhell y bardd i wneyd defnydd o hono.

Anfynych y gwelir un cyffelyb i'r pennill canlynol o ran ansoddeiriau; sef,

"Elfen ei awen loew, fenywaidd,
Lon, eres, oleu, lân, risialaidd,
Oedd gwau sain foddog iesin, feddaidd,
Ber, a dewisol, baradwysaidd."

Yr oedd elfen awen Goronwy yn *loew, fenywaidd, lon, eres, oleu, lân,* ac yn *risialaidd.* Y mae gormod o debygoliaeth rhwng amryw o'r ansoddau, megys, gloew, goleu, glân, grisialaidd. Pa glod i elfen awen Goronwy oedd bod yn "fenywaidd?" Yr oedd geiriau y prophwyd, sef, "Wele dy bobl yn wragedd yn dy ganol di," yn arwydd o wendid. Yr oedd yr "elfen" yma yn "gwau sain" hefyd, yr hyn nad ellir ei olygu yn briodol; dywedai fod y sain yn *foddog,* yn *iesin,* yn *feddaidd,* yn *ber,* yn *ddewisol,* ac yn *baradwysaidd.* Ychydig o wahaniaeth sy rhwng amryw o'r rhai hyn eto. Ni feddyliasai unrhyw ddyn yn ei oriau sobr am garneddu ansoddeiriau yn y modd yma mewn iaith rydd, ac ni wnaethai ein bardd hyny oni buasai fod arno eisieu cynghanedd.

Ychydig ymhellach y mae ein hawdwr yn son am ei awen yn "chwibanu fel ëos;" ac yn esgyn yn "asgenawl,"

"Asgenawl ydd esgynai—yn ffrochwyllt,
Hoff wreichion gwasgarai."

Ystyr "asgenawl" yw, niweidiol, dinystriol; gan hyny, y mae y gair yn anmhriodol yma.

Nid cyffredin y pennill hwn—

"Yn ei gân deg o'r lana',
Cair bryn goruwch dyffryn da,
A maenol gerllaw mynydd,
Weithiau 'n fôr maith iawn hi fydd."

Yr oeddym yn dysgwyl cael, ynglŷn â'r pennill yma, barhad o ddelweddau prydferth; ond yn union y mae yr awdwr yn anerch ei awen ei hun dan yr enw "colomen," gan orchymyn iddi gymeryd taith drwy y wybren;

ond cyn gollwng ei afael o honi, y mae y golomen yn myned yn "em" ac yn "feinwen" ar yr un anadl:—

"O! gu lem wiw golomen—gem aurdeg,
Cymer daith trwy 'r wybren;
Manol chwilia, fy meinwen,
Am ail y bardd hardd a hen."

Nid ydyw efe wedi ein hysbysu pa fodd y dysgwyliai i'r "em" a'r "feinwen" ehedeg!

Y mae yn resynder fod y darnau a nodwyd wedi eu cyhoeddi.—

"Ydwyf wedi dewr ymholi,
'N daer am haeledd,
Ond er teithio, neu er chwilio
'N hir, a choledd,
Ni cheir cydmar i'r bardd llafar
Ar y ddaiar i'w orddiwes;
Nid oes elfydd i'r awenydd,
O ymenydd hoew a mynwes."

Y mae y pennillion uchod yn rhai canolig; ond y mae gan yr awdwr

"Tra llef dwrdwfn, tra llifo Dyfrdwy,"
"Llef dwfr."

Y mae yn gwneyd Goronwy yn seren ac yn huan yn mysg y planedau; ac y mae ganddo

"Gedrwydden aeg wen yn gwau
Yn nghanol y canghenau."

Beth ydyw y "gedrwydden sydd yn gwau yn nghanol y canghenau?"

Pwy a all egluro meddwl yr englyn canlynol?—

"Pan giliodd huan golau—e dd'rysodd
Yr ieuin blanedau;
Yr wybren eglurwen, glau,
Wnai ollwng ei chanwyllau."

Yr ydym yn deall y ddwy linell gyntaf; ond beth a feddylir wrth y ddwy ddiweddaf sy ddirgelwch i ni. Pa synwyr sy mewn wybren glau yn gollwng ei chanwyllau? Yr oedd yr awdl hon wedi ei chyfansoddi ar destun y Gwyneddigion, ond Gutyn Peris a ennillodd y gamp. Sorodd Dewi Wyn am hyny yn aruthr, a thynodd yr amgylchiad oddiwrtho ganiad dychanllyd, yn yr hwn y trina efe Gutyn yn dra dirmygus; ond er pob triniaeth, y mae rhagoriaeth awdl Gutyn Peris ar gyfansoddiad ein bardd yn cael ei addef yn gyffredinol gan bob un a ŵyr beth yw barddoniaeth o'r iawn ryw. Y mae awdl "Cyfarch y Gweithwyr," gan Dewi Wyn, yn un o'r rhai goreu yn y "Blodau Arfon," o ran trefn a chrynoad; er nad ydyw ond gwaith brys ar destun ysmala o ran ei ymddangosiad. Y mae efe yn dilyn ei destun yn well yn hon nag yn un o'r lleill, ac y mae ynddi bertrwydd a thlysni na chyfarfyddwn yn fynych â'u cyffelyb yn ei waith. Ychydig, os dim, a ellir eu tynu o'r awdl hon fel pethau anmherthynasol i'r testun, neu bethau heb eu heisieu. Y mae yr awdl yn ddifyr i'w darllen drwyddi. Dodwn rai engraffau o honi ger bron:—

"Wel iechyd iechyd ichwi—y gweithwyr,
Pob gwythen ar egni;
Milain hwrdd ymlaen a hi,
Mae'n rhyhwyr yn min rhewi.

Ho! mae cant am y cyntaf;—am y pen
Y mae pawb, mi welaf;
Gwawdd yn ol a gwaeddi wnaf,
Mwy gwrol am y goraf.

Daw 'r truain i'ch draed rhawiau,—da paloch
Daw polion i minau:
Na fo 'n bod yn Eifion bau
Eisieu mawrion swmerau.

Nid hel brwyn ond hwylbrenau—y byddant
Er budd i lyngesau;
Gwae y lleidr—byd yn gwellau,
Grug a brwyn yn grogbrenau.

* * *

Ban chwysoch ben a choesau,—da paloch
Daw pelydr melinau,
A thyf o bridd eithaf brau
Er eich mwyn arch i minau.

Rhyw wych grydau, eirch credir,
O'u ceinciau 'n hawdd, cawn cyn hir;
Newid ar ddeunydd noeau,
A thanwydd o'r bregwydd brau,
Ac wedi rhoi 'r coed ar werth
Gofynir rhyw gyfanwerth:
Gwel rhifydd gymynydd mawr
Wrth y droedfedd werth drudfawr;
Rhagor mawr i'r gwr a'u medd;
Ar y grug ddygai 'r gwragedd!
Creu a wnewch i'n Caerwen ni
Cysgod rhag dyrnod oerni;
Cysgodion lle cwsg adar,
Tŷ 'r edn gwyllt a'r eidion gwâr:
Ac is gwiwdeg gysgawdwydd
Eidionau yn porfau fydd;
Cau cloddiau, amlhau mal hyn,
Y gwrysgoedd i'w goresgyn;
Y fath ddrain a feithrinir,
Fu gynt yn fwganod tir:
Synai hen oesau yn ol
Fyn'd eithin mor fendithiol.
Defaid, gwartheg, ac egin,
Cânt les rhag gwres ac oer hin;
Wyn a lloiau yn lliaws,
Amgen hwynt, magu yn haws.
Amlhau buchesau a chaws,
Mwy ddengwaith yn ymddangaws:
A ffyniant, prifiant y praidd,
Lle porant y mill peraidd.
Ys degwm sy daiogaidd,
Yn gwywo 'r ŷd yn y gwraidd.

* * * *

Y dwfr fu 'n codi efrau—i gerdded
I dir rhy galed, hyd rigolau;
Yn ddof y rhed dan ddyfrhau—y sychwraidd;
Dwg wair gwlyddaidd hyd y gweirgloddiau.

* * *

Amaethad yma, weithion,
Ddyeithr beth a ddaeth o'r bon;
Mawr fendith mwy ar fawndir,
Cnwd da cynnyrcha cyn hir,
Llygra cawn; yn lle grug hyll,
Dwyn cywarch lon'd ein cewyll;
Certwyni 'n cario tunell;
Ni raid myn'd i rodio ymhell,
Ni ymholwn am hwyliau.
Draws y byd o Rwsia bau;
A throi a wnawn, uthr i ni,
I drin llin a'i droi'n lleni.

* * *

Ir dwf ar hyd y fro hon,
Ail i binwydd Lebanon;
Mal Liban a Basan bydd,
Drych wiwdrefn derw a chedrwydd,
Ein Eifionydd newydd ni—a'i lloerawg
Ymylau 'n goediawg mal Engedi."

Yr awdl nesaf yn ei waith yw "Oroian y Bardd; sef, gofwy Môn gan Sior IV, yn 1821." Y mae yn yr awdl hon rai darluniadau cyffrous: ond nid ydym yn gweled priodoldeb mewn dyweyd fod natur yn ffoi, ac fod gewynau Sior mor weiniaid nes yr oedd yn dychrynu.

"Gan dyrfau gawriau 'n goror,
Dychrynodd, a synodd Sior."

Yr oedd ei fawrhydi wedi gweled amgen golygfaoedd nag a allasai ynys Môn ddangos, ac wedi clywed twrf magnelau cryfach. Buasai y darluniad yn fwy priodol am hurtyn mynyddig, fuasai heb weled llawer o bobl, nag o un o'r brifddinas, a hwnw yn frenin. Y mae

"Banerid holl benau 'r tai"

yn dlws.

"Gwledd yw fal gŵyl Iuddewon,"

yn ddarluniadol o liosogrwydd y bobl; ac y mae

"Trydania melltia ei main,
Ys ŵyr yw i Syr Owain:
Dychlamiad uchel luman,
Pylor du, pelau ar dân,
Y wlad yn oleu ydoedd;
Wyneb o dân enbyd oedd,
A chân ogylch yn egor
Derbyniad croesawiad Sior,"

yn amlygu beth oeddynt yn ei wneyd wedi dyfod ynghyd. Dywed fod

"Caergybi a'r creig ebyr—yn cydgan,
O! 'r goroian a rwygai 'r awyr:"

ond y mae yn ein cludo dan "fagddu o fwg" yn uniongyrchol oddiwrth yr olygfa hon:—

"Crynu dan fagddu o fwg
Y ceir seiliau Caersalwg."

Nid ydym yn gallu canfod dim yn brydferth yn

"Mynyddau yma 'n oddaith,
Mal tŵr o ser, aml tros iaith."

Beth sydd a wnelo y "tŵr o ser" â'r "mynyddau?" Y mae y llinellau canlynol yn dlws:—

"Nad allem wneyd lluman aur,
A'n harwyddion o ruddaur,
Trwsio palmant o risial,
Marmor gwyn, mur mawr a gwal,
Treulio a cherfio â chyn
Prif-ffordd i'w osgordd esgyn,
Puch cyfun pob un pe bai,
Llawrlenid lle 'r olwynai."

Ond y mae y ddwy linell ddiweddaf yn dywyll. "Puch" yw ochenaid, dymuniad difrifol; a "cyfun" yw unedig.

"Blodau ir gangau o'r gwydd—y'mhob lle
Hyd ordyle ein da Ardalydd,
Euro hyd Fôn y rhodfäu,
Mill[1] Ebrill am ei llwybrau."

sydd yn ddarluniadol; ac y mae y darlun yn cael ei ddilyn yn y llinellau canlynol:—

"O! na bai holl wyneb hi,
'N llawr o fill i'w arfolli,
Na fai 'n main yn fein mynawr,
A Menai yn osai 'n awr;
Tröer i aur tŵr Eryri,
Yn fwyn ei hen feini hi.

Ond pa les, pe pres pob bryn,
Neu 'r moelydd yn aur melyn,
Wrth goron mawrwerth gariad,
Undeb ffyddlondeb y wlad?
O! beth ydyw bathodyn
Bedai werth aur byd wrth hyn?"

Y mae amryw o'r llinellau yn amddifad o'r berfau anghenrheidiol, ac o herwydd hyny maent yn dywyll:—

"Dychlamiad uchel luman,
Pylor du, pelau ar dân,
Ar dir Môn werydre mad—Arlwydd,
Ie'r Ardalydd, eryr dwywlad."

Trueni na buasai pob llinell yn yr awdl mor amlwg a'r rhai hyn,

"Cerbydau ar gamrau 'r gwynt,
Trwy ynys Môn taranynt;
Pob march dihafarch a ehed—tano
Traed yn lluwchio trydan a lluched."

Y mae y llinellau diweddaf hyn yn ddarluniadol ac yn nerthol; yn enwedig y "traed yn lluwchio" y tân a'r mellt.

Y mae y dernyn sydd yn dangos yr ymddiried oedd gan y brenin yn y [illegible] yn briodol; sef

[1] *Violet.*

"Wyneb y brenin heb ei beiriannau,
Gosgordd na byddin yn trin tarianau,
Ond trwy ganoedd anturio â gwenau:"
* * * *

Ond ni chydsaif y rhai hyn â'r llinell, lle y dywedir,

"Dychrynodd a synodd Sior."

Ar ol dangos parch ei fawrhydi i'r Ymneillduwyr, y mae yn rhedeg at yr hyn oedd Mon gynt, gan gyfeirio at Egbert, Ethelwolf, y Daniaid, y Brithwyr, y Gwyddeliaid, Edgar, Harold, Harri, ac Iorwerth—pethau hollol anmherthynasol ar hyn o bryd. Ar ol son am gwymp Llywelyn, y mae yn crybwyll am uniad Cymru â Lloegr; y mae yn son am nerth y deyrnas yn wyneb gelynion; gan gyfeirio at Bona. Yna rhydd i ni ddarn hirfaith ar lwyddiant y genadaeth Gristionogol, a phethau eraill nad oes unrhyw berthynas uniongyrchol rhyngddynt â'r testun o "Ymweliad y brenin âg ynys Mon." Yr ydym yn cael amryw dudalenau a fuasent yn fwy priodol mewn awdl ar lwyddiant y genadaeth nag ydynt yn yr awdl hon.

Bu "Iwan," gwr dysgedig, oedd yn weinidog gyda'r Bedyddwyr Seisnig yn Abertawy, yn tynu ei law yn lled drwm drwyddi, yn "Seren Gomer," tua'r flwyddyn 1822, am yr hyn y chwerwodd Dewi Wyn yn arswydus. Yr oedd llawer iawn o gywirdeb yn amryw o'r nodiadau a wnaeth Iwan arni, yn ddïammhau; ond yr oedd efe yn myned yn rhy bell mewn pethau eraill, ac yn collfarnu llawer o linellau yn rhy ddiarbed. Yr oedd efe yn cyfrif pethau yn feiau nad ydynt yn cael eu hystyried felly mewn iaith a chynghanedd. Pwnc penaf Iwan, yn y ddadl, oedd ceisio profi nad oes fodd i ungwr, bydded ei alluoedd y peth y byddont, roddi synwyr na meddyliau barddonol o'r iawn ryw yn y mesurau caethion. Er ein bod yn cytuno yn hollol âg Iwan "nad ydoedd Dewi Wyn yn fyr mewn cynneddfau naturiol; ond ei fod yn meddu ar y doniau cryfaf, ond yn unig eu bod heb eu gwrteithio [diwyllio]:" nid allwn ddyweyd ein bod ni yn credu fod galluoedd Dewi Wyn "yn cael eu nychu yn ngharchardŷ cerdd dafod," neu y mesurau caethion. Yr ydym ni yn ei weled yn chwareu yn y tresi yn bur dda; ei unig fai oedd diofalwch a diffyg barn. Yr oedd Dewi yn weithiwr grymus yn y mesurau caethion am amser byr; ond yr oedd efe yn blino yn fuan. Nid oedd dim gwastadrwydd ynddo. Rhyw hyrddiau rhyfedd fyddai arno yn ei holl gyfansoddiadau. Tarewir wrth ambell ddernyn, yma ac acw, nad oes fodd fod ei well mewn unrhyw iaith; ond ceir yn ymyl hyny y pethau gwanaf a'r ffolaf a ddaeth o ben dyn. Pe daliasai yn y cryfder a amlygir ganddo, yn ddamweiniol, yn gyffredin, ni fuasai neb parotach nag a fuasem ni i waeddi "Abrec" o'i flaen, ac i'w ystyried yn "bencampwr," gan ddywedyd, yn iaith I. Madog,

"Oeswr a phen seraff oedd—pen campwr,
Ac amerawdwr beirdd Cymru ydoedd."

Ond nid allwn ni wneyd hyny, pe gorfyddai i ni oddef merthyrdod oddiar law seiri cynghaneddion, os caniateir i ni gael gosod ysgwâr beirniadaeth deg a dihoced ar ei gyfansoddiadau. Os pasir ei waith yn y tywyllwch, gan adael iddo ef roi yr ystyr a fyno i eiriau, a throelli a chyfrodeddu hen eiriau tywyll, ac enwau dynion a lleoedd, a llusgo y peth a fyno i'w gyfansoddiadau, pa un bynag a fyddont yn perthyn i'r testun ai peidio, y mae yn hawdd iawn iddo gael ei olygu yn un mawr gan y werin; ond os eir

i'w ogofâau llychlyd â llusern yn ein llaw; os chwilir i gymalau ei eiriau a'u hystyr briodol; ac os cedwir o fewn terfynau rhesymol gyda thestun, heb ganiatau dwyn i fewn i gyfansoddiad ond pethau a berthynant iddo mewn gwirionedd, fe dynir y golchiad y mae cyfeillion Dewi ac eraill wedi bod yn ei roi mor helaeth arno i raddau mawr ymaith. Nid oes achos aberthu gwirionedd a chyfiawnder er mwyn na Dafydd Wyn na Dafydd Ddu. "Gwefus gwirionedd a saif byth." Cael allan beth sydd wir farddoniaeth ydyw un o'r amcanion sy genym ni mewn golwg, wrth ysgrifenu y traethodau hyn, rhag i'r oesau a ddeuant chwerthin am ein penau am gyfrif yn farddoniaeth bethau nad oes dim mwy o enaid y gân ynddynt nag sydd yn mrefiad yr afr ar un o glogwyni Arfon.

Ymddengys nad ydoedd Dewi Wyn o'r un golygiadau a'r hen feirdd o berthynas i'r awen, sef, ei bod yn rhyw rodd neillduol i ryw ddosbarth neillduol o ddynion; dyna y dyb a goleddid am ganrifoedd yn ein gwlad; a Dewi Wyn oedd y cyntaf, y mae yn debyg, a ddechreuodd siglo dynion oddiwrthi. Bu yr oferdyb yma, yn ddiammhau, yn lloches gref i'r beirdd, ac yn gynnorthwy iddynt allu gwneyd i'w dylanwad gael ei deimlo yn Nghymru mal pe buasent ddewiniaid neu swyngyfareddwyr. Meddylid fod amserau neillduol ar y prydydd; y byddai yn rhaid iddo ollwng ei afael o bob gorchwyl pan y delai yr awen i'w gynhyrfu, ac ufuddhau i'w chais hi. Fe elid can belled, ar gefn y fympwy hon, nes y dywedid y byddai yr awen yn deffro y bardd yn ei wely y nos; ac y costiai iddo gyfodi a goleuo canwyll ac ysgrifenu y meddylddrychau a ddelent yn ffrwd heb eu ceisio i'w ben! Yr oedd y goel ŵyrgam yma mor ynfyd a'r fympwy oedd gan lawer o'r hen bobl, mai pethau yn dyfod o'r nef yn uniongyrchol oedd pregethau, ac mai pechod fuasai i ddyn feddwl dim cyn myned i'r pulpud! Yr ydym yn cofio hyn yn cael ei ddyweyd yn ddigon cyhoeddus ac yn ddigon difloesgni. Yr ydym yn cofio hefyd glywed am "brydydd naturiol, a phrydydd trwy lyfrau;" a byddai rhai yn cymeryd arnynt eu gwahanu fel y gwahana y bugail y defaid oddiwrth y geifr. Y dyb yma oedd tyb y rhan fwyaf ddeng mlynedd ar hugain yn ol,—ystyrid yn fath o ryfyg i'r "prydydd drwy lyfrau" geisio rhestru ei hun ymhlith y prydyddion oedd "wedi derbyn y ddawn o'r nef."

Bu adgyfodiad diweddar yr eisteddfodau yn foddion i ymlid ymaith yr ofergoel hon i raddau mawr, fel nad oes ond ychydig iawn yn fyw yn bresennol drosti. Y mae beirdd yr oes hon yn golchi eu gwynebau, yn tori eu barfau, yn botymu eu dillad, ac yn dyfod yn fwy tebyg i aelodau o'r gymdeithas ddynol nag oeddynt gynt; a chredir y gall unrhyw ddyn o synwyr cyffredin, drwy ymroddiad, gyrhaedd y "ddawn nefol" a ystyrid yn gysegredig gan yr hen feirdd. Y mae Dewi Wyn yn trin y mater yn dda yn y farddoniaeth a eilw efe yn "Fonedd a Chynneddfau yr Awen." Parodd ymddangosiad yr englynion canlynol ddaeargryn arswydus ymhlith y beirdd tua'r flwyddyn 1818:—

"O! f' awen addien iawn wyd,—iawn oeddit
Yn Adda pan grewyd;
Rhesymol, eneidiol nwyd,
Dawn natur pob dyn ytwyd.

Awen yn Eden odiaeth—oedd goron
Hawddgaraf dynoliaeth;
Ond yn y cwymp, mewn dyn caeth,
'Enhuddwyd awenyddiaeth.'

Ond er hyn o drueni—tueddiad
Plant Adda sydd ati;
Ei heffaith pair ei hoffi,
Ac arfer a'i hadfer hi."

Aeth rhai o'r beirdd agos i lesmair pan ddarllenasant hwynt; ac yr oeddynt yn barod i esgymuno Dewi o fynwent ac eglwys, am feiddio gwneyd y fath hafog o farn oedd wedi ei chysegru gan oesau.

Daeth Gutyn Peris allan, mewn rhwysg mawreddog, â'r beirdd a'r wlad oll wrth ei gefn, i feddwl rhwygo y farn a goleddai y bardd o Eifion, a'i gollwng gyda'r pedwar gwynt; ac y mae yn rhaid addef ei fod ef yn cyfansoddi yn dda, ac yn amddiffyn y dyb oedd ganddo ef a'i frodyr yn llawn cystal ag y gallesid dysgwyl; ond nid ydoedd yr hyn a ddygai fel rhesymau yn sefyll dim o flaen Dewi. Y mae efe, nid yn unig yn rhesymu yn deg, ond y mae yn troi tyb ei wrthwynebwyr i wawd hollol. Dywed,

"Rhyfyg, cabledd mawr hefyd,
Yw gŵyrdroi barn gwŷr da 'r byd;
Gwaradwydd i hen gredo,
Hudolwyr, brudwyr ein bro.
Derwyddfeirdd, gogynfeirdd gau,
Dywyll addolwyr duwiau,
Eu cadarn brif bwnc ydoedd,
Drwy y byd diareb oedd.
* * * *
Os gwadu 'r hen ddysgeidiaeth,
Ni orug cred weithred waeth."

Y mae efe, er dangos mai nid rhodd uniongyrchol o'r nefoedd ydyw, yn profi ei bod yn meddiant paganiaid eilunaddolgar:—

"Amlwg yw mai mawl a gaid
Yn gynar gan baganiaid;
Dwned o ysbryd annuw
Y byd heb adnabod Duw,
Cam ddefnydd o'u gwenydd gynt,
Eulunod a folianynt,
Eu gwawd mor odidog yw!
Addysg i brif-feirdd heddyw.
Delwau yw eu hodlau hen,
Portreiad pert o'r awen.
* * * *
Pa ysbryd, ai ysbryd Iôn
Yw 'r eiddo y Derwyddon?
* * * *
Rhyw ddyeithr rodd yw awen,
O rad anfoniad nef wen;
I gyfaill yr wy'n gofyn,
O b'le y daw parabl dyn?"

Dengys ein bardd nad oes dim mwy o neillduolrwydd yn rhoddiad yr awen nag sydd yn rhoddiad parabl; ac nad ydym i edrych arni hi yn ddawn o'r nef, ond fel yr ydym i ystyried pob rhoddiad daionus a phob rhodd berffaith yn disgyn oddiuchod oddiwrth Dad y goleuni.

Anfonodd Gutyn ateb i'r cywydd cyntaf, ac y mae hyny yn rhoddi achlysur i Dewi ddyfod allan eilwaith. Trueni na fuasai cyhoeddwyr "Blodau Arfon" yn dodi y ddwy ochr i'r ddadl ger bron y darllenydd. Y mae Dewi yn ei ail gywydd yn dyweyd,

"Ail bawb neu gyffelyb ym,
Brodyr o un bru ydym;
Ac un nifer cynefin,
A roed o synwyrau in';

Hyn yn ŵyl a wna y naill,
Yn araf a wna eraill;
Neu yn llyfn a wna y lleill,
Yn o arw a wna ereill.

* * * *

A wna 'r llall—arall—a hwn,
Minau a'i gwnawn pe mynwn.

* * * *

Llawer o arfer wirfaith,
Pawb a'i gŵyr, yw meistr pob gwaith.
Digon heb ddysgu dwygamp,
Fod i'r gŵr fedru y gamp:

* * * *

Yr hen seiri ni sawriant,
Waith un gof a hwythau'n gant;
Ac ni ŵyr y go'n wirion
Am waith y saer, metha son;
Achos na chawsai 'n ieuanc
Drin y llif a'r derw 'n llanc;
O rhoisid ef mewn rheswm,
Aethai 'n saer eitha'n ei swm;
A'r naddwr, oni wyddynt?
Eitha' gof a wnaethai gynt.

* * * *

Pa sawl perchen awenydd
Wrth natur yn segur sydd?
O fawr ddawn i farddoni,
Naw mwy o fawl na myfi."

Gellid tybio fod y pwnc yma wedi ei sefydlu bellach, mai "Nid awen ond arfer." Y mae cryn lawer o fedr yn cael ei ddangos yn y cywyddau hyn o waith ein bardd ; ac y mae yn ddigon diammheuol y bu ei ddylanwad mawr ef yn foddion i yru yr ofergoel wrthwynebol i'r wadd ac i'r ystlumod. Y mae beirdd yr oes hon yn dyfod i fucheddu fel dynion eraill, ac i farnu fel dynion eraill. Ychydig iawn a welir yn y dyddiau hyn, yn dwyn yr hen argraff a'r ddelw ystrydebawl oedd ar brydyddion ein gwlad hanner cant o flyneddau yn ol.

Anffawd fawr, yn ein barn ni, oedd i Ddewi Wyn fyned i dynu y dorch âg Iwan yn y "Seren Gomer;" a llawn cymaint o anffawd oedd i gyhoeddwyr "Blodau Arfon" ddodi "Cywydd yr Iwan" yn y casgliad. Y mae yn amlwg ei fod wedi ei gyfansoddi mewn natur ddrwg ; ond y mae yn hollol annheilwng fel cyfansoddiad: yn un peth y mae yn ymgais gormod am ddiystyru Iwan, gan ei osod allan fel hen wreigan annoeth, pryd yr oedd y gwr yn ddysgawdwr enwog, a phwys yn yr hyn a ddywedai am natur barddoniaeth. Y mae Dewi yn ceisio gosod Dafydd Nanmawr, Tudur Aled, Dafydd ab Gwilym, a Goronwy Owen, yn ymyl beirdd Groeg a Rhufain! Gwrandawer y bardd:—

"A geir y'mysg eu gwŷr mawr
Fyth yn unman fath Nanmawr?
A allai Groeg a holl gred
Eilydd i Dudur Aled?
A fu erioed o fawr rym,
Neb o golofn Ab Gwilym?
Na fu 'r un o'u nifer hwy
Werth rhawnen wrth Oronwy;
Heriaf Homer a Horas,
Ni bu eu trech neb o'u tras."

Yr ydym agos yn sicr fod ffol addolwyr Dewi yn meddwl llawer iawn o'r heriad yna ; ac yr oedd pob dyn dysgedig, drwy Gymru, yn barod i dosturio wrtho am gymeryd ei gludo can belled, tudraw i bob terfynau o weddeidd-dra, o du barddoniaeth ei wlad. Yr oedd Iwan yn ddysgedig, ac yn deall barddoniaeth mewn ieithoedd gwahanol; teilyngasai fwy o barch oddiar law bardd Eifion na gwaeddi yn ei wyneb,

"Ow! Ow! Ow! Ow! Ow! Iwan,
Ha! on'd wyd hynod o wan?
Nid gwiw, gwenhudiw, gwan wyd,
Geny'th wasgu na'th ysgwyd;
Ysglodyn, bretyn, neu bryf,
Pry' neu erthyl prin wrthyf;
Chwe' salach na cheseilwrn,
Naw llai, on'te, na llon'd dwrn?
Rhyw dusw rhaid ei osawd
Dan wregys rhwng bys a bawd.
Iwan bach, pob bach, pw, pw,
Sal, salach nag islaw sylw.
Ba ornest, pa orchest pen
I'r llew gadw llygoden?
Er anog o aur enau,
Er gyru gwa'dd, er lladd llau;
Nid eill byd na'i dwyll o'i ben
Yru llew ar ol lleuen;
Dewi ni ymlid Iwain
Ys chwech fwy na chwech o chwain."

A glywodd neb erioed y fath ymffrost o ben dyn sobr yn ei lyfrgell? Nid oedd dim terfyn ar feddyliau mawr Dewi am dano ei hun, a'i ddirmyg ar eraill os na thalent warogaeth iddo. Buasai yn gywilydd gan Locke, neu Milton, ollwng y fath ffrydiau o hunan-ganmoliaeth ag a welir yn y gyfrol dan sylw, pe buasai y peth mwyaf erioed yn dygwydd; ond gwnai y cyffyrddiad lleiaf â balchder Dewi iddo ollwng llifeiriant o ganmoliaeth iddo ei hun, nes y byddai pob dyn teilwng yn cilio o'r ffordd gan gywilydd drosto, a chan ofn i'r Seison allu byth ddeall ei waith. Pe buasai Iwan wedi ceisio am ei fywyd, ni fuasai yn weddus iddo ddangos cymaint o gynddaredd tuag ato. Onid rhydd i bob un ei farn? Ac onid ydyw pob gwaith cyhoeddus yn gymaint eiddo y rhai a dalant am dano, fel y mae ganddynt hawl i fynegu eu barn am dano, heb ofyn cenad yr awdwr? Rhaid priodoli yr holl ymffrost wag yma i ddiffyg dygiad i fyny ymhlith pobl a wyddent well pethau nag ef. Buasai hanner blwyddyn mewn athrofa, dan dwylaw rhyw fath o athrawon, naill ai yn ei feddyginiaethu yn llwyr oddiwrth hyn, neu yn ei yru i ymguddio yn dragywydd o'r golwg.

Y mae Cywydd Dewi i Mr. J. W. Pritchard a'i daflen rifyddol, yn cynnwys rhai syniadau gwych:—

"Iawn arwydd yw neu oriawr
O lanw a thrai 'r Fenai fawr,
A phob goror o'r môr maith,
O Gybi i'r Rhyn Gobaith.
Mae 'n nodi y munudyn
Daw 'r dwr llwyd i'r rhyd a'r llyn;
* * *
Y llanw gwyllt yn llen i gau
Mawr dywyn Môr y Deau.
* * *
Annoddyn ni ofyn nawdd
Creisionglych y crisianglawdd.
Rhedeg wrth drefn Creawdwr,
Er dim, i'r dim, y mae 'r dwr,
Aros ar fin nos ni wnai
Brin aeliad, be'r ne' wylai,
Ys gwae mryd nid ery dwr,
Traeth a'i gerhynt, wrth garwr;
Ni oedai yn ei adeg,
Er serch priodasferch deg.

A murmur rhwyth mawr mor hyf,
Ys gyrai ar draws gwyryf!
Bun lesg a gwraig yn esgawr,
Ei ddiluw, O! Dduw ni ddawr.
Sywedyddion beirddion byd,
A foddai i'w arfeddyd.
Rhoddai benaerwyr hyddysg,
Fyrdd cant yn borthiant i'w bysg.
Nid erys ac nid eiriach,
Dwfr yn ei byd[1] fawr na bach
Nid oes ffafr gan ei afrad,
I ungwr pe 'r morwr mad."

Y mae y darn yma yn meddu llawer o brydferthwch; ond yn ein tyb ni, buasai yn well ei adael tua'r briodasferch na myned ymhellach. Buasai yn llawn mwy effeithiol. Go dywyll yw

"Creisionglych y crisianglawdd."

Y mae bywiogrwydd a newydd-deb yn y "Cywydd ar Ymadawiad Cyfaill," lle y dywedir,

"O daeth it' yn y daith hon,
Rhyw les mawr, Lewis Meirion,
Dros oror y dyfnfor od ai
Gwylia 'r Sarn i gloi 'r siwrnai:
Dra fo 'r don yn dryferw dig
Sai 'r enbydrwydd Sarn Badrig."

Y mae ei englynion i anerch Cymdeithas Gymroaidd Dolbenmaen yn ddifyrus. Cynnwysa yr "Ymddyddan rhwng y Bardd a'r Awen ynghylch Napoleon Bonaparte" rai o'r syniadau cryfaf a mwyaf effeithiol a ddarllenasom; ac y mae ynddynt syniadau eraill hollol anghydweddol âg ysbryd Cristionogaeth; prin y buasent yn oddefol mewn bardd o dan ysbrydoliaeth. Y mae rhai o'r melldithion agos yn fwy erchyll na melldithion y nawfed salm wedi y cant; sef,

[1] Perygl.

"Oni wna Bona newid
Ei amcan, gyflafan lid,
Dybened bywyd Bono,
Ac fel Jesebel y bo.

Buan y bo Bono ai benwn—ar lawr,
Er mawr les i fyrddiwn;
Aed ei gorff yn fwyd i gŵn,
Aed ei enaid i annwn.

Ai pluo wna Apolyon—y byd
O bawb o'i ben gweision?
Cymeryd acw y mawrion,
Ormeswyr brwydrwyr o'r bron?

Gan bigo o begwn i begwn—byd
Bob rhyw fath o waedgwn;
A Bonapart yn ben pwn
Pe llenwid pyllau annwn."

Y mae yr englynion hyn yn felldithlawn arswydus. Nid oes genym unrhyw dir i sefyll arno i gynnyg cyfiawnhau yr awdwr. Dichon mai mewn rhyw nwyf hanner cellweirus y cyfansoddwyd hwynt, er dangos felldithion mor gryfion a ellid eu dodi yn yr iaith Gymreig; ond eto, dylasid peidio a'u hargraffu, oblegid y maent o duedd ddrwg, hollol groes i'r gorchymyn "Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant." Nid oes dim modd eu cael o'i waith tra dalio y llyfrau wrth eu gilydd. Os byth yr ail argreffir ef, hyderwn, er mwyn ei goffadwriaeth ef, ac er mwyn yr oesau a ddeuant, y gadewir yr englynion erchyll hyn allan, ynghyd â'i ganiadau dychanawl eraill. Pa glod i awdwr yw ei fod yn gallu dychanu? Onid yw pysgod-wragedd Porth Beli yn gallu gwneyd hyny yn ddoniol dros ben?

Y mae yn Englynion Bona, pa fodd bynag, rai teilwng o'u cofnodi; megys,

"Gall ladd pob gradd, pawb a gryn,—miliynau
Mal enwog offeryn,
A i lawr, os Duw mawr a'i myn,
Ac a baid fel gwybedyn.

* * *

Helaeth unbenaeth Bono—mewn gofid
Mae'n gyfyng ar hono;
Canys gwas pan deyrnaso,
Mae llaw barn yn drom lle bo."

Os ydoedd yr englyn diweddaf yn briodol yn amser Bono Fawr, pa mor briodol ydyw yn amser Bono *fach?*

Y mae yr englynion canlynol yn ddarluniadol:—

"Dystryw fu 'r unrhyw fawr anrhaith—trwy dân
Tra dinystyr ac artaith,
Tref Fosco gyfoethog, faith,
Anneddau fyrdd yn oddaith.

Och, arswyd breuddwyd i'w bro—p'odd echrys
Pa ddychryn a chyffro!
Pa wallgof ddull, ffull a ffo,
Yn mysg trigolion Mosco?

Llewygu rhynu ar unwaith—dan wawd
Yn wyllt ac yn ddiffaith;
Aneirif a difrif daith
Yn gwibio heb un gobaith."

Nid ymddengys ein bardd yn gymaint yn ei elfen wrth geisio moli Alydd Mon am ei orchestion milwrol, ag ydyw pan yn gwrthwynebu

rhyfel a thywallt gwaed. Y mae y pennill canlynol yn werth y cwbl o'r "Awdl i Dŵr yr Ardalydd:—

"D'ai y dduwies heddwch, dedwydd swyddau,
Yn hygar dirion i agor dorau;
Daeth meibion anwylion yn eu holau;
Gwyr a cheraint o ddyfnion garcharau;
Ail adnabod eu gwedd lwyd wynebau,
Ddug lawenydd i fyrdd o galonau:
Cofio'r wyrth bydd pyrth bydd parthau—Prydain,
Gorllewin, dwyrain, geir oll yn dyrau."

Y mae yn englynion ein hawdwr i forglawdd Madog rai o'r englynion egluraf, cryfaf, a mwyaf barddonol, a wnaeth efe erioed:—

"Wele dirion wladwriaeth—chwai nerthol,
A chynnorthwy helaeth;
Haelioni a rhagluniaeth
Sydd brysur yn trechu'r traeth.

Haelioni ar olwynion—yn llusgaw
'N ewyllysgar ddigon,
Y callestr greig i'r eigion,
I droi dig falchder y dòn.

Trafod diorfod dyrfau—y pylor
Yn palu mynyddau,
Toraeth gwych i'r traeth i gau
Gwylltineb gallu tonau.

* * *

Gwynluwch, uchelguwch y weilgi—ys pwll
Nis pallwch ei lenwi,
Tra fo craig, er holl aig lli',
O'r Aran i'r Eryri,"

Nid ydyw ei ddaroganiad wedi cymeryd lle eto; sef,

"Nid hawdd gwneyd morglawdd mawrglod—Duw unwaith
Ordeiniodd y tywod,
Hwn sydd, ac a fydd i fod
Yn derfyn llanw diorfod.

Mwy perwyl na champwri—a gorchest
Fydd gwarchae y weilgi;
Nid gwal a all attal lli,
Y môr dwfn, mae rhaid ofni.

Daw dydd ysmaldod y dòn—dychwelyd,
A chwalu gwaith dynion,
I fwrw ei heillt lafoerion
Fel y gwnaeth yn Malldraeth Môn.

Er gwyr call diball dybiau,—er cawri,
A'u cywrain fwriadau,
Llifiaint, er cymaint yw 'r cau,
Dwr a fyn ei derfynau."

Pe buasai un o'r hen feirdd fydd yn cyfrif eu bysedd, wrth glywed adrodd englyn, yn ymyl penelin Dewi pan oedd yn dodi *Mon* i ateb i *don* yn yr englyn nesaf i'r diweddaf, buasai yn gwaeddi yn groch "trwm ac ysgafn." Gellid tybiaw fod ein bardd yn hoff o ysmaldod diniwaid weithiau, a'i fod yn cyfansoddi englynion a phennillion o ran difyrwch iddo ei hun; megys, "Caniadau y Seiri."

Nid oes yn ei "Gywydd y Cawr" fawr o werth sylw; y mae yn llawn o hunan-ganmoliaeth, fel darnau eraill o waith ein hawdwr; megys,

"Ceir gwybod, Gawr Caergybi,
Mai blewyn wyt o'm blaen i;
O'r braidd y gŵyr y Bardd Gwyn
Ragawr rhyw gawr ar goryn:
Ac ar faes lle curwyf fi
Coriaid a fydd rhai Cawri."

Y mae yn syndod i wr oedd yn meddu y fath feddyliau mawr am dano ei hun, ar hyd y rhan fwyaf o'i oes, fyned mor druenus ac isel tua'r diwedd. "Diau mai cwbl wagedd yw pob dyn pan f'o ar y goreu."

Y mae yn ei "Gywydd dymunoldeb Gwraig rinweddol" rai darnau

tlws ac effeithiol. Y mae yn portreadu gwiriondeb y llanc a nwyfiant y tad i'r byw. Hwyrach fod yn hwn ormod o natur yn cael ei dangos yn ngolwg rhai. Natur ydyw natur wedi y cwbl, yn y duwiol a'r annuwiol, ond ei bod yn fwy dan reolaeth gan y naill na'r llall. Nid ydym ni yn gallu canfod dim yn y cywydd hwn, er mai cân cariad ydyw, nad ydyw mewn perffaith gyd-darawiad â'r chwaeth mwyaf pur, oddigerth mewn rhyw ychydig fanau; y mae yn myned yn lled bell yn ngolwg pobl na charant glywed galw pethau wrth eu henwau priodol.

Y mae ei Gywydd i Elen yn dlws, a'i gywydd i'w frawd yn llawn o deimlad:—

"O! mrawd bach, mawr yw dy boen,
O'th gyrhaedd ydd aeth gorhoen;
Dygn yw dy boen, dogn di baid,
Cerydd Duw yn cwrdd â d' enaid.
Gwybydd dan law Dofydd, Dad,
Nad yw cerydd ond cariad,
Yna o'i law, anwyl Ion,
Wedi cerydd daw coron.
Pob iselder a cherydd,
Mal cyffur dan fesur fydd.
Gŵyr y meddyg roi moddion,
Goreu o neb gŵyr ein Ion."

Cyfansoddwyd ei Gywydd i'r Farf tua'r flwyddyn 1813. Y mae pertrwydd mawr i'w weled drwyddo, a dangosiad o'i fedrusrwydd yn chwareu gyda'r cynghaneddion. Cai ef blethiad yn yr ymadrodd mwyaf cyffredin, megys,

"Dwr i mi i dori 'marf."

"Ni feiant ar fy marf mwy."

Ni feddwn yn yr iaith englynion â chymaint o nerth geiriau, cynghaneddion, a meddylddrychau ynddynt, ag yw yr "Englynion ar Bont Menai." Nid ydym, wrth ddyweyd hyn, yn barod i sefyll wrth gefn pob ymadrodd sydd ynddynt; oblegid mewn dull priodol nid ellir dyweyd *caer* am bont; megys,

"Uchelgaer uwch y weilgi,"

oblegid mai mur amddiffynol, neu gastell, sydd yn myned wrth yr enw hwnw yn Gymraeg. Dichon y gellir caniatau

"Crogedig gaerog adail,"

ar yr un tir ag y dywedir, "brethyn caerog," yn fwy o ddarluniad o natur y gwaith a roir arno nag o'r defnydd a wneir âg ef. Nid ydym yn gallu cydweled â'r bardd fod y bont yn "chwe' hynotach" nag "arch No;" nac yn foddlawn i'w golygu fel prif ryfeddod y byd. Y mae efe wedi mynegu hefyd y byddai y bont

"Yn ben ar ben banau'r byd,
Maen clo fydd mewn celfyddyd."

Y mae hyn wedi ei wneyd yn ddisail drwy godiad y bont arall yn ei hymyl; ond yn mha englynion yn yr iaith o waith awdwyr, hen na diweddar, y ceir mwy o fywiogrwydd, o ddarluniadau, ac o dân awenyddol, mewn cylch mor fychan?

"Uchelgaer uwch y weilgi—gyr y byd
Ei gerbydau drosti,
Chwithau holl longau y lli'
Ewch o dan ei chadwyni.
* * * *

Amryw ganllath uwch y môr genlli';—ei
hyd drudfawr,
Tair rhodfa sydd arni;
Tri deg llath, tra digio lli',
Yw'r heolydd o'r heli.

* * * *

Daw agerddlong hyd y gwyrddli'—mor-
Yn ymarfer dani, [feirch
Chwe' phaun hardd uwch ei phen hi,
A'n mwyn deyrn yn myn'd arni.

* * * *

Tra chynwrf môr yn trochioni,—tra thon
Trwy wythenau'r weilgi,
Ni thyr hwn ei thyrau hi
'Tra 'r erys twr Eryri.'

Esgarir yn ysgyrion—cant Ewrob
Cyn toro 'i gafaelion;
Yr ogof fawr yn nghraig Fôn,
Gyferfydd ogof Arfon."

Fe allai y dywed rhywun y dylasai y bardd grybwyll am ogof Môn ac Arfon cyn son am dori "cant Ewrob," oblegid mai hyny yw y peth mwyaf; ond hyn a allwn ddyweyd fod yr ymadrodd yn gryf dros ben ag ystyried mai yn y gynghanedd gaeth y dywedwyd y peth.

"Iâ yr awyr a'i rewiant—a chenllysg,
Ei chanllaw ni waethant;
Fflamfellt yn ei dellt nid ânt,
Dur ei thidau wrthodant."

Gobeithio fod ein bardd yn dyweyd y gwir; ac y caiff ei ddymuniad yn yr englyn diweddaf,

"Safed fyth,—sef hyd y farn."

Nid ydym yn gallu gweled priodoldeb,

"Gwiw orsedd ac awyrsarn."

"Gorsedd" i ba beth? Nid oes dim ynddi yn debyg i sarn ychwaith. *Stepping stone* yw sarn, ac nid ffordd—Sarn Badrig.

Y mae cryn synwyr yn ei "Ynglynion Gnodau;" ond nid barddoniaeth mo'nynt yn marn addolwyr y gynghanedd.

Nid yw Dewi Wyn yn codi fawr uwch na'r cyffredin yn ei ganiadau rhyddion. Nid oes dim mewn syniadau nac iaith yn eu hynodi, oddigerth yn ei "Alleiriad o Gân Moses." Y mae yn hòno ymadroddion cryfion; ond nid efe oedd biau y meddylddrychau. Dodwn rai llinellau o honi ger bron:—

"Fe daflodd fyddin Pharao 'n fud
O dan y ddyfrllyd ddôr,
A holl gerbydau y gŵr balch
Grymusfalch dig i'r môr.

Ei bencadbeniaid cwympwyd hwy,
Tra 'n tramwy 'n fawr eu trwst,
Dan donau cauad y Môr Coch,
Wŷr ffroch oedd fawr eu ffrwst.

Dyfnderau 'r llif a'u toisant hwy,
Rhuadwy oedd eu rhoch;
Disgynai 'r bradwyr hyn mewn breg,
Mal careg i'r Môr Coch.

Dy ddeaulaw tragwyddol yw,
O, Dduw! pob nerth a ddwg,
Dy ddialeddol ddeau law
Fu 'n drylliaw 'r gelyn drwg.

* * * *

Uwch muriau cedyrn y Môr Coch
Y chwythaist â'th groch wynt,
Holl gronfa ymarllwysfa 'r llif,
Tew ddylif a'u todd hwynt.

O tano soddent yn eu swm,
Fal plwm mor drwm eu drych!
Dan bwys y dyfroedd, îs y don,
A'r trochion creision crych."

Nid ydyw y "creision" yma yn dda; oblegid ei ystyr ydyw, peth wedi ei losgi yn llwch.

* * *

"Bydd ing a dolur mawr yn dal
Hen Balestina bell;
Tra syna 'r ffriwfalch ddugiaid ffrom
Yn mharthau Edom hell:

A meib didrechu Moab draw
Gan ofn a braw heb rym;
Preswylwyr Canaan ymaith ânt,
Llwyr doddant oll i'r dim."

Y mae sŵn cryfder yn y llinellau a ddifynwyd; ond nid ydynt yn rhagori cymaint ag a allesid ddysgwyl wrth ystyried fod gan y bardd y fath gopi o'i flaen. Y mae y gweddill o'i ganiadau rhyddion yn cynnwys Marwnad Mr. Robert Roberts, Clynnog, a chyfieithiadau; ynghyd âg

englynion difyrus ar destunau gwahanol. Gan fod enw Mr. Robert Roberts mor adnabyddus, a'i farwnad mor anhysbys, ond i'r rhai a feddant waith barddonol Dewi Wyn, maddeuir i ni am roi ychydig ranau o honi yn yr erthygl hwn:—

* * * *

"Aeth Robert Roberts o fro 'r trwbwl,
Medd ein gobaith heddyw 'n gwbwl,
I wlad y wledd sy le di ludded,
Yn gu a thawel heb gaethiwed.
Y doniol athraw da ni lithrodd,
Enwog, diwyd, a'n gadawodd;
Fe gynt a gaid, rhag bleiddiau'n blaid,
I'r defaid ŵr dyfal;
Y da weinidog dianwadal,
Wyn Duw arweiniodd drwy dir anial.
Ei ddiadell a ddiododd,
Ac â gwybodaeth deg a'i bwydodd;
Condemniai fai, yn mhob rhai,
Gwir daniai gredinwyr;
Ei lon wasanaeth oedd lawn synwyr,
I ranu deall i'w wrandawyr.

Mwyn gywir filwr mewn gorfoledd,
Mynegai i'r enaid mewn gwirionedd
Ei ddwfn drueni wrth naturiaeth;
Ei enwedigol weinidogaeth;
Gan ei ddiogel dawel dywys,
Yn ffordd y nef â'i ddolef ddilys;
I esmwythâd, drwy wir ryddhad,
Agoriad trugarog,
Yr iachawdwriaeth fawr ardderchog,
Anchwiliadwy wych oludog.
Dangosodd rinwedd a mawrhydi,
Mab y dyn yn mhob daioni:
A chanddo 'n glir drwy Frydain dir,
Ar brif-ffordd wir broffwyd,
Am ei Berson mawr heb arswyd
Y melys, seliog, ac aml syliwyd.

Tragwyddol gariad Duw, a'i arfaeth,
A goleu degwch galwedigaeth;
Gwaith Crist a'i swyddau gogoneddus
A wir eglurodd i'r galarus.
Ei gu haeddiant a gyhoeddodd,
Yr addewidion a draddododd;
Ni fynai 'r gŵr, un dydd yn dŵr,
Er cadw 'r trancedig,
Neb ond y Gwaedwr bendigedig,
Cu rasol Awdwr croeshoeliedig;
Fe iawn bregethodd iach athrawiaeth,
A dwys deilwng wir dystiolaeth;
A'r gosb sy 'n dod dros fyth i fod,
Am bechod heb ochel,
Wrth wel'd ei Arglwydd yn ei arddel,
Fe lawenychai i'w foli 'n uchel.

* * * *

Doethaidd Frawd, fe deithiodd Frydain,
Gan daenu 'r gwir ar dir y dwyrain;
Ei ddigabl barabl oedd gwbl beraidd,
Fe enwog leisiai 'n fwyn eglwysaidd;
E glyw'd ei dôn mewn gwlad a dinas,
A Duw 'n ei arddel dan ei urddas;
Ymdeithiai 'n glir, drwy 'r Deau dir,
A bu 'n hir ymboeni,
Arweinydd diwyd yn ddidewi,
I droi Gwynedd o'i drygioni.
At Grist arweiniodd y blinderog,
A'r trallodus o'r tir lleidiog;
Ar bawb 'r un modd, gwahoddiad rhodd,
Fe'u galwodd at Geli;
Annogai fudion i gyfodi
O'u gwlad farwol i'w glodfori."

Y mae yr awdwr yn gofyn i'r darllenydd esgusodi "gwendid a beiau," gan nad oedd ef ond ieuanc pan gyfansoddwyd y farwnad. Gwel y darllenydd oddiwrth y dyfyniadau uchod nad oedd unrhyw anghen am hyny, oblegid y mae yn llawn cystal a'r marwnadau a gyfansoddwyd yn gyffredin yn y dyddiau hyny; ac yn gystal a dim a gyfansoddodd yntau. Ymddengys i'r pennillion gael eu cyfansoddi pan oedd ein bardd yn lled ieuanc, ac na thalodd efe fawr o sylw i farddoniaeth rydd wedi cyrhaedd addfedrwydd oedran; dyna un achos, yn ddiammhau, na fuasai ei bennillion yn rhagori mwy. Ni wiw i ni ddyweyd fod yr awen yn fwy tueddol at reolau caeth na rhydd, gan nad oes un awen yn neillduol "ond arfer." Pe buasai Dewi Wyn wedi arfer mwy gyda chaneuon rhydd, buasai yn rhagori mwy yn ddïau.

Y mae llawer o ddifyrwch yn ei engylynion diniwed yn niwedd ei lyfr; ond y mae yr englynion a gyfansoddodd efe iddo ei hun yn taflu llen ddu o dristwch dros y cwbl. Os oedd y bardd yn meddwl gormod o hono ei hun o'r blaen, y mae efe yn meddwl rhy fach o lawer yn bresennol. Gwrandawer arno,—

"Y fi nid ydwyf ond adyn—ys truan,
A dystrywiol bryfyn;
Ow! Dafydd, Ow! nid wyf ddyn,
Nid wyf fardd ond ei furddyn."

Nid all fod ammheuaeth nad oedd tuedd i redeg i eithafion yn ein bardd gyda phob peth. Yr oedd felly yn ei gyfansoddiadau, canys pryd-yddai ar destun yn hwy na neb; yr oedd felly yn ei ddywediadau, canys dywedai bethau na feiddiasai neb arall eu dyweyd; ac yr oedd felly yn ei syniadau am ei alluoedd ei hun, pan oedd ei feddwl yn gyfan, a phan ddaeth cwmwl dros ei feddwl i'w ddifuddio ddiwedd ei oes. Dyma ddiw-edd dyn mawr ar lawer o gyfrifon. Wrth ystyried cryfder galluoedd eneidiol ein bardd, ei fanteision o ran ei sefyllfa yn y byd, a'r blyneddau a gafodd efe ar y ddaear, nid ydym yn gweled fod ganddo ond ychydig iawn o bethau a wnant wir lesâd wedi eu gadael ar ei ol. Pa beth oedd cyfan-soddi llyfr o faintioli "Blodau Arfon" i ddyn a gafodd gymaint o ryddhad oddiwrth ofalon bydol? Y mae efe naill ai wedi gwneyd rhy fach o lawer yn ei oes, neu y mae eraill wedi gwneyd gormod o gannoedd o weithiau drosodd. Er fod ganddo ddigon o bethau y bywyd hwn o'i gwmpas, ym-ddengys mai oes helbulus a gafodd mewn ystyr lenyddol. Byddai rhyw siomedigaeth ynglŷn â'i gyfansoddiadau agos bob amser, yr hyn a fwriai ddafnau chwerwon iawn i'w phiol. Byddai yn gwneyd y siomedigaethau a'i cyfarfu gyda'i farddoniaeth yn rhy ddifrifol a phwysig o'r hanner. Byddai ar ol cael "cam mewn eisteddfod" fel dyn ar dori ei galon. Dywed yn ei ragymadrodd i "Awdl Elusengarwch" ei fod yn "salw ac iselfryd." Mynega mewn llythyr arall, fod dywediadau ei elynion am dano, ei "fod ef yn anffyddlawn i'r awdurdodau," wedi ei "lwyr ddi-galoni, fel na anturiai byth mwyach gyflwyno ei orchestion o flaen y cyf-ryw." Y mae yn dyweyd hefyd, mewn llythyr at Gomer, "Yr oedd yr eiddigedd at feirniaid fy 'Elusengarwch' wedi troi yn ddigalondid, a'r di-galondid wedi treulio ymaith, a'r cwbl yn cael ei olygu genyf agos fel rhyw hen ddygwyddiad er ys amryw oesoedd; ond Ow! dyma eto graig rwystr, nid yn unig i mi anfon i eisteddfod, ond i anfon i'r "Seren," na lle yn y byd; rhyw Iwan ddysgedig yn haeru yn anorfod nad oes yr un o'r awdlau buddygol diweddar 'yn werth eu codi o'r llwch.'" Cafodd llawer ymgeisydd gam heblaw ein bardd, ond nid ydym yn deall i gymaint ag un o honynt adael i'r siomedigaeth gael y fath argraff ar eu teimladau a hyn.

Buasai yn wych genym pe gallasem restru Dewi Wyn gyda Homer neu Milton, Shakspeare neu Dryden; ond byddai hyny yn ormod o anturiaeth yn marn ein dysgedigion. Os dyben barddoniaeth yw addysgu, dyrchafu, a choethi; ysbrydoli yr isel âg urddas, y difrifol â chysur, y gorthrymedig â gobaith; dangos bendithion helaeth ac annherfynol pethau cynnefin—cyfoeth, prydferthwch, a haelioni natur; llenwi holl ddynion y byd â chariad at Dduw, ac â chariad at eu gilydd, ac annog cymdeithas ymlaen yn ei gyrfa o ddrwg i dda, ac o dda i well, mewn amser ac i dragywyddoldeb,[1] yr ydym yn ofni y syrth, nid yn unig ein bardd, ond y rhan fwyaf o feirdd ein gwlad ymhell iawn yn ol o deilyngu yr enw yn ei holl gyflawnder. Y peth penaf a ellir ddyweyd am fardd-oniaeth Dewi Wyn yw, fod ganddo rai darluniadau i'r byw o natur; gradd mawr o deimlad yn achlysurol; a thlysni geiriadol a chynghaneddol; ond nid ellir dyweyd fod ei awen wedi ei dysgyblu, na'i chwaeth wedi ei goethi i'r graddau y buasai yn ddymunol; nac fod unrhyw arwydd o gyf-unedd yn ei waith. Ymddengys fod y cyfan yn cael ei wneyd mewn

[1] Mackay.

cynhyrfiadau damweiniol a nwydol tra byddai yr agerdd i fyny, ac mai gwaith go ganolig a wneid ganddo, pan gymerid y peth fel gorchwyl y byddai raid myned drwyddo. Nid ydoedd y cylch a dorodd ein bardd iddo ei hun mor eang ag y gellid meddwl ar yr olwg gyntaf; y mae cryn lawer o debygoliaeth yn meddyliau ac yn ffurfiau ei ganiadau oll. Y mae yn defnyddio lliaws o enwau dynion a gwledydd, ac weithiau yr un enwau yn mhob cyfansoddiad y byddo rhyw hyd ynddo. Nid ydym yn cofio gweled neb arall yn gwneyd hyny, yn Gymraeg, heblaw Dewi Wyn.

Y mae ganddo Elen, Olwen, Trywyl, Eden, Coll, Hu, Deffrobani, Dyfnwal, Coel, Morddal, Madawg, Cristopher, Corfinwr, Gwalchmai, Rhiwallon, Gwyn ab Nudd, Merddin, Aneurin, Taliesin, Catwg, Gambold, Lleirwg, Morgan, Humber, Afarwy, Beli, Caisar, Caswallon, Meirig, Seber, Rodri, Emrys, Gwyddon, Uthr, Gwrthefyr, Cynfelyn, Aregwedd, Buddug, Arthur Medrod, Gwrtheyrn, Llywelyn, Owain, Maxen Wledig, Tydain, Cellan, Gwydion, Nelson, Cornwallis, Cook, Hawke, a Blake, &c. yn ei "Folawd Ynys Prydain."

Y mae ganddo Adda, Noah, Sinar, Haran, Misir, Asia, Diarbec, Armenia, Gilead, Saron, Assyria, Geilliaid, Rhufeiniaid, Groegiaid, Babel, Midia, Heber, Hermon, Libanus, Carmel, Eden, Eidal, Ewrop, Ararat, Madawg, Amerig, Missouri, Alegani, Agenoria, Pomona, Ambrosia, Bachanalia, Bacchus Ceres, Ambarvalia, Arabia, India, Siberia, Selyf, Hu Gadarn, C'ridwen, Coll, Albani, Nilus, Tartaria, Affrig, Paradwys, a Themp, &c., yn ei "Awdl Amaethyddiaeth."

Y mae ganddo Adda, Gwrnerth, Cyrus, Ahasferus, Alexander, Brutus, Buddug, Elen, Pindar, Handel, Newton, Herschel, Olen, Galen, Dyfnwal, Tydain, Tewdwr, Caradog, Idwal, Sulien, Selef, Gil, Ffwler, Moesen, Stephan, Paul, Titus, Zacheus, Cornelius, Ananias, Mordaf ab Nudd, Rhydderch, Ifor Hael, Ararat, Noa, Aurora, Samaria, Judea, Calfaria, Golgotha, Moria, Amana, Asia, Abdala, Babel, Hercynia, Gwalia, Hermon, Senir, Canaan, Liban, Horeb, Haran, Indus, Andes, Mynydd Gwyn, Minho, Caspin, Appenin, Po, Ganges, Congo, Ainon, Catai, Cafres, Fferdinand, Wilberforce, Hispaen, Cortes, Howard, Benguela, Gildas, Senir, Sinai, Ulai, Carey, Endor, Gwrtheyrn, Iforiaid, Caerbaddon, Swiss, Banda, Doffraffeld, Madogiaid, &c. yn ei "Awdl Elusengarwch."

Y mae ganddo Rwsia, Selef, Lebanon, Liban, Basan, Ganllwyd, Eden, Adda, Madogiaid, Gwalia, Noa, Cam, Patmos, Amerig, Cadres, Fflanders, Algiers, yn ei "Awdl Cyfarch y Gweithwyr."

Y mae ganddo Meilir, Goronwy, Saron, Syr Owain, Caersalwg, Cyrus, Hu, Selef, Solon, Arthur, Efrog, Caradog, Rhufeiniaid, Egbert, Ethelwolf, Daniaid, Edgar, Harold, Harri, Iorwerth, Llywelyn, Prydain ap Aedd, Siberia, Albion, Tartaria, Cina, Caffraria, Ethiopia, Diarbec, Meca, Gilboa, Adda, Indostan, Lena, Orelana, Marmora, Armenia, Don, Dwina, Arabia, Batagonia, Edom, Horeb, Nebo, Ismael, Ganges, Euphrades, Rhin, Cison, Pison, Asia, Affrig, Cairo, Iorwerth, Owain Tudur, Hu, Mor Udd, Erin, Caerludd, Hanofer, Gwalia Sulion, Solon, Areopagus, Selef, &c., yn ei awdl "Ymweliad y Brenin â Môn."

Y mae ganddo Gybi, Rhyn Gobaith, Llychlyn, Penrhyn, Caspin, Môr y Deau, Môr Du, Marmora, ac Aurora, yn ei "Gywydd ar y Daflen Rifyddol."

Y mae ganddo No, Hu, Nefydd, a Madawg, yn ei "Gywydd Anerch Cyfaill."

ddoeth, ond yn gwbl ddiffuant; ac yn aml gyda defosiwn ag a amlygai ei fod yn teimlo mwy nag oedd yn garu adrodd. Ac i'w ysbryd a'i ddull dysyml fel hyn, yn dadgan ei gymeradwyaeth, y byddem ni yn priodoli iachusrwydd ei effaith ar y galon. Fe ddygai foddhad iddi, mae yn wir; ond yn rhywfodd, er hyny, yn lle porthi ei hynfydrwydd, tueddai yn hytrach i'w dwyseiddio, ac i gynnyrchu o'i mewn deimladau gostyngedig a diolchgar.

Yr ydym yn cofio fod Dr. D'Aubigné yn dyweyd yn rhywle ei fod ef yn *parchu* Calvin, ond yn *caru* Luther. Ond am Mr. Lloyd, yr ydym yn sicr fod llawer, fel ninnau, yn barod i ddywedyd eu bod yn teimlo y naill gystal a'r llall tuag ato, a thuag at ei goffadwriaeth yr un modd. Yr ydoedd yn ŵr ac yn blentyn, yn urddasol ac yn hoff; a byddai ar yr un waith yn ennill ein cariad a'n hedmygedd. Byddid yn gyffredin yn ei ŵydd yn gymedrol a gwyliadwrus, oblegid mai felly y byddai ef ei hunan. Ac nid hyny yn unig, ond yr oedd parch i'w gymeriad, a'r tynerwch a deimlid tuag at y lledneisrwydd hwnw ag oedd yn ei ysbryd, yn effeithio yr un peth. Gwyddid, pe daethai ysgafnder gormodol i'r gyfeillach, na buasai neb yn fwy parod i dristâu o'r achos, ac eto, neb a fuasai yn teimlo yn fwy anmharod a gwylaidd i'w geryddu, na Mr. Lloyd; ac fe ymddangosai yn annaturiol troseddu yn erbyn cymaint o ddiniweidrwydd. Nid ydym yn gwybod am neb yn rhoddi prawf gwell o gywirdeb y sylw hwnw o eiddo Robert Hall, o Bristol, sef, bod gwir grefydd, er na bo yn ennill llawer o barch yn ei gwedd gyffredin, eto, pan ei gwelir wedi eneinio y cymeriad yn ddwfn, ac yn llewyrchu mewn purdeb ymddygiad dros lawer o flynedd-au, yn sicr o fynu gwarogaeth gan ddynolryw. "Dyrchafa di hi," medd Solomon, "a hithau a'th ddyrchafa di: hi a'th ddwg di i anrhydedd, os cofleidi hi. Hi a rydd ychwaneg o ras i'th ben di: ïe, hi a rydd i ti goron gogoniant." Hi a wnaeth felly â Mr. Lloyd, heb gyfoeth y byd, na thalentau godidog, na dim arall i'w chynnorthwyo.

Ni a glywsom yn Abergele, mai anfynych y gwelid ef yn y dref wedi iddo symud i ymyl y capel i fyw. Ac o'n rhan ein hunain, nid ydym yn ammheu nad tipyn o orchest i'w deimladau oedd ymddangos ar yr heolydd o gwbl. Yr ydoedd yn byw mewn byd bychan o'r eiddo ei hun, ac yr oedd dyfod allan o hono i'r byd cyffredin yn hytrach yn faich iddo na dim arall. Buom yn edrych arno weithiau yn myned drwy yr ystrydoedd ar ddiwrnod ffair: ymddangosai yn nghanol y bobl ar wahân, megys rhyw greadur o wlad arall: tybiem y teimlai yn ddyeithrol yn eu mysg hwynt; ac y mae yn hawdd genym gredu, os gwelai rai o honynt yn llygadrythu arno yn rhy awyddus o bob tu yr heol, y byddai yn ddigon i beri gradd o anesmwythyd yn ei fynwes. Elai heibio yn syth a dystaw, heb gymeryd arno weled neb, na charu cael ei weled ei hunan gan neb arall; ac wedi iddo basio, odid na chlywid rhai o'r edrychwyr yn dyweyd y naill wrth y llall,—"Dyna fe; nid yw yn cymeryd *siapri* yn y byd o ddim."

Mae yn gofus genym am y tro cyntaf yn ein hoes i ni ei weled ef. Aethem gyda ein mam i ryw ddyben i Abergele y pryd hwnw. Yn fachgen bychan, ac heb fod oddicartref, am a wyddom, erioed o'r blaen, yr oedd pob peth a welem yn gwneyd argraff fywiog ar ein meddyliau. Gwelsom dri pheth, pa fodd bynag, y diwrnod hwnw, pur gofiadwy genym—y môr, cerbyd pendefig, a Thomas Lloyd. Dygwyddai fod gan ein mam ryw neges gydag ef; ac yn y cyfamser, tra bu ef yn cyflawni hòno gyda hi, cawsom ninnau adeg i feirniadu yn fanylaidd arno yntau; a thybiem ddar-

fod i ni ei fesur ef o'i goryn i'w sawdl. Edrychem arno yn ddyn rhyfeddol, yn enwedig wrth ei glywed ef yn siarad Seisneg, ac yna yn troi drachefn mor ebrwydd i'w Gymraeg. Yn ystod yr amser y bu yn ymddyddan â'n mam, fe gadwai ddrws yr ysgoldŷ yn gilgauad, am fod arno ofn, mae yn debyg, i'r plant a ninnau lygadrythu ar ein gilydd. Ond fel y mae y ddiareb yn dyweyd, "*When the cat is away, the mice play,*" felly yr oedd y plant yn cymeryd mantais ar ei absennoldeb yntau, a mawr oedd yr helynt a glywid oddifewn. Parai hyn iddo droi a galw am *silence* yn awr ac yn y man; ac i ni ymddangosai wrth wneyd hyny yn hynod o'r awdurdodol. Gwnaeth ei ddull y fath argraff ar ein meddyliau, fel ag yr oeddem yn lled anesmwyth ar hyd y prydnawn, rhag ofn, wedi iddo fyned i mewn i'r ysgol, y ca'i y plant deimlo oddiwrth eu hafreolaeth: ac nid drwg oedd genym ddeall gyda 'r nos, drwy un ag oedd yn bresennol ar y pryd, i'r mater fyned heibio yn ddisylw. Nid anghofiasom ef byth ar ol hyn. Gwrandawem arno yn pregethu gydag astudrwydd pan y delai i'r gymydogaeth, er ein bod yn bresennol yn methu deall yn iawn paham y gwnaem felly; oblegid nid oeddem yn craffu ond ychydig ar fater pregeth yn yr amser hwnw, nac am flyneddau ar ol hyny. Digon o ffraethineb a swn a'n boddiai fwyaf; ac yr oedd y rhai hyn yn bethau ag yr oedd cyfansoddiad meddwl a chwaeth Mr. Lloyd yn ei lwyr wahardd iddo. Ac eto yr oedd rhywbeth ynddo yn swyno ein meddyliau. Tybiem, yn un peth, yn uchel am ei wybodaeth; ac nid dieffaith arnom chwaith ydoedd ei ymddygiad boneddigaidd, a'i ddiwyg dda.

Mae y dynion ag sydd yn proffesu adnabod y natur ddynol, yn sylwi, bod y naill ddyn yn trosglwyddo ei feddwl, ac yn cynnyrchu teimlad yn mynwes dyn arall, nid yn unig drwy ei eiriau, ond hefyd drwy ei olwg, ei lais, a'i ystumiau corfforol. Er nad oedd y pethau hyn yn gyffrous yn Mr. Lloyd, eto yr oeddynt yn wastad yn weddus a dymunol. A chamgymeriad mawr mewn pregethwr ydyw esgeuluso eu rheoleiddio. Mae diofalwch am ei ddull, mewn areithydd, ïe, hyd yn nod am ei wisg, medd Dr. Chalmers, yn drosedd mor bwysig yn erbyn gwir athroniaeth y moddion cymdeithasol, ag a fyddai diofalwch ynghylch gosodiad ac addurniadau darlun yn erbyn athroniaeth y *fine arts.* Ac y mae Pascal, wrth sylwi ar yr un peth, yn dywedyd fod swyddogion gwladol yn gyfarwydd yn y dirgelwch hwn. Ac er ei fod ef yn priodoli effaith eu gorwychder hwy ar feddyliau dynion, i wendid y natur ddynol, eto mae yn cydnabod fod iddo effaith gref. "Nis gallwn," medd efe, "gymaint ag edrych ar y dadleuwr yn ei ŵn a'i *wig* heb dderbyn argraff ffafrol am ei alluoedd." Nid dylni i gyd oedd sylw yr hen bregethwr hwnw yn Ngogledd Cymru, yr hwn a ddywedai, mai eiddilwch ei gorff a'i geffyl oedd yr achos ei fod ef yn llai poblogaidd fel pregethwr nag eraill. "Dyn a edrych ar y golygiad," medd y gair; "ond Duw a edrych ar y galon." Mae yn wir na phery argraff y golygiad goreu ddim yn hir, os bydd y doniau uchaf yn eisieu. Ac o'r ochr arall, os bydd ysbryd y weinidogaeth ar ddyn, fe lewyrcha hwnw er pob anfanteision. Mae yn gosod harddwch priodol iddo ei hun, hyd yn nod ar y mwyaf diaddurn, ac yn ei godi fel Paul uwchlaw ei ddiystyru, beth bynag a all fod yn brofedigaeth iddo yn ei gnawd. Ar yr un pryd mae yn rhaid cyfaddef fod ambell un o feddwl dysglaer cyn hyn wedi ei ddrygu ei hunan yn fawr, o ran ei ddefnyddioldeb, yn unig drwy fod ei wedd allanol yn afluniaidd, a'i arferion yn isel ac anhapus. Pe byddai pregeth-

wyr ieuainc yn garedig iddynt eu hunain, hwy a fyddent yn dra diolchgar i'r ffyddlawn a'r doeth am nodi allan bob gwallau o'r fath yma yn eu hymddygiadau, gan ymdrechu mewn pryd i ddiwygio cddiwrthynt, cyn iddynt eu meistroli, a myned yn arferion aufeddvginiaethol. Mae diwyg lân a syml, yn ein tyb ni, yn gweddu i'r rhai sydd yn gweini mewn pethau sanctaidd. Ni bu neb erioed yn well patrwm i athrawon yn hyn na Mr. Lloyd. Ymddangosai ei dŷ a'i lyfrau bob amser yn lanwaith a threfnus yr olwg arnynt; a'i berson, yn null y Cymry o ddyweyd, "fel y pin yn y papyr;" ac y mae yn ddiammhau genym y buasai tybied ei hunan ar ol marw yn cael ei wisgo mewn amdo glân, a'i roddi i orwedd mewn bedd a gedwid yn daclus a chryno, yn disgyn yn gymeradwy ar ei deimladau.

Fe wyddys na bu Mr. Lloyd erioed yn briod; eto y mae genym sail i gredu ddarfod iddo feithrin rhyw amcanion ynghylch y mater hwnw, o leiaf ar un tymmor yn ei fywyd. Ond ein dychymyg ni ydyw, fod ei awydd am y peth yn rhy egwan a thrancedig i'w yru ymhell yn y ffordd hòno. Ni byddai teimladau o'r fath, ni a dybygem, byth yn deffro yn ei feddwl, na byddent yn deffro hefyd ystyriaethau am bwysigrwydd yr amgylchiad; ac wrth ystyried a phryderu ynghylch y canlyniadau, byddai ei galon yn llwfrhau, a'r amcan yn cael ei daflu heibio, ac felly dro ar ol tro; ac yn raddol, wrth gael eu siomi a'u troi yn ol o hyd, yr oedd y tueddiadau at y peth yn gwanychu, ac o'r diwedd diffoddasant yn llwyr yn ei fynwes; a'r canlyniad a fu i Mr. Lloyd ymsefydlu mewn gweddwdod dros ei fywyd. Eto yr oedd efe yn annogaethol yn wastad i eraill briodi, ac i ddynion cyhoeddus yn gymaint a neb. Clywsom ef weithiau, gyda rhyw isel ochenaid, megys yn ngolwg temtasiynau a pheryglon pregethwr ieuanc, yn dywedyd, "Goreu po'r cyntaf os bydd rhyw olwg ar fodd i fyw."

Fel ysgolfeistr, mae yn debygol, y cofir am Mr. Lloyd hwyaf. Yr oedd ei feddwl yn ddiflino yn y gorchwyl hwn. A phan yr ystyriom nad oedd efe ond dyn ieuanc, ac mewn ardal ddyeithr pan yr agorodd ei ysgol gyntaf, ac iddo lwyddo, yn unig drwy ei dalent a'i egni ei hunan, i'w chodi i'r fath enwogrwydd, nid yn unig yn yr ardaloedd cyfagos, ond ar g'oedd y wlad, yn gymaint felly fel yr oedd plant o amryw barthau o Ogledd Cymru, ac o Loegr hefyd, yn cyrchu ato am addysg; ac yn enwedig pan gofiom iddo barhau yn ei egni, ac i'w ysgol gadw ei henwogrwydd am hanner can' mlynedd, a hyny yn yr un gymydogaeth; mae yn rhaid i ni gydnabod ei fod ef yn y peth hwn, pa fodd bynag, yn ddyn anghyffredin, canys nid mynych y mae y fath beth yn dygwydd, o leiaf yn Nghymru. Mae yn wir o ran maint yr addysg a roddid ynddi nad oedd ysgol Mr. Lloyd ond un gyffredin. Ychydig a ddysgid ganddo heblaw yr hyn a gymhwysai ddyn i fod yn fasnachwr; megys darllen, ysgrifenu, a rhifyddiaeth. Dyma y pethau yr oedd y wlad yn galw am danynt yn ei amser ef. Ac hwyrach pe buasai yn dechreu ar ei orchwyl yn bresennol, y buasai yn ofynol i'w ysgol fod yn amgenach yn yr ystyr hwn. Ond ei ymdrech ynglyn â hyn i ddysgyblu y gydwybod, ac i feithrin yn meddwl plentyn elfenau cymeriad ac ymddygiadau rhinweddol, oedd yn gwneyd ysgol Mr. Lloyd yn werthfawr. Yn hyn nis gallem ddymuno yn well i'n cenedl nag iddi gael llawer o'i gyffelyb ef fel ysgolfeistriaid.

Os nad ydym yn camsynied, un o'i brif ragoriaethau fel ysgolfeistr ydoedd, ei allu i gadw awdurdod ar y plant, ac ar yr un pryd i ennill eu

serchiadau. Fe dueddai i ymgadw ymhell oddiwrthynt o fwriad yn gystal ag o ran tymher ei feddwl. Anaml y gwenai ar yr un o honynt, ac ni byddai bron byth yn siarad â'r un Cymro uniaith ond drwy gyfieithydd. Ond er hyny fe wyddid fod yn ysbryd Mr. Lloyd, o dan y dull lled-oer yma, ystôr o dynerwch a gofal yn guddiedig. Yr oedd ei amcan tuag at y plant yn y cyfan yn haelfrydig; ac yr oeddynt hwythau, megys o anian, yn dyfod i ddeall hyny, ac yn teimlo yn serchog tuag ato yntau. O'i ofni, deuent i'w garu; ac am fod eu cariad ato yn codi oddiar wir barch i'w gymeriad, a hwnw yn cynnyddu yn eu meddyliau fel yr oeddynt yn dyfod yn fwy oedranus, yr oedd llawer o honynt yn ei garu tra bu efe byw, ac y maent eto yn teimlo yn dyner at ei goffadwriaeth. Yr ydym yn credu nad oedd ond ychydig o'i hen ysgoleigion, yn enwedig os byddent wedi bod yn aros yn ei ysgol dros dipyn o amser, ac yn parhau yn ol hyny yn ddynion o nodweddiad canmoladwy, na byddent yn awyddus bob tro y dygwyddai iddynt dyfod i Abergele, i dalu ymweliad â'u hen athraw. Ac am rai o honynt, ni a'u clywsom ef ei hunan yn coffau, gyda hyfrydwch, eu bod yn cofio am dano wedi myned i fyw i Loegr, ac yr arferai dderbyn rhyw anrheg neu gilydd oddiwrthynt, yn fynych, fel cydnabyddiaeth o'u rhwymedigaethau iddo, a'u coffa da am ei enw. Am fod ei ymddygiadau tuag at y plant gan mwyaf yn lled gauedig a chynnil, gwnelai pob awgrym mwy na chyffredin o'i sylw ar neb o honynt ddwyn boddhâd mawr i'w meddyliau, a hoffus fyddai edrych weithiau ar y meddwl ieuanc yswilgar yn lloni o dan wenau cymeradwyaeth ei athraw. Tynerwch ac awdurdod: gallwn alw y rhai hyn fel ei ddau rinwedd cyferbyniol ef; a rhwng y ddau yma yr oedd gwastadrwydd tymher, diwydrwydd, a'r holl gynneddfau ag oedd yn ei hynodi fel ysgolfeistr, yn cael lle.

Pwnc mawr gan Mr. Lloyd oedd bod yn yr ysgol yn gyson, a bod yno at y fynyd. Yr ydym yn cofio clywed Mr. Elias, o Fôn, unwaith, yn son am dano ef; ac wrth sylwi cyhyd yr oedd wedi bod yn cadw ysgol, a'i fod bellach yn heneiddio, yr oedd yn synu at barhâd ei egni a'i fanyldod yn y mater hwn. "Yr oeddwn yno yn ddiweddar yn lletya," meddai, "ac erbyn i mi godi a dyfod i lawr yn y boreu, yr oedd Mr. Lloyd wedi brecwesta, a myned at ei waith er ys meityn. Ac er fod ei ymddygiad yn condemnio fy niogi, eto yr oedd fy meddwl yn ei gymeradwyo yn fawr." O dan yr amgylchiadau yr oedd Mr. Elias ynddynt yr amser hòno, nid oedd yn y peth ddim i'w gondemnio ef, ond yr ydoedd yn ganmoliaeth i Mr. Lloyd. A'n rheswm am ei goffâu yma ydyw, ei fod yn esiampl o'i ymddygiad cyffredinol ef yn y mater hwn. Pwy bynag a fyddai gydag ef yn ei dŷ, ni chai neb ei luddias ef i'r ysgol at yr amser. Ac er y gall hyn ymddangos yn beth bychan yn ngolwg rhywrai, eto mae yn sicr genym mai dyma un achos, hwyrach un o'r rhai penaf, fod ei ysgol ef wedi parhau yn flodeuog am hanner can' mlynedd.

Mae yn gofus genym glywed un hen dyddynwr, wrth son am dano, yn dywedyd, "Yr oedd Mr. Lloyd yn arfer a thwyllo y bachgen yma yn erwinol, er ys dyddiau, pan yr ydoedd gydag ef yn yr ysgol. Dywedai wrthyf, ar ol dychwelyd adref yr wythnos gyntaf, 'Fy nhad, ni fedr fy meistr un gair o Gymraeg.' 'Beth sydd ar y bachgen?' meddwn innau, 'oni bûm i yn siarad Cymraeg âg ef lawer gwaith, ac yn gwrandaw arno yn pregethu Cymraeg yn y capel yna?' 'Nid oes dim posib,' meddai yntau, 'nid yw efe yn deall un gair, canys pan fyddo efe yn siarad â mi,

bydd raid i un o'r plant eraill gyfieithu rhyngom yn wastad.' Oedd, yr oedd o yn ei dwyllo yn erwinol." Yr ydym wedi crybwyll eisoes fod hyn yn arferiad yn ysgol Mr. Lloyd. Ond wrth basio, ni a ddymunem ofyn i ysgolfeistriaid Cymru, A ydyw ddim yn bosibl i'r peth gael ei gario yn rhy bell? Oni byddai yn fwy buddiol i blentyn o Gymro uniaith, wrth ddysgu Seisneg, er esiampl, neu ryw gangen arall o ddysgeidiaeth yn yr iaith hòno, gael eglurhad ar bethau yn ei iaith ei hunan? Paham y llwythir ei gof, ac y gadewir ei ddeall yn ddiffrwyth? A phaham nad allai Cymro ddysgu Seisneg trwy gyfrwng y Gymraeg, megys ag y mae y Seison yn dysgu Lladin, ac ieithoedd eraill, trwy gyfrwng eu hiaith eu hunain? Peth digon annaturiol hefyd, i'n tyb ni, ydyw ceryddu plentyn am siarad iaith ei fam. Mae yn tueddu i wneyd yr ysgol yn fwy o gaethiwed iddo, a'i hen iaith yn fwy dirmygus yn ei olwg. Gwyddom am rai ysgolion, ag yr oedd y ddeddf mor gaeth ynddynt ar y pen hwn, fel ag y byddai y plentyn llwfr yn petruso ymollwng i ddifyrwch y chwareufa, rhag ofn iddo, drwy gynhyrfiad y fynyd, gael ei fradychu i ddyweyd Cymraeg, ac felly ddwyn drwg arno ei hunan. Anfonid bachgen o'r fath, unwaith, i alw ar ryw nifer o'i gydysgoleigion i geisio bwyd; a chan na fedrai un gair ond Cymraeg, nid oedd ganddo ddim i'w wneyd ond siarad â hwy drwy arwyddion; megys, codi ei fys arnynt a chyfeirio tua 'r tŷ. I ychwanegu at ei flinder, druan, yr oedd y creaduriaid diriaid yn gwrthod deall ei awgrymau mudion ef, ac yn galw arno adrodd ei genadwri yn fwy eglur. Ac o'r diwedd, fe gollodd ei amynedd gyda hwy; ac o herwydd na fedrai ddyweyd yn Seisneg, ac na feiddiai ddyweyd o Gymraeg, fe waeddodd allan mewn lled-iaith gymysglyd a thymher flin—"*Come to ceisio bwyet, boys.*" Mae profedigaethau o'r fath yma, mae yn wir, wedi troi yn ddifyrwch erbyn heddyw; ond yn eu tymmor, er hyny, yr oeddynt mor chwerwon a llawer o brofedigaethau eraill ag sydd yn cyfarfod â'r dyn ymhellach ar ei fywyd. Ac i ni y mae yn rheswm ychwanegol yn erbyn yr arferiad hon, o leiaf yn erbyn cadw ati yn rhy gaeth, ei bod, fel hyn, yn darostwng plentyn i'r fath amgylchiadau. Pa fodd bynag, ni a'i gadawn i sylw y darllenydd.

Gallasai gweled eu plant o dan ddysgyblaeth Mr. Lloyd fod yn argyhoeddiad ac yn addysg i rieni llawer o honynt. Ennillai arnynt lywodraeth effeithiol gydag ychydig o gynhwrf. Y bechgyn, pa rai, gartref, a fyddent fel ebolion didoriad, yn yr ysgol gellid eu gweled megys wedi eu gosod yn y tresi, yn ufudd a gwaraidd eu hymddygiadau; y geiriau drwg, y wynebpryd a'r llais anfoddog wedi eu gadael heibio, â'u llygaid ar law eu meistr, yn barod i ysgogi wrth bob awgrymiad o'i ewyllys—prawf o allu ac effeithiolrwydd dysgyblaeth. Yn y blyneddau cyntaf o'i dymmor yn Abergele, yr oedd ganddo, yn mysg ei ysgoleigion lliosog, amryw o fechgyn mewn maint a chryfder o dan ei ofal. A chlywsom ef yn adrodd, fod rhai o honynt yn cyfaddef wrtho, ar ol ymadael â'r ysgol, eu bod lawer gwaith, ar ol cyflawni rhyw ddrygau, wedi penderfynu ymosod arno, os caent eu galw i gyfrif a'u ceryddu. Ond cyn gynted ag y byddent yn ei bresennoldeb, byddai eu calon yn pallu, a'u nerth yn gwywo, ac yn eu gadael heb na llaw na thafod i'w troi yn ei erbyn. A phe buasech chwi gydag ef ond am ychydig amser, gallasech weled yn mha le yr oedd mawr allu ei ddylanwad yn gynnwysedig. Yr ydoedd yn feistr am nad ydoedd yn nwydwyllt, yn gellweirus, yn anynad, yn nwythus, nac yn ffol. Nid

oedd yn yr ysgol ddim anwesu ac arthio ar y plentyn bob yn ail; dim un yn gu a'r llall yn gas. Yno ni byddai gwobr na chosb yn cael ei gweinyddu yn ddiachos, tynerwch na llymder yn cael eu cario i eithafoedd. Yr oedd ei holl ymdrin yn ofalus a chyfiawn: y cyfan, hyd ag yr oedd ynddo ef, o leiaf, yn cael eu dwyn ymlaen mewn doethineb; eu cyfaddasu at dymher ac oedran y dysgybl, a'u bwriadu i'w leshad. Nid ydym mor ffol a hòni ei fod yn berffaith. Ond y mae yn ddiammhau genym, er fod ei hen ysgoleigion yn lliosog, nad oes ond ychydig o honynt heddyw nad ydynt, wrth adolygu ei ymddygiadau tuag atynt, yn teimlo parch i'w goffadwriaeth. Yr oeddynt o dan ddysgyblaeth fanylaidd, ac eto yn hapus. Ac, o ran hyny, dyna oedd yr achos o'u bod yn hapus. Mae iawn lywodraethu plant yn tueddu, nid yn unig i'w lles dyfodol, ond i'w cysur presennol. Nid oes un plentyn mor ddedwydd yn awr, tra yn nghyflwr ei febyd, â'r hwn a gedwir o fewn terfynau priodol, ac o dan y ddysgyblaeth, yr hon, drwy fendith yr Arglwydd, a'i darpara i ddefnyddioldeb a dedwyddwch rhagllaw. Mae mor hanfodol i'w hapusrwydd ag ydyw i'w ddaioni, fod wedi ei gynnefino o'i ieuenctid âg iau awdurdod, a'i ymarfer heb ddim ychwaneg o ryddid na'r hyn sydd yn cydsefyll â pherffaith ymddarostyngiad ac ufudd-dod i'r llywodraeth y mae dani. Pa un bynag o'r rhieni a fydd yn fwyaf diwyd a chydwybodol i'w gadw fel hyn, dyna yr un a gâr y plentyn yn fwyaf yn ei fabandod, ac a barcha yn fwyaf wedi tyfu i faintioli. Ac o'r ochr arall, os bydd awdurdod wedi colli o'r teulu, neu o'r ysgol, a'r plant yn cael eu gadael i ddilyn eu nwyth anwadal eu hunain, mae y plant hyny, nid yn unig ar y ffordd i drueni dyfodol, ond yn fwy truenus ac annedwydd ar y pryd, ac yn sicr o dyfu i fyny yn gwbl ddibarch a digariad i'r rhai sydd yn esgeuluso eu llywodraethu.

Cafodd rhai o hen ysgoleigion Mr. Lloyd brawf o hyn unwaith. Yn y tymmor ag y bu ef yn Ninbych, o dan law y meddygon, fel y gwelir yn hanes ei fywyd, yr ydoedd wedi gadael ei ysgol y pryd hwnw yn ngofal ei hen gyfaill, y diweddar Evan Lewis, o'r dref hòno. Yr oedd yn anmhosibl cael dau athraw mwy annhebyg i'w gilydd. Un yn cario awdurdod yn ei wedd; ei eiriau, fel y dywedir am ymweliadau yr angelion, yn ychydig a phell oddiwrth eu gilydd; ac awgrymiadau ei ben, a gostyngiad ei aeliau, yn ddigon i beri dystawrwydd ac ufudd-dod: a'r llall, o'r ochr arall, yn ffrwtyn trwstan, wedi ei wneyd yn hytrach i bob peth yn fwy nag i lywodraethu. Fe adnabu y corynod bychain eu hadeg, ni a dybygem. "Dyma gyfle am unwaith, bid a fyno, i wneyd yn llawen; fe gaiff pawb o honom ei ffordd ei hun." Dywedai un ferch ieuanc wrthym ei bod yn cofio eto y cerydd a ddygodd hi a dwy o'i chydysgoleigion arnynt eu hunain, y pryd hwnw, oddiwrth eu meistr newydd, drwy eu hafreolaeth. Ar un diwrnod, deuent i mewn i'r ysgoldŷ yn llawn nwyfiant gorwyllt, gan neidio fel piogod ar hyd y llawr. "Beth? enethod," ebe yr hen athraw, "a oes dim cywilydd arnoch chwi fod yn dyfod yn y modd yma i'r ysgol, fel tair *hobby-horse?*" Parodd y cerydd fwy o ddigrifwch na'r bai; a thaflodd bawb i lesmair o chwerthin: yr ydoedd yn swnio mor hynod yn nghlustiau y plant, am fod y dull o geryddu mor wahanol i ddim ag oeddynt wedi arfer glywed gan Mr. Lloyd. Ond wedi y cyfan, yr oedd y plant wedi hen flino ar eu bywyd penrhydd. Gofynai rhai o honynt i'w rhieni, yn lled anfoddog weithiau, "Pa bryd y daw 'meistr adref bellach? ni waeth gen i heb fyned i'r ysgol yrŵan; nid yw y meistr neW ddim yr un fath a'n

meistr ni." Ac ar ddychweliad Mr. Lloyd adref, yr oedd iddo, dybygem, groesaw calon o'i orsedd yn eu mysg. Er nad oedd y peth yn ymgodi i'w meddwl, nac i'w glywed ar eu tafodau, eto yr oedd *instincts* eu natur yn sibrwd o'u mewn hwy—"Wel, bellach ni a fyddwn yn fwy hapus, oblegid chawn ni ddim cymaint o'n ffordd ein hunain."

Mae yn wir, yn ei helbul gyda 'r plant, y byddai ysbryd gwastad Mr. Lloyd ei hunan yn colli ei fantol weithiau. Nid yn unig fe fyddai asbri ddrwg y plentyn yn ei gyffroi i dymher ddigofus, ond byddai ei droion diniwed ef hefyd, a'i drwstaneiddiwch, ambell dro, yn goglais ei deimladau digrifol. Mewn amgylchiad felly, gwenai megys heb yn waethaf iddo ei hun, a byddai hyny yn ddigon o drwydded i bawb eraill wneuthur yn gyffelyb; ac felly, fe glywid pwff o chwerthin drwy yr holl ysgol. "*Well, come,*" meddai y meistr, megys mewn tipyn o frys i adfeddiannu ei hun, "*look at your books.*" Ac wedi myned allan, fe geid clywed y plant yn sibrwd yn mysg eu gilydd—"*Master laughed to day.*" "*Did you see master laughing?*" fel pe buasai rhywbeth anhygoel wedi dygwydd. Ond fel yr oedd goreu iddynt hwy, nid un trwmfrydig ac analluog i chwerthin oedd Mr. Lloyd. Yr oedd digon ynddo o'r un peth ag oedd ynddynt hwythau, o leiaf i'w alluogi i gydymdeimlo â hwy; ïe, ac i fwynhau eu nwyfiant plentynaidd. Ond ei gamp ef ydoedd na byddai byth yn ymollwng i ysgafnder.

Gwelsom ganddo ar ryw adeg ei golwyn bychan (*lap-dog*) yn *favorite* mawr. Nid oedd neb yn troi o'i gwmpas ef yn fwy diseremoni na Ffan, fel ei gelwid; ac er na byddai yn cymeryd arno weled y plant a hithau, eto fe fyddai yn sylwi yn ddirgel, ac yn mwynhau difyrwch wrth edrych arnynt yn chwareu â'u gilydd. Mae yn gofus genym, unwaith, ein bod yn myned i roi tro gydag ef tua glàn y môr; yr oedd y prydnawn yn deg; ac ymlaen dan ymgomio yr oeddym yn myned, a'n hymddyddan, dybygasem ni, wedi troi allan yn lled ddifyrus; ond yn ddisymwth, dyma Mr. Lloyd yn sefyll, ac yn gofyn mewn cryn gyffro, "Ymha le mae Ffan?" A chan nad oedd hi yn dyfod i'r golwg wrth alw arni, dechreuai droedio yn ol tuag adref. Nis gallasem lai na gwenu wrth edrych arno wedi ei daflu drwy gynhyrfiad y foment o'i ddull urddasol a gwastad o gerdded, ac yn brasgamu ymlaen mor ansyber, dan chwibanu ar ol Ffan. Yr oedd yr olwg yn wir ddifyrus; ac eto fe deimlai y meddwl radd o chwithdod wrth edrych arno; canys yn rhyw fodd yr oedd dull felly ar Mr. Lloyd yn ymddangos mor òd ac anghysegredig. Buom ymron a gofyn iddo yn y man, Mr. Lloyd, a ydyw ddim yn bechod i ddyn ymserchu fel yna mewn pethau islaw i'w natur ei hunan? Ond pan oedd y gair megys ar ein tafod, dyma yntau yn sylwi; "Mae daioni y Bod mawr i'w weled yn rhyfedd, onid yw ê? fod yn darparu rhyw greaduriaid bychain fel hyn i ddifyru dyn." Ond prin y gallasem ni roddi atebiad yn y byd i'r cwestiwn. Yr oeddem yn ofnus rhag bod ein llygaid wedi bradychu ein meddwl iddo yn rhywfodd, a'i fod wedi lled-dybio ein bod yn edrych arno yn myned yn rhy wirionffol gyda Ffan. Pa fodd bynag, ar ol clywed fod creaduriaid o'r fath yma wedi eu gwneyd i ddifyru plant dynion, nis gallasem lai nag ymsynio ynom ein hunain, bod Ffan, os felly, yn ateb dyben ei chreadigaeth yn bur dda. Digon prin, fe ddichon, yr oedd dygwyddiad bychan fel hyn yn werth ei adrodd; ac eto, fe all adgofio i'r meddylgar y fath greadur rhyfeddol yw dyn. Tra mae yn ei fynwes dueddiadau yn ymddyrchafu cyfuwch ag at

ei Greawdwr, ac yn ymestyn cybelled ag at anfarwoldeb, mae ynddi hefyd dueddiadau yn rhedeg i waered, ac yn ei arwain at bethau islaw iddo ei hun, a hyny am hyfrydwch yn gystal a chynnaliaeth. Mae un awdwr, wrth sylwi ar hyn, yn dyweyd ei fod ef yn tueddu i gredu bod, hyd yn nod deddf pob natur ddibynol, yr hon, ar wahan oddiwrth nerth yr ewyllys Ddwyfol a'u dygai hwynt yn ol i ddim, yn gwir effeithio mor belled ag i gynnyrchu math o *intellectual gravitation* yn yr holl fodau rhesymol tuag at yr isfodolion; fel, megys, tra mae o'n mewn gymhelliadau pa rai sydd yn ein gyru ymlaen a thuag i fyny, fod ynom hefyd gyson dueddiad tuag i lawr, rhyngom a'r dyddymdra hwnw allan o ba un yr ydym wedi tarddu. Ond y mae yn iawn i ni, wrth adael hyn, hysbysu i'r darllenydd na byddai Mr. Lloyd byth gyda phethau o'r fath yma yn ymollwng i ddim maldod dirmygus. Mwynhâai fynyd o ddifyrwch, mae yn wir, wrth sylwi ar natur synwyrgraff a serchog nwyfiant y creadur; ond iddo ef nid oedd ci yn ddim amgen na chi.

Heblaw yr addysg gyffredin a roddid yn yr ysgol, yr oedd Mr. Lloyd yn ymdrechgar i wrthweithio llygredigaeth a drygfoesau o bob math, ac i sefydlu y plant mewn tymher ac arferion canmoladwy. Byddai y brwnt a'r annhaclus o dan ddysgyblaeth a cherydd, yn gystal a'r chwilenwr neu yr anwireddus. Y peth cyntaf, o bosibl, a wneid i'r cyfryw un a fyddai dangos iddo, wrtho ei hunan, fod ei wisg yn aflêr, ei wyneb a'i ddwylaw yn fudron; ac yna ei anfon ef allan yn ddystaw i ymolchi. Os gwelid achos i wneyd yn debyg drachefn, fe'i cyflawnid, ond odid, gyda mwy o lymder a chyhoeddusrwydd. Ond, weithiau, fe geid fod yr hen arferion yslyfenllyd wedi gwreiddio mor gadarn, fel na byddai hyny ychwaith yn tycio; a byddai raid, o ganlyniad, i'r meistr arfer rhyw foddion mwy effeithiol i beri diwygiad. I'r dyben hwnw, gwelsom ef, ar amserau, yn anfon un o'r plant eraill allan i gyrchu dwfr, sebon, a thywel i'r ysgoldŷ; ac yna, wedi parotoi y moddion, gelwid y troseddwr yn erbyn glanweithdra ger bron, a gosodid ef i ddwyn ei gosbedigaeth trwy gyflawni y ddefod o ymolchi ar g'oedd yr ysgol. Yn y cyfamser, safai y meistr ei hun gerllaw, gan ei gyfarwyddo pa fodd i ymolchi yn lân, a cheisio argraffu ar ei feddwl ddymunoldeb glanweithdra. "Dyma yr Arglwydd," dywedai, "wedi rhoddi i chwi gorff lluniaidd ac iachus; gresyn na chai ef ei gadw yn lân. A ddarfu chwi erioed sylwi ar yr aderyn bach? Mae ef yn ymdrochi yn gyntaf yn y dwfr, ac wedi hyny yn esgyn i'r goeden i ymsychu. Cewch ei weled ef yn troi ei big at fôn ei gynffon, ac yn gwasgu allan yr *oil* o'r gostrelig fechan a ddarparodd ei Greawdwr iddo yno, gan ymiro ac ymlyfnhau âg ef; ac yna wedi gwneyd ei hun yn dlws a diddos, mae yn teimlo yn hyfryd, ac yn dechreu lleisio rhwng y cangau." Ni chlywsom mohono erioed yn achwyn o herwydd fod gwisg plentyn yn wael; ond byddai yn hynod o'r gofalus am ei gadw yn gryno. Gellid meddwl fod rhwyg mewn dilledyn yn dolurio ei lygad; fe'i canfyddai yn ebrwydd, a byddai yn fath drafferth i'w binio i fyny, ac i'w gadw rhag myned yn waeth, gan siarsio y plentyn i'w ddangos ef i'w fam ar ol myned adref, a gofalu am gael ei drwsio erbyn tranoeth. O'r trwyn i waered, ni chai un arfer front ei gadael heb ei nodi allan. Nid oedd byw mewn budreddi ac aflawenwch, yn ei olwg ef, yn ddim amgen na byw mewn bai moesol, a phrawf, fel y dywed Mathew Henry, o dymher meddwl ddiofal a dioglyd. Y mae aflendid, yn ddiau, yn adgas i bob synwyr a blanodd y Creawdwr

yn y natur ddynol, ac yn niweidiol i iechyd a chysur y dyn a fyddo yn byw ynddo, tra, ar yr un pryd, y mae yn ei wneyd ef yn annymunol i'w gydgreaduriaid. Ac fe ystyriai Mr. Lloyd nad oedd gan un dyn hawl i fod felly mewn cymdeithas. Pe gallasai ef ond cyrhaeddyd ei amcan, buasai pob teulu a chymydogaeth yn Nghymru yn gyffelyb ag yr oedd yr Arglwydd yn galw am i wersyllau plant Israel fod, sef yn gyfryw "na welid ynddynt ddim brynti."

Yr oedd Mr. Lloyd yn gwahaniaethu rhwng balchder a glanweithdra. Edrychai ar y naill yn hollol groes i ysbryd yr efengyl, ond ar y llall, i'r gwrthwyneb, yn gydweddol â'i natur, ac yn harddwch mawr iddi. Dylid, mae yn wir, wrth ddysgu iawn drefn ymddygiad, fod yn ochelgar rhag porthi ynfydrwydd y galon; ond fe ddylid hefyd fod mor ochelgar, o'r ochr arall, wrth ddyweyd yn erbyn balchder a gwastraff, rhag na byddo dim yn ein dull ni o athrawiaethu ar y pethau hyn yn tueddu i swcro aflawenwch, nac i ddysgu dynion yn eu hieuenctid i edrych yn ddiystyr ar deimladau dyrchafedig, ac arferion syber a da. Fe ddywed Mr. Moffat, y cenadwr, os gwelid yr Affrican, truan, yn troi i fwrw ymaith ei hen grwyn bryntion oddi am dano, ac yn dechreu dyfod yn hoff o ymolchi ac o ymwisgo yn debyg i'r Ewropeaid, y gellid bod yn sicr bron fod yr efengyl yn dechreu effeithio ar ei feddwl. "Gymaint o grefydd," medd un athronydd, "sydd mewn ymolchi! Hwyrach, o bethau cyffredin, mai y weithred fwyaf foesol a ddichon dyn gyflawni ydyw. Ymddyosg," medd efe, "a dos i'r *bath*, neu, os rhaid, i'r llyn gloew, neu yr aber redegog, ac ymolch yno a bydd lân; a thi a ddeui allan yn burach a gwell dyn." Fe ddichon ei fod ef yn arfer gormodiaith; ond yn wir, o'n rhan ein hunain, nis gallwn lai na chredu fod duwioldeb a glanweithdra yn geraint pur agos i'w gilydd. Ac nid ydym yn ammheu pe byddai proffeswyr crefydd yn gwybod pa gymaint o anrhydedd i'r efengyl ydyw rhinweddau o'r natur yma, yn enwedig yn ngolwg uchafiaid y wlad, na byddai llawer o honynt yn fwy ymdrechgar i feithrin eu hunain a'u plant ynddynt, a hyny fel dyledswydd grefyddol. Duwioldeb a budreddi hefo eu gilydd—mor annaturiol yw hyny! "Un o effeithiau mwyaf cyffredin a tharawiadol gwir grefydd," medd Dr. Dill, "ydyw glanweithdra; a'r eiddo gau grefydd ydyw aflendid. Yn Lloegr Brotestanaidd," medd efe, "mae y cabanwr tlotaf mewn ymladdfa dragywyddol â budreddi. Ewch, os mynwch chwi, i'w gegin fechan ef, ac y mae pob llestr yn dysgleirio ar y *shelff;* a phe gallech chwi ond myned oddiyno ar y tarawiad i lawer parlawr Pabaidd yn yr Iwerddon, ni theimlech chwi ddim anhawsdra i benderfynu yn mha un o'r ddau y dymunech chwi giniawa." Gwyddom, er ein holl ddiffygion fel cenedl, fod gradd o'r un gwahaniaeth i'w ganfod arnom ninnau. Mae dyeithriaid yn cydnabod hyny, a rhai o honynt yn ei briodoli i grefydd. Mae yn gofus genym, flyneddau yn ol, fod yn teithio o Loegr i barth o Gymru. Ar y ffordd, daeth gwr boneddig i fyny ar y cerbyd, Cymro, ni a dybygem, o waed, ond yn byw yn mysg y Seison er's llawer o flyneddau. Teimlai ddyddordeb mawr yn ei hen genedl, a thybiai yn uchel am dani. Yr ydoedd y pryd hwn tua chanol mis Awst, ac yr oedd y Cymry yn ein cyfarfod yn finteioedd, ar hyd y dydd, yn myned i Loegr i weithio y cynauaf. Mawr fel yr edrychai y gwr hwn arnynt, gan eu canmawl hwynt wrth ei gyfeillion. "A welwch chwi," meddai, "mor lân, ac mor iachus a boddlawn y maent yn edrych? Gymaint o wahaniaeth sydd rhyngddynt

a'r Gwyddelod! Maent yn anrhydedd i'r wlad a'u magodd. Gwir yw," ebe fe, "eu bod, gan mwyaf, yn Whitfieldiaid, Methodistiaid, neu pa beth bynag y gelwch hwy: nid oes dim *help* am hyny; ond y mae yn rhaid i bawb gydnabod fod crefydd wedi dyrchafu y werin yn Nghymru." Ychydig, mae yn ddiammhau genym, yr oeddynt hwy, plant anrhydeddus diwydrwydd, yn ei feddwl, fod eu diwyg lân a'u sirioldeb y diwrnod hwnw yn achlysuro y fath sylwadau; a'u bod, fel hyn, yn foddion i godi eu cenedl a'u crefydd yn ngolwg dyeithriaid. Ond felly yr ydoedd. Ac wrth bethau o'r fath yma, yn fynych, y mae teithwyr yn barnu crefydd gwlad. Maent yn dysgwyl gweled ei heffeithiau hi, nid yn unig ar galonau y trigolion, ond hefyd ar eu cyrff, eu tir, a'u hanneddau; canys y maent yn barnu, ac yn gywir hefyd, fod gwir grefydd yn tueddu i ddyrchafu dyn yn mhob golygiad.

Ond i ddychwelyd. Byddai Mr. Lloyd yn arfer dysgu gwersi o'r fath yma i rieni yn gystal ag i'r plant. "Wel," meddai unwaith, wrth un a adwaenem yn dda, "yr ydych chwithau yn dechreu magu teulu." Ac yna, wedi gwneyd rhyw sylwadau ar y pwysigrwydd o ddwyn plant i fyny, ychwanegai, "Mae fy meddwl yn wastad yn canmawl mam Jane, y forwyn yma, yn fawr. Buom yno yn lletya gyda hi am flyneddau; a byddwn yn sylwi ar ei dyfalwch gyda'i phlant, ac mor egniol ydoedd i'w sefydlu mewn arferion daionus. Gwnelai i'w merched yn ieuainc gadw pob dilledyn yn lân, a rhwbio yn barhaus yr ychydig ddodrefn oedd ganddi yn ei thŷ; ac os byddai ond botwm ar grys, neu bwyth mewn maneg yn eisieu, hi a'u dysgai i fod yn ofalus am eu cyflawni; ac felly yr oeddynt yn cael eu harfer o'u mebyd i ddiwydrwydd a glanweithdra: ac y mae hyny yn awr cystal a gwaddol iddynt." A'r un modd clywsom ef yn crybwyll am deulu arall, Seison, ag oedd wedi dyfod i fyw i'r gymydogaeth. "Mae y plant," dywedai, "wedi cael ychydig ysgol gartref gyda'u rhieni, ac yno yn gwasanaethu math o brentisiaeth ymarferol, ac yn codi i fyny yn llafurus a chelfyddgar yn eu galwedigaeth. Fe ellid meddwl fod rhagluniaeth yn gwenu ar ymddygiadau fel hyn, canys y maent yn llwyddo yn y byd, ac, wrth bob golwg yn bresennol, mae y teulu yma yn gwreiddio ac yn ymledu, ac yn debyg o fyned yn genedlaeth gref yn y tir." Nid oedd Mr. Lloyd ddim yn ddilygad, er ei fod yn ddystaw. Ysbïai megys drwy y gloer yn ddirgel ar ffyrdd teuluoedd y wlad, ac ar y dull y byddai eu plant yn tyfu i fyny; ac y mae yn ddiammhau genym y teimlai fwy o ddyddordeb nag a feddylid yn mhob gwellhad a chynnydd yn y gymydogaeth.

Yr oedd diniweidrwydd yn rhinwedd uchel yn ngolwg Mr. Lloyd, ac yn wir, yn un o'r llinellau amlycaf yn ei gymeriad naturiol ef fel dyn. Gallesid dysgwyl, gan hyny, ei fod yn gwahardd yn gaeth bob creulondeb yn ei ysgol, ac yn gosod ei wyneb yn erbyn yr holl arferion annynol a barbaraidd hyny pa rai ag y mae plant yn fynych yn ymhyfrydu ynddynt. Ac felly, mewn gwirionedd, yr ydoedd. Byddai pob esiampl o'r fath mewn plentyn yn cael ei geryddu yn llym; a'i ysgoleigion yn cael eu dysgu i ymarfer tynerwch, nid yn unig at eu gilydd a'u cydryw yn gyffredinol, ond hefyd at y creadur mud a direswm. Mae rhai o'r chwedlau am ei ddull ef gyda'r plant yn y mater hwn yn ddifyrus i'w gwrandaw. Clywsom un tyddynwr yn yr ardal, wrth son am dano, yn dywedyd, dan wenu, "Ni welais i erioed ddyn yr un fath a hwnw; prin y meddyliwn y mynai gymeryd bywyd chwanen oddiarni." Ac yna adroddodd wrthym yr

hanes am y cyngyd a basiai ryw dro rhwng y plant ac yntau uwch ben y pryf genwair. Dygwyddai i'r abwydyn fod wedi ymlusgo atynt i'r tŷ, a mawr oedd gofal y meistr am ddiogelu ei hoedl ef; a dysgu y plant pa fodd i'w gario, yn ol i'w elfen ei hunan yn dringar, heb ei boeni na'i niweidio. Dywedai wrthynt, â gradd o ddifrifwch ar ei wynebpryd, *"Don't hurt him. I do not like to see him here, certainly; but, however, spare his life this time. Go and dig a hole in the ground, and put him there gently."* Mae yn ddigon hawdd genym gredu fod hyn yn wirionedd: mae yn arddangosiad o'r dyn. Nid ydym yn ammheu nad oedd Mr. Lloyd yn ystyried ei hunan yn rhwym, mewn amgylchiadau o'r fath yma, o geisio meithrin yn y plant deimladau tosturiol, ac argraffu ar eu meddyliau y ddyledswydd o fod yn drugarog a thyner wrth y creadur direswm. Ond nid dyna y cwbl ychwaith: ar wahan oddiwrth foesoldeb y peth, yr oedd pob ymddygiad ciaidd at greadur yn annyoddefol i'w deimladau naturiol ef. Mae rhai dynion yn hynod am eu tymherau celyd a chreulawn; yr oedd Mr. Lloyd, yntau, o'r ochr arall, mor hynod am ei dynerwch: ac ynddo ef, o bosibl, yr oedd gan synwyr a gras fwy i'w wneuthur er attal y teimladau hyn rhag ei arwain i ryw ormod o feddal fanyldod yn ei arferion, nag i'w cadw yn fyw yn ei fynwes. Clywsom hen gyfeillion iddo, wrth son am dano, yn adrodd, pan y byddent yn rhodio gydag ef ar hyd y meusydd, yn mrig yr hwyr, yn yr haf, y byddai yn ochelgar iawn rhag sathru ar bryfyn y llwch. Pe buasai ond y falwoden yn croesi y ffordd, ymattaliai yn ei gerddediad; ac os na byddai mor amyneddgar ag aros iddi basio heibio, eto, fe gymerai ddigon o ofal wrth basio ei hunan rhag ei dyfetha na'i molestu mewn un modd. O'i ran ef, ni chai y fonig dyner un achos i ymgrebychu na thynu ei chyrn i mewn. Ymddygai felly, weithiau, gan sylwi, "Mae bywyd, yn mhob ffurf arno, yn rhywbeth dirgel iawn i ni!" Hwyrach y bydd rhywrai o'n cydwladwyr yn barod i feddwl mai gwendid digrifol yn Mr. Lloyd oedd cario y gofal am fywyd i'r fath eithafoedd a hyn yma. Wel, bydded felly. Ond gwylied y darllenydd, yntau, o'r ochr arall, rhag mai cynnefindra ei lygaid ef â chreulondeb sydd yn peri iddo feddwl felly. O! y fath swm dirfawr o boenau sydd yn cael eu dyoddef beunydd, a hyny yn ddiachos, gan y creadur mud a direswm; ac nid oes ond ychydig, mae lle i ofni, fel Mr. Lloyd, yn yr ysgol nac o'r pulpud, yn gweled yn werth agoryd eu genau drosto. Ac eto, pwy a all lai na gresynu yn ei achos ef yn aml, wrth edrych arno o dan ddwylaw ei orthrymwyr creulawn; yn ofni y naill fflangell ar ol y llall, ac heb wybod pa fodd i'w gochelyd;— yn cael ei boeni o ddiofalwch, o ddifyrwch, ac oddiar nwydau drwg! Iê, nid anfynych y mae nâd ingawl rhyw greadur neu gilydd yn dyrchafu i'ch clustiau ar hyd y ffyrdd cyffredin, yn gymysg, hwyrach, â chrechwen farbaraidd rhyw nifer o blant ein Hysgolion Sabbothol, pa rai a fyddant yn ymddifyru yn ei boenydio. Budreddi, trythyllwch, a chreulondeb—y pethau ag yr oedd Mr. Lloyd mewn rhyfel parhaus â hwy—ydynt brif hynodion y meddwl anwybodus. Ac os nad yw amaethiad, bob amser, yn effeithiol i'w darostwng hwynt, chwi ellwch fod yn sicr, ynte, y byddant i'w canfod lle mae amaethiad yn eisieu, a hyny yn eu gwedd wrthunaf. Yn y meddwl diwylliedig, mae rhyw gymaint o goethder i'w cymedroli; ond am y llall, mae pob gŵyn ddrygionus yn rhydd, ac yn cael mantais i weithio allan ei chynddeiriogrwydd i'r eithaf, heb un gwrthwynebiad na cherydd oddiwrth archwaeth goeth, rheswm goleuedig, na chydwybod

dyner. Maent yma megys yn eu hinsawdd eu hunain, ac yn sicr o dyfu i'w holl adgas addfedrwydd. Hwyrach y bydd gwers fel hon, ac eraill ag ydym wedi nodi yn ein sylwadau blaenorol, yn ymddangos yn bethau bychain a diystyr yn ngolwg llawer o rieni plant. Ond, a oes rhywbeth yn fychan a diystyr ag sydd yn cynnwys ynddo rinwedd neu fai? Neu, os ydynt mewn cymhariaeth yn fychain, onid yw yn deilwng i'r pethau lleiaf gael eu lle eu hunain? Pan roddes Creawdwr y byd ei bobl yn yr anialwch gynt o dan athraw, tra yn eu cyflwr bachgenaidd, yr ydym yn gweled, yn mysg gwersi eu hysgol, eu bod yn cael eu cyfarwyddo pa fodd i ymddwyn at yr ych a'r asyn, a pha fodd i dynu nyth yr aderyn bach; a hyny, yn ddiammhau, er mwyn dysgu tynerwch iddynt. Ac y mae yn anhawdd, dybygid, cael gwedd mwy hawddgar ar yr Anfeidrol ei hunan, na phan y mae, wrth ymddyddan â'r prophwyd Jonah, yn ei gyflwyno fel rheswm dros ei ymddygiad yn arbed Ninife, y ddinas fawr—fod ynddi, nid yn unig fwy na deuddeng myrdd o blant bychain, "*ond anifeiliaid lawer.*"

Ond cyn gadael Mr. Lloyd fel ysgolfeistr, mae yn iawn i ni goffäu na byddai ef ddim yn esgeuluso dysgu crefydd i'w ddysgyblion ieuainc; ac ymdrechu i ddwyn gwirioneddau y Bibl at eu deall a'u cydwybodau. Byddai yn diweddu yr ysgol bob dydd trwy weddïo gyda hwynt, a rhoi gair o gynghor cyffredinol iddynt. Ond, heblaw hyny, ond odid, os arosai plentyn gydag ef am beth amser, na byddai iddo yn aml, ar ryw achlysuron neu gilydd, ddyweyd gair wrtho yn bersonol, ac ar ei ben ei hun: gwnelai hyny yn gyffredin ar waith un yn ymadael â'r ysgol. Yr oedd un o'i hen ysgoleigion yn adrodd wrthym yn ddiweddar, nad anghofiai hi byth mo'i ddull ef yn ymddyddan â hi, pan yr oedd hi yn blentyn ieuanc. Wedi iddi hysbysu ei hoedran iddo, dywedai wrthi yn ddifrifol—"Wel, wyth mlynedd yn ol, nid oedd y fath un a J. H. yn bod: nid yn unig nid oedd hi ddim yn — (gan enwi ei chartref), ond nid oedd hi ddim mewn bod; ond erbyn heddyw, dyma hi yn bod; a hi a fydd yn bod mwy i dragywyddoldeb." Ychwanegai yn gyffredin at sylwadau o'r fath yma, ryw air am Grist fel Gwaredwr, ynghyd âg ychydig o gynghorion cymhwys, o duedd ymarferol. Edrychai Mr. Lloyd ar y plant fel ei *siars* benodol; ac y mae yn ddiammhau genym ei fod yn arfer a gweddïo llawer drostynt. Mae yn dra chofus genym heddyw, am y teimlad gyda pha un yr adroddai wrthym, unwaith, hanes gwaredigaeth ryfeddol ag oedd un o honynt wedi gael rywbryd yn yr amser hwnw; ac fel y deallem y peth yn well, arweiniai ni i'r fan lle yr oedd y ddamwain wedi dygwydd. Lodes ieuanc ydoedd, ar lwybr yr hon, o'i chartref i'r ysgol, yr oedd math o gulbont fechan, yn ei chario dros gafn melin, yr hon oedd yn sefyll yn y gymydogaeth. Un prydnawn, ar ei gwaith yn myned adref o'r ysgol, syrthiodd y plentyn dros y bont ddywededig i'r cafn gwyllt hwnw, a chipiwyd hi drwy wrthrym y dwfr i'r rhod fawr, yr hon oedd yn troi ar y pryd; ac felly, cafodd ei dymchwel drosti hi bendramwnwgl i ffos y felin. A phan aeth y melinydd allan, ar ei waith yn clywed chwithrwd dyeithr y codwm, i edrych beth oedd yr achos, un o'r pethau cyntaf a welai yn y gwter, oedd y druanes fechan yn crafangu am y lân. Darluniai Mr. Lloyd holl amgylchiadau y ddamwain, gyda thynerwch a manyldra mawr; ac yn y diwedd, ychwanegai;—"Mae yn beth rhyfedd fod ei bywyd gan yr un fach; a phan y dangoswyd i mi fel yr oedd y peth wedi dygwydd, nis gallaswn lai na phrysuro adref, a phenlinio ger bron y Bôd Mawr, i geisio diolch iddo am ei waredigaeth wyrthiol."

Hyd yr ydym yn cofio, ni welid llyfr, na dim arall, byth yn llaw Mr. Lloyd yn amser yr ysgol: byddai yn dra diwyd gyda'r plant ar hyd y dydd. Ond tua'r prydnawn, wedi gorphen ei waith am y diwrnod, ymddangosai dipyn yn fwy hamddenol; ac ar yr adeg hòno ni a'i gwelsom ef, weithiau, megys mewn myfyr, yn cerdded yn ol ac ymlaen ar hyd yr ysgoldŷ, tra y byddai y plant yn parotoi eu gwersi at y dydd canlynol. Yn y man, pan y delai yr awr i fyny i ddiweddu yr ysgol, esgynai i'w safle arferol; ac wedi cymeryd y Bibl, a dethol o hono ryw gyfran briodol i'w darllen, gorchymynai i'r plant roddi eu gwersi heibio. Ac odid nad afreidiol ydyw i ni hysbysu i'r darllenydd nad oedd nemawr o berygl i'r gorchymyn hwnw, pa fodd bynag, gael anufudd-dod. Byddai aml un yn dysgwyl am dano er's meityn, a chipid ef yn awyddus oddiar wefusau yr athraw. Ac felly, gyda'r gair "*Close your books*," rhoddid y llyfrau a phob gorchwyl heibio, ac ymbarotoai pawb i gydymuno yn yr addoliad. Ond yn gyffredin, fe gymerai y meistr enyd o amser drachefn cyn dechreu darllen, ac ymdrechai i barotoi y plant i wrandaw a dal ar yr hyn a ddarllenid. I'r dyben hwnw, fe graffai yn fanwl ar eu wynebau hwy, ac os gwelai ond yr ysmic lleiaf o aflonyddwch yn rhyw gornel o'r ysgol, byddai gwg ei ael yn ddigon i'w ddarostwng. Ac wedi llwyddo i'w codi i berffaith astudrwydd, fe'i daliai, weithiau, yn y wedd hòno am bum mynyd, neu ychwaneg; y plant ac yntau yn syllu ar eu gilydd, a phawb mor lonydd a dystaw ger ei fron a phe na buasent ond delwau meirwon. Ei amcan yn hyn ydoedd, eu dysgu hwy o'u mebyd i fod yn llonydd a gweddaidd yn moddion gras. Ar ol darllen gair o'r Bibl, a gwneyd ychydig o sylwadau arno, elai pawb ar eu gliniau; ac wedi dysgwyl drachefn nes cael hollol ddystawrwydd, offrymai y meistr air byr o weddi. Ac felly y gorphenid llafur y dydd. Buom yn son wrtho, yn rhai o flyneddau diweddaf ei oes, am y moeswersi buddiol hyn a ddysgai i'w ysgoleigion, yn enwedig ymddygiad astud a gweddus yn yr addoliad dwyfol, gan sylwi fod mawr anghen am y peth yn Nghymru. "Ah!" ebe yntau, "yr wyf fi wedi gorfod rhoi i fyny ddiweddu yr ysgol trwy weddi er's cryn amser bellach." "Paham felly, syr?" ebe ninnau. "Wel," atebai, "yr oeddwn yn methu a chadw y plant yn llonydd fel cynt; mae fy awdurdod wedi lleihau;—myned yn hen, mae yn debyg."

Ond yr ydym ni bellach yn darfod â Mr. Lloyd fel ysgolfeistr. Ni a allem feddwl fod gorchwyl y swydd hon wedi myned megys yn ail natur iddo; milwriaeth ei fywyd ydoedd: ac nid rhyfedd, gan hyny, fod adolygu y blyneddau y buasai yn ei gyflawni, a chofio am y pleser a'r boen a gawsai ynddo, yn cynnyrchu yn ei fynwes ryw bruddaidd hyfrydwch ar ddiwedd ei oes. Yn hanes ei fywyd, fe ddywedir wrthym y cwynai yn ei gystudd diweddaf fod arno hiraeth am y plant. Ac y mae yn hawdd genym gredu hyny. Yn wir, prin yr oeddym ni ein hunain yn gallu diane heb fod rhyw chwithdod yn meddiannu ein meddyliau, pan y clywsom fod Mr. Lloyd, o Abergele, wedi rhoi i fyny gadw ysgol. Ond fe fu hyny. O'r diwedd, fe ddywedodd ei Feistr wrtho yntau, yn gyffelyb ag yr arferai ef ei hunan ddyweyd wrth y plant ar brydnawn y dydd, "*Close your books.*" "Ti a fuost yn ddiwyd a diesgeulus yn dy orchwyl am lawer o flyneddau, 'yn rhoddi callineb i'r anghall, ac i'r bachgen wybodaeth a synwyr,' i wrthweithio drwg yn ei feddwl cyn iddo dori allan, ïe, cyn ei fod ef ei hunan yn gwybod ei fod ef yno; a thrwy reddfu ynddo archwaeth, tymher, ac

arferion daionus o'i febyd, ymdrechaist i hau hadau cymeriad teilwng i'w flynyddau dyfodol, a hyny pan oeddynt eto ymhell oddiwrtho. Ond yn awr, mae dy frwydr di âg anwybodaeth a llygredigaeth wedi darfod; gorphwys bellach oddiwrth dy lafur dyblyg, fel athraw yr oedranus, a dysgawdwr i'r rhai bach; ac os na bu dy wobr ond bechan ar y ddaear, hi a fydd yn fwy yn y nef."

Pa bryd y gwel Abergele ei gyffelyb, pwy a ŵyr? Ond hyn a wyddom ni, mai y fendith fwyaf i'r ardal hòno, ac i bob ardal arall drwy Gymru, a fyddai cael ei gyffelyb ef fel ysgolfeistr. Mae yn sicr i chwi fod y Cymry eto heb weled gwerth y gelfyddyd yma. Mae yn rhaid i bob ardal gael ei gof, a'i saer, a'i siopwr, i'w gwasanaethu; ond am yr ysgolfeistr—amaethwr meddyliau ieuainc ac anfarwol yr ardaloedd—yr ydys bron heb weled ei eisieu eto mewn llawer cymydogaeth. Ac y mae y canlyniadau o hyny yn debyg o fod yn flinion. Pa faint o eneidiau grymus a adewir dros eu bywyd heb eu gwneyd yn feddylgar, ac o dalentau dysglaer heb eu dwyn i weithrediad! Bydd llawer dyn o'r achos, mewn cymhariaeth i'r peth a allasai fod, heb lygad i weled, na medr i ddefnyddio, y cyfleusderau hyny i ddaioni, pa rai, yn gyffredin, yn ystod einioes, y mae rhagluniaeth ddwyfol yn eu dwyn i gyrhaedd pob dyn. Bydd yn fwy darostyngedig i gael ei dwyllo gan eraill, ac yn fwy caeth i'w flysiau anifeilaidd ei hunan. O ran syniadau ei feddwl, bydd yn llawer is, ac yn cael ei rwymo at orchwylion cyffredin ei fywyd, yn fwy tebyg i'r anifel diwybod nag i ddyn,—i'r hwn y perthyna gwneyd dyledswyddau ei sefyllfa yn fater o ystyriaeth a barn, a'u cyflawni oddiar deimlad deallus o'i rwymedigaethau. Mae lliaws fel hyn heddyw ag a allasent, trwy well amaethiad, fod mewn cyflwr uwch, a myned trwy y byd yn fwy anrhydeddus a defnyddiol. Fe ellid meddwl, wrth ogwydd pethau yn bresennol, fod plant y tlodion rhagllaw yn debyg o gael eu haddysgu yn weddol; a da yw hyny. Ond y mae yn bwnc i'r canolradd i edrych ato, rhag iddynt hwy, fel dosbarth o bobl, gael eu gadael ar ol yn y golygiad yma, ac y byddant yn gorfod edrych eto ar yr amddifaid, ie, y bastardiaid diystyr ag y buont yn talu am eu magu, yn troi allan o elusendai y wlad, yn gyfryw, o ran amaethiad eu meddyliau, ag a fyddo yn gwaradwyddo eu meibion a'u merched hwy eu hunain. Oddieithr yr hyn y mae yr Ysgolion Sabbothol yn ei wneyd (ac y maent yn gwneyd yn dda), mae cannoedd o blant y genedl bron yn gwbl ddiamaethiad. Tros y tymmor mwyaf peryglus i'w esgeuluso, a'r mwyaf manteisiol i'w amaethu, mae lliaws o honynt, yn lle cael eu gosod o dan ddysgyblaeth briodol i'w hymarfer mewn gwybodaeth ac iawn drefn, yn cael eu gadael yn wylltion ar hyd ein meusydd a'n pentrefydd, i egwyddori eu hunain a'u gilydd yn mhob drygioni. Yr ydys yn dywedyd fod y wlad yn rhy dlawd i gynnal ysgolion dyddiol; ac eto, os edrychwch chwi o'ch cwmpas, chwi a gewch weled fod y bragwr, y tafarnwr, a'r tybacwr, yn cael eu cadw yn gysurus. Nid oes dim yn rhy ddrud i'w brynu ond ymgeledd i'r meddwl. Ac heblaw hyny, y mae llywodraethwyr y wlad yn awr yn cynnyg cynnorthwyo tlodi yn yr amcan hwn; ond hyd yma yr ydym ni wedi bod yn rhy ddifater i gyfarfod â hyny. Mae yn ddiammhau genym, pan ddelo ein syniadau yn fwy cywir yn yr achos hwn, y bydd rhieni difrifol, yn ein mysg, yn edrych ar roi addysg i'w plant, yn ol eu gallu, fel dyledswydd grefyddol; ac y bydd yr eglwysi hefyd yn gofyn am hyny oddiar eu dwylaw, ac yn ystyried y neb a'i hesgeuluso yn

byw mewn bai mor amlwg ac annaturiol fel ag i fod yn anghymhwys o le yn eu cymundeb. Ië, mae lle i obeithio y daw y gymdeithas wladol i alw gydag awdurdod am y peth, ac i ddarpar rhyw fesurau mwy effeithiol i'w gyrhaeddyd; a phwy na lawenhäai yn hyny, yn hytrach na bod plant, wrth y cannoedd, i barhau, a'u cyflwr a'u tynged yn cael eu gadael, fel y dywed John Foster, yn unig at farn rhieni anwybodus, ac yn aml, diwerth. Mae y Cymry o dan addysg y pulpud, bellach, er ys blyneddau, ac eto mae anwybodaeth a dylni mawr yn parhau yn ein mysg, a pharhau a wnant hefyd, ynghyd â'r holl arferion bryntion sydd yn cyfodi oddiwrthynt, ac ynglŷn â hwynt, hyd oni byddo i feddyliau ieuenctyd ein gwlad gael eu diwyllio yn helaethach, a'u cymeriad ei goethi, a'i wneyd yn fwy urddasol drwy addysg a dysgyblaeth foreuol. Yn wir, mae yn beth rhyfedd fod cenedl mor grefyddol wedi para cyhyd mor ddifraw yn yr achos hwn. Mae ein heglwysi a'n capeli yn lliosog; ond pa le y mae ein hysgoldai? Onid ydyw agos yn ddigon i beri ammheuaeth fod rhyw ddiffyg yn yr addysg a weinyddir yn y naill, na byddai bellach yn foddion i gynnyrchu galwad uwch a mwy cyffredinol am y lleill yn y wlad? Pa fodd na byddai rhieni plant yn deall erbyn hyn mai y gwrthddrychau cyntaf o bawb ag sydd ganddynt hwy i ofalu am danynt ydyw eu hiliogaeth eu hunain? Ac fe dybid, yn nesaf at grefydd deuluaidd, fod yn amlwg mai prif foddion gras y cyfryw, yn eu mabandod, ydyw addysg a dysgyblaeth yr ysgol ddyddiol. "Mae genym ffaith eglur," medd un awdwr, "i brofi fod yr addysg, yr hon sydd yn cynnwys ynddi ddysgyblaeth y gydwybod a'r deall, yn cael ei gwneyd, mewn lliaws o esiamplau, yn effeithiol er ffurfio cymeriad crefyddol. Y ffaith eglur hòno yw hyn:—bod cyfran mwy helaeth o lawer o'r personau ag a addysgir felly, yn cael eu dwyn mewn gwirionedd yn ddeiliaid crefydd, nag sydd o fysg nifer cyffelyb o honynt hwy, pa rai ag sydd yn cael eu dwyn i fyny mewn anwybodaeth ac anfadrwydd." Ac eto, pan glywir dynion yn Nghymru yn cwyno fod crefydd yn isel, a bod yn beryglus rhag i'r genedl syrthio drachefn i anwybodaeth a thywyllwch, pur anaml y cyfarfyddwch chwi â neb yn mysg y cyfryw ag a fydd wedi cymaint a meddwl unwaith am ysgolion dyddiol, a gwell amaethiad i'r oes sydd yn codi fel moddion i ragflaenu hyny. Ychydig erioed a gafodd y pwnc o le yn ein hystyriaethau fel enwadau crefyddol. Ac nid ydym yn ammheu, pe rhoddid iddo, yn ein cymanfaoedd a'n cynghorau, y lle sydd yn deilwng i'w bwysigrwydd, na byddai llawer yn chwannog i dybied ei fod yn bwnc rhy isel i'w ddwyn i ystyriaeth y fath gyfarfodydd, ac yn barod i gwyno am rywbeth mwy ysbrydol, a gwerth i'w gario i'r eglwysi gartref; pan, ar yr un pryd, fod yn perthyn i'r eglwysi hyny gannoedd o blant ieuainc, bron heb ddim amaethiad i'w meddyliau anfarwol ond yr ychydig a gânt yn yr Ysgolion Sabbothol. Onid oes, gan hyny, sail i ofni yn achos y genedl ieuanc?

Am yr oes a basiodd, fe ddylid cofio, bod ei hadfywiadau crefyddol yn cyflawni llawer o'i diffygion. Trwy yr ymweliadau hyn, fe welwyd lliaws ag oedd wedi eu magu yn hollol anwybodus a delffaidd eu meddyliau, yn cael eu dal gan nerth yr efengyl, a'u codi gydag arswyd a braw o'u syfrdandod, ac yn fuan yn dysgleirio mewn treiddgarwch a theimlad. Mae un ysgrifenydd, wrth son am ddynion dan ddylanwad fel hyn, yn dywedyd; —"Mae yn dra tharawiadol i sylwi, fel mae yr enaid crebach ac anhyblyg

megys yn meddalu, yn cynhesu, yn ymeangu, ac yn berwi gan fywyd. Gyda 'r ymadferthoedd newyddion sydd wedi eu cynnyrchu ynddo, mae yn ymegnïo yn boenus i weithio ei hunan i ryddid, allan o'r camystum truenus yn mha un y delid ef cyhyd megys gan swyn dreisiol rhyw gyfaredd uffernol. Fe'i gwelir ef wedi ei lenwi â theimlad blin a chwerw at ei anwybodaeth ei hunan—yn cael ei weithio gan ysfa ddiorphwys am addysg—yn ennill ystwythder anhygoel yn ei alluoedd i fyfyrio; ac yn cyrhaeddyd canfyddiad, yr hwn sydd yn cael ei wneyd i fyny o ddealldwriaeth a theimlad ysbrydol, i ba un y mae lliaws o bethau yn dyfod yn ddirnadwy ag oeddynt o'r blaen megys heb hanfodiad." Gellir yn hollol gymhwyso y darluniad hwn at Gymru yn yr oes a aeth heibio. Ac felly, fe gafwyd llawer o weinidogion a henuriaid eglwysig, yn ddynion ymadroddus, athrylithgar, a dysglaer eu meddyliau, pa rai nad oeddynt wedi cael bron ddim amaethiad, ond a gyrhaeddasant trwy eu hegni eu hunain, yr hwn oedd yn ffrwyth eu hadnewyddiad drwy yr efengyl. Yr oeddynt wedi eu codi megys i waradwyddo doethion y byd hwn; ac nid oedd gan y cyfryw, wrth edrych arnynt, ddim i'w wneyd ond synu a gofyn, "Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth, ac yntau heb ddysgu?" Ond yn awr, mae lle i ofni, gan fod y nerthoedd yma yn lleihau, a meithriniaeth ddynol yr ieuenctyd yn cael ei hesgeuluso yn ormodol hefyd, y gall yr oes a ddaw dyfu i fyny yn fwy dwl ac anwybodus; ac os hyny a gymer le, mae yn naturiol meddwl—os nad yw y peth i'w ganfod eisioes—y bydd dynion llai nerthol a dysglaer eu talentau yn codi i weinidogaeth yr efengyl. Mae yn hawdd genym gydnabod na wna dim y tro yn lle bywyd a nerth yr Ysbryd; ar yr un pryd, mae genym le i gredu fod amaethiad dynol yn foddion o osodiad yr Ysbryd hwnw, ac yn rhan arbenig o'r oruchwyliaeth trwy ba un y mae efe yn dyrchafu plant dynion o'u tywyllwch a'u llygredigaeth. Y pethau a roddai gynt megys yn wyrthiol, mae bellach yn dysgwyl i ni arfer moddion priodol i'w cyrhaeddyd hwynt; ac nid oes genym, wrth bob tebyg, mwyach, un sail i obeithio am y parhad o honynt yn ein mysg ond trwy ei fendith Ef ar yr ymarferiad o'r moddion hyny. Ac yn wir, nid heb arferyd moddion, ychwaith, y cafodd ein tadau eu talentau. Nid oedd neb o honynt yn sychedu am gyfoeth na mawredd, ond yr oeddynt oll yn sychedig am wybodaeth; a mawr y cwynai rhai o honynt o herwydd fod eu haddysg wedi ei hesgeuluso yn eu hieuenctyd; ac ymdrechent yn orchestol, yn ol eu manteision, i wneyd y diffyg hwnw i fyny drwy amaethu eu meddyliau eu hunain. A thybygid fod y ffaith yma yn ddigon, os ydyw yn bod felly, i ddangos i'w holynwyr pa beth yw eu gwaith, ac i'w hargyhoeddi o'u dyledswydd tuag at eu plant, a thuag at bregethwyr ieuainc yr oes. Oblegid os yw ysbryd crefydd, fel hyn, lle mae yn nerthol weithio, yn ffafriol i'r deall goleuedig, ac yn gyru y rhai sydd o dan ei ddylanwad i ddyheu mor ddiorphwys am wybodaeth, ac am wellhau galluoedd eu meddyliau eu hunain, pwy a all ammheu nad yw ymarferiad ac amaethiad y galluoedd hyny drwy addysg foreuol, yn beth ag sydd o Dduw, ac yn wasanaethgar i'w deyrnas ef yn y byd?

Un o'r effeithiau mwyaf alaethus sydd i anwybodaeth a diffyg meithrindod yn y mebyd, ydyw, eu bod yn gadael y meddwl yn anghymhwys i dderbyn addysg grefyddol. Cyflwynwch wirioneddau yr efengyl i'r deallus a'r meddylgar, a chwi a gewch ei sylw ef, beth bynag am ychwaneg; ond am yr anwybodus hollol, mae hwn yn edrych arnynt bron fel yr anifel. Nid

yw y dyn erioed wedi ymarfer ei alluoedd ar un gangen o wybodaeth; a phan y dygoch chwi bethau y wybodaeth uchaf i'w sylw, mae yno, nid yn unig anallu i'w derbyn yn ysbrydol, yn cyfodi oddiwrth ddrwg ansawdd ei galon fel pechadur, a'r hwn sydd yn gofyn nerth dwyfol i'w symud, ond hefyd anallu i'w *deall yn naturiol*, yn cyfodi oddiar ddiffyg ymarferiad ei alluoedd fel dyn, yr hyn a allasai gwell amaethiad fod wedi ei ragflaenu. Prin, ar ryw olygiad, y gellir dyweyd am ddyn fel hyn ei fod hyd yn nod yn gwrthod yr efengyl. Mae yn byw heb ei chredu, bid sier; ond ni chafodd hi erioed gymaint o le yn ei ddeall a'i sylw, fel ag i gyffroi gwrthwynebiad ei galon i'w herbyn; mae yr elyniaeth ati yn cysgu yn ei fynwes o dan lèni duon o anwybodaeth a syrthni. Ni a ddylem gofio yn wastad, mae'n wir, na ddichon neb aileni dyn ond Ysbryd yr Arglwydd. Ond a ydyw pob moddion i hyny yn rymus yn y wlad? A oes dim perygl i lygredigaeth gynnyddu, a chrefydd leihau yn mysg y genedl, trwy ddiofalwch crefyddwyr yr oes, a thrwy eu diffyg o gymhwyso eu llafur i gyfateb i'r amgylchiadau a'r anghenion ag y mae y genedl ynddynt? Am lygredigaeth gwreiddiol y galon, mae yr Arglwydd yn wastad yn alluog a pharod i'w orchfygu. Ond pan y byddo y llygredigaeth hwnw yn cael ei adael i gadeirio yn y meddwl, ac i dori allan mewn arferion drygionus, trwy anffyddlondeb rhieni ac athrawon crefyddol, mae cyflwr oes felly yn fwy anobeithiol. Nid oes dim, mae yn wir, yn rhy anhawdd i Dduw, eto, nid mor fynych y mae efe yn defnyddio offerynoliaeth anghymhwys, nac yn cyfryngu er gwaredu dynion o'r ffyrdd a'r agweddau pechadurus hyny, ag sydd fel hyn yn ymffurfio ac yn ymsefydlu ar eu meddyliau drwy gamymddygiad ac esgeulusdra ei bobl. A thybygid na ddichon dim fod yn amddiffyn cadarnach i bob ansawdd ddrwg ar y meddwl nag anwybodaeth. Mae hwn, nid yn unig yn attal effeithiolrwydd y moddion oddiwrtho, ond yn ei anghymhwyso i ymarfer â'r moddion eu hunain. Maent "fel gwerth yn llaw y ffol i berchenogi doethineb, ac yntau heb galon ganddo." Onid yw gweinidogaeth yr efengyl, er esiampl, goruwch deall llawer o'r gwrandawyr eto? Mae yr egniol am eu hachub yn teimlo ei fod yn methu a chyrhaeddyd eu hystyriaethau. Nid yw y geiriau a arfera, megys *deddf, cyfammod*, a'r cyffelyb o dermau duwinyddiaeth, yn trosglwyddo un drychfeddwl iddynt. A phan yr amcano ddwyn y pethau a berthynant i'w heddwch ger bron eu meddyliau, wedi eu gwisgo yn iaith y Bibl, neu yn hytrach wedi eu dyosg o honi, a'u gosod allan yn yr iaith fwyaf gyffredin ag sydd i'w chael, yn gymaint felly nes ydyw yn peryglu, weithiau, amddifadu pethau dwyfol o'u hurddas, wrth geisio eu gwneyd yn eglur,—y mae efe, wedi y cyfan, yn gwybod ar wynebau y dosbarth yma o'i wrandawyr nad ydynt ddim yn deall, ac ar lawer o honynt, nad ydynt ddim yn ceisio deall. Ambell waith, pan y tybia ei fod wedi llwyddo i gael gafael yn eu hystyriaethau, ac y byddant bellach oll yn astudrwydd, mae yn cael, yn lle hyny, lawer tro, ar y mynydyn hwnw, y diflasdod o'u gweled hwy yn syrthio i gwsg, neu i wammaldod, neu i segur chwareu gyda'u plant.

Mae y darllenydd, bellach, ond odid, yn barod i feddwl ein bod yn arfer gormodiaith. Wel, yr ydym yn cydnabod yn rhwydd mai un ochr i'r cwestiwn am ansawdd ein gwlad a ddarllenir genym yn bresennol. Ond ar ol i chwi gymedroli ein sylwadau, trwy ddwyn i'r golwg yr ochr arall iddo, yr ydym yn credu y bydd ynddynt wedi hyny ddigon o wirionedd yn aros, i fod yn sail gref i alwad am well addysg i'r genedl sydd yn codi,

Fe ddywedir weithiau fod eisieu gostwng a chyfaddasu y weinidogaeth at y gwrandawyr; mae hyny, fe ddichon yn wirionedd; ond mae eisieu hefyd godi y gwrandawyr at y weinidogaeth. I hyn, y mae addysg, ïe, hyd yn nod addysg gyffredin, yn dra gwasanaethgar;—mae yn dwyn allan ac yn dysgyblu y galluoedd yn foreu, yn gwneyd y meddwl yn fwy eang a bywiog, ac felly, yn ei barotoi i weithredu ar, a derbyn pethau mwy gwerthfawr nag sydd ganddi hi ei hunan i'w cyfranu. Mae yn llawenydd, gan hyny, i bob gwladgarwr, fod yr alwad am ysgolion dyddiol yn myned yn uwch yn y wlad, a bod ein llywodraethwyr hefyd yn dangos parodrwydd i gynnorthwyo mewn amcan mor ddaionus; gobeithiwn y bydd hyny yn parhau ar egwyddorion rhydd ac anmhleidgar.

Mae yn rhaid fod Mr. Lloyd yn coleddu syniadau uchel am ddysgeidiaeth. Yr ydym yn deall iddo, nid yn unig dreulio ei fywyd yn Abergele i gadw ysgol ei hunan, ond gadael drachefn, wrth farw, bron gymaint ag a feddai yn ei ewyllys tuag at gynnaliaeth ysgol yn yr un lle. O'i ran ef, mynasai, wedi marw, barhau eto i weinyddu addysg i blant bychain ei ardal, a bod ei enw, mewn cysylltiad â'r gorchwyl anrhydeddus yma, hyd ddiwedd y byd. Mae achosion tramor, cyn hyn, wedi derbyn rhoddion heirdd oddiwrth aml un o'r Cymry; ond ein hen athraw ydyw y cyntaf i ni wybod am dano i adael swm mor fawr a phum cant o bunnau at unrhyw amcan elusengar; ac yr ydym yn credu yn hollol na chawsid neb arall yn Ngogledd Cymru ag a fuasai yn meddwl unwaith am adael y fath swm at achos *yn y byd yn ngwlad ei enedigaeth, ac yn enwedig at gynnal ysgol ddyddiol i blant tlodion ei gymydogaeth*, ond Mr. Lloyd. Bod ei amcan yn hyn yma wedi ei ddadymchwel, sydd i ni yn bwnc ofer i ymyryd âg ef; a chyda dywedyd, "Da y gwnaethost fod hyny yn dy galon," yr ydym yn prysuro i ddyweyd gair am dano o dan gymeriad arall.

Fel pregethwr, yr oedd Mr. Lloyd nid yn unig yn ddidramgwydd i bawb, ond yn barchus a chymeradwy gan y cyffredin, ac yn enwedig yn ei gymydogaeth ei hun, a chan y rhai a'i hadwaenent oreu. Ymddangosai ei ystum yn y pulpud yn lled hynod. Yn gyffredin, byddai y Testament Newydd ganddo, neu ryw lyfr bychan arall o'r fath yn ei ddeheulaw. Yr oedd y llaw hòno, fel y gwyddys, yn ddiffygiol—y tri bys mwyaf yn eisieu, a'i fys bach mewn cysylltiad â bawd fer ac anmherffaith, heb bron ddim cledr llaw. Rhwng y rhai'n y daliai y llyfr; ei fawd o mewn, a'i fys oddiallan iddo; ac mewn rhyw ffordd gyffelyb y dygai yr elfenau wrth weinyddu Swper yr Arglwydd. Gweinyddai y ddau sacrament â'i law aswy; ac er fod yr anaf hwn o anghenrheidrwydd yn anghyfleusdra iddo, eto ni chlywsom erioed am un tro trwstan arno yn nghyflawniad un gwasanaeth crefyddol. Yn y wedd hon, â'i lyfr i fyny, safai yn syth yn y pulpud, a'i wyneb wedi troi yn hytrach tua'r nef, yn enwedig wrth weddio; a byddem ni yn dychymygu, o leiaf, ein bod yn canfod rhyw dirionwch, bron yn ymylu â gwên, nid ar ei enau yn gymaint, ond ar ei holl wynebpryd. Nid oedd ei ysgogiadau yn y pulpud ond ychydig, a'r cyfan yn ei ben a'i law aswy. Ar ddechreu rhyw wasanaeth crefyddol, megys gweddïo, byddai ei ddawn yn gyffredin yn lled glogyrnaidd ac afrwydd; a chlywid ganddo, yn awr ac yn y man, ryw sych besychiad isel, yr hwn oedd yn cael ei achlysuro, dybygid, yn fwy gan betrusder meddwl, neu ddiffyg gair ar y fynyd, na chan un anghaffael corfforol. Ond bob yn ronyn, fel yr eangid ei galon yn y gwaith, elai yn fwy hyf a galluog ar ymadrodd. Mae yn gofus genym am y tro diweddaf

y clywsom ef yn gweddïo, ei fod yn nodedig felly. Anadlai ei ddeisyfiadau allan mewn ychydig eiriau, gan ymlithro o'r naill i'r llall yn ddiymattal; neu, os dygwyddai gradd o ymattaliad weithiau, dros amrantiad, byddai bron yn sicr o gael ei ddilyn gan ryw ergyd mwy hapus yn y diwedd: a chan y cynhyrfid ef yn fwy drwy hyny, elai rhagddo yn rymusach nag o'r blaen; ac yr ydoedd yn wir hyawdl, ond ymhell o fod yn siaradus. Yr un modd y dechreuai bregethu drachefn. Byddai yn afrwydd iawn ar y cyntaf, fel buwch yn godro yn wydn, ond bob yn ronyn yn tyneru ac yn ymollwng o ran ei ysbryd; ac yn gyffelyb iddi eilwaith pan y mae mewn tymher dda, yn rhoi ei llaeth dan gnoi ei chil.

Yr ydym yn meddwl y byddai ganddo amcan penodol yn wastad, a mater eglur a nodadwy yn mhob pregeth. Nid siarad er mwyn siarad y byddai Mr. Lloyd. Os na allai gyrhaeddyd ei amcan mor llwyddiannus bob amser, gallasai, o leiaf, ddywedyd wrthych yn fanwl, cyn dechreu, pa beth oedd yr hyn yr amcanai ato. Ac nid oedd dim cymaint o berygl ychwaith iddo ef wibio oddiwrth ei amcan yn ystod ei bregeth. Oblegid, yn un peth, yr oedd ei hyder ynddo ei hunan yn rhy fach, a'i syniadau yn rhy annyben yn dyfod at ei wasanaeth, i ganiatâu iddo grwydro llawer: ac am ei dafod drachefn, nid oedd ganddo fedr yn y byd i siarad, oni byddai ganddo rywbeth penodol i'w adrodd. Diogelid ef, hyd yn nod drwy ei ddiffyg hyawdledd, rhag llawer o'r gwaeleddau hyny ag y mae rhai mwy eu gallu ar ymadrodd yn dueddol i syrthio iddynt. Yr oedd ei amgyffrediad a'i arddangosiad o'i feddwl yn eglur yn gyffredinol; a hyny heb ddim ychwaneg o eiriau nag a fyddai yn anghenrheidiol. Ni byddai ef byth yn ymwylltio yn y pulpud; na byth, yn ngwall meddwl, yn anturio allan megys ar amcan, ac yn methu, ar ol dechreu brawddeg, a gwybod pa fodd i'w diweddu, ac felly yn syrthio i'r dyryswch yn fwy; ac, hyd yr ydym yn cofio, anfynych iawn y gorfodid ef i arfer ymadroddion o weddi na mawl ag y gwyddid nad oeddynt yn gwasanaethu un amcan benodol, ond yn unig llenwi bwlch, a chynnorthwyo, yn absennoldeb mater, i ddal yr ymddyddan ymlaen. Bychan yn wir oedd gallu ein hen athraw i arfer y fath ystrywiau: pan ballai meddwl gydag ef, yr oedd geiriau yn pallu hefyd. Fe wyddid nad oedd gan Mr. Lloyd ddim dychymyg bywiog na chymhariaethau tarawiadol i danio ei ddrychfeddyliau wrth eu traddodi. Nid oedd dim teimladau angerddol yn nghyfansoddiad naturiol ei feddwl, na dim o'r naws chwareugar hòno ar dymher ei ysbryd, i'w yru ef, megys ambell un, i ymarllwys allan yn zelog ar ei wrandawyr, nac ychwaith i ymgomio â hwy mewn dull cyfeillgar a difyrus. Ysgogai ymlaen mewn rhyw syber osodiad, ail i wr mewn gorymdaith: ac os ydoedd yn llai nerthol, hedegog, a ffraeth, fel pregethwr, na lliaws o'i frodyr, eto yr oedd ei gyfansoddiadau yn fwy disothach, a'i eiriau yn fwy detholedig a chymeradwy. Mewn gair, yr ydoedd ei iaith, a chynnyrchion ei feddwl, mewn ystyr yn bur debyg i'w wisg a'i agwedd allanol—i raddau yn gaeth, o bosibl, ond yn ddirodres, glân, a destlus.

Nid oedd dim tuedd yn ngweinidogaeth Mr. Lloyd i weithio ar unrhyw deimlad yn mynwes ei wrandawyr, ond yn unig ar eu teimladau moesol hwy, i ba rai mae crefydd yn perthynu. Mae teimladau eraill, fe wyddys, ynglŷn â'r natur ddynol, pa rai sydd yn perthyn i'r dychymyg, ac ar ba rai y gall y pregethwr effeithio llawer trwy ei lais, ei arabedd, neu ei ddrychfeddyliau hedegog a phrydyddawl. Ond fe wyddys hefyd y gall y

gydwybod fod yn cysgu pan y byddo y teimladau hyn yn uchder eu cynhyrfiad. Os atynt hwy yn unig y bydd y pregethwr yn annelu, y mae ei amcan yn rhy isel. Fe all beri gwynt a thân a daeargryn, mae yn wir, ond nid yw yr Arglwydd yn aml yn yr un o honynt; mae tuedd yn yr holl gyffro a achlysura i gau allan, yn hytrach na chynnyddu, teimladau crefyddol. Am ddynion glythion ar deimladau o'r fath yma mewn pregethau, maent yn aml y rhai mwyaf celyd yn y wlad; ac y mae yn gwestiwn a ddylai gweinidog yr efengyl amcanu at eu cyffroi yn mynwes ei wrandawyr ddim ymhellach, o leiaf, nag y byddo hyny yn ateb y dyben i ddeffro eu meddyliau, ac felly i'w parotoi i dderbyn gwirioneddau ysbrydol, goleuni pa rai, fel y llef ddystaw fain, sydd i gyrhaeddyd y galon a'r gydwybod. Pa fodd bynag, ychydig i foddio gwrandawyr o'r fath yma oedd yn mhregethau Mr. Lloyd, gan ei fod yn hwyrdrwm o ran ei ddawn, yn enwedig os na byddai ei deimladau yn hwylus, a byth yn gynhyrfus pan yn yr hwyl oreu. I'r cyfryw, dybygem, archwaethai ei weinidogaeth yn debyg ag y mae y dwfr glân i'r dynion hyny ag sydd wedi dyfetha eu harchwaeth trwy wlybyroedd symbylaidd. Ond er hyny, pregethwr sylweddol oedd Mr. Lloyd. Byddai ei fater yn syml, a'i ysbryd yn dyner; a thra yr oedd ei ddull yn mudo ymlaen, yn cadw y meddwl yn astud i wrandaw arno, yn y man, fe deimlai y naill sylw ar ol y llall yn dechreu dyferu arno yn fwy grymus ac effeithiol: ac er na byddai dim cynhwrf ar hyd y bregeth, eto, ond odid, erbyn y diweddai, na welid aml un o'r gwrandawwyr, yn debyg i'r glaswelltyn y boreu, yn ymadael â'i wlithyn ar ei ben. Mae yn gofus genym am dano unwaith yn trin mynediad Israel trwy y Môr Coch, yn dra hyfryd. "Moses a Duw yn siarad â'u gilydd: 'Paham y gwaeddi arnaf?' meddai yr Arglwydd wrth Moses; 'dywed wrth feibion Israel am gerdded rhagddynt.' 'I ba le y cerddant hwy, Arglwydd mawr?' meddai Moses; 'onid yw y môr cauad a chwyddedig o'u blaen hwynt?' 'Cwyd dy wialen arno, Moses bach, a hollta ef, a meibion Israel a änt drwy ganol y môr ar dir sych!" Ar ba achlysur y dygai hyn i mewn nid ydym yn cofio; ond y mae yn gofus genym i'r dywediad feddalu teimladau llawer yn y gynnulleidfa ar y fynyd hòno.

Am y pum mlynedd ar hugain olaf o'i oes, bu yn pregethu fel hyn yn Abergele bob boreu Sabboth. Arweiniodd ei wrandawyr dros ranau helaeth o air yr Arglwydd—cyfran ar ol cyfran mewn cysondeb—braint, mae yn debyg, na chafodd un gynnulleidfa arall berthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd yn Ngogledd Cymru mo'i chyffelyb. O'n rhan ein hunain, nid ydym yn credu, beth bynag a fyddo talentau gweinidog, mai buddiol yw cadw cynnulleidfa i fyw arno o hyd. Mae amrywiaeth dawn yn tueddu at fywiogrwydd. Ar yr un pryd, mae yn bosibl fod rhywbeth yn y ddwy ffordd o lafurio, pe ceid hwy ynghyd, ag sydd yn cyflawni diffyg eu gilydd. Os yw y bregeth achlysurol gan weinidog dyeithr yn peri cynhyrfiad, o'r ochr arall, y mae i gynnulleidfa gael ei dwyn drwy y naill ran o'r Bibl ar ol y llall yn rheolaidd, a hyny o dan arweiniad yr un athraw, yn ffordd gymhwys o weinyddu addysg sylweddol i'r gwrandawyr, ac i eangu eu meddyliau mewn gwybodaeth ysgrythyrol. Yr ydym yn cofio clywed y Parch. John Elias yn dywedyd, y bu yn teimlo ei hunan lawer gwaith yn barod i genfigenu wrth Mr. Lloyd, a phe buasai yntau yn yr un amgylchiadau, mai yr un dull o lafurio a fuasai yn ei ddewis. Gofidiai Mr. Hall, o Bristol, fod chwaeth yr oes yn dewis pregeth ar destun neill-

duol, yn hytrach na'r hen arferiad o eglurhau cyfran o'r gwirionedd, gan sylwi, fod mwy o gynhyrfiad yn cael ei gynnyrchu gan y cyfryw bregeth, ond llai o addysg yn cael ei dderbyn trwyddi. "Bum yn synu," medd efe, "at ragoriaeth gwybodaeth yr Ysgotiaid o'u cymharu â'r Seison yn yr ystyr yma. Mae yn arferiad cyson gan weinidogion Eglwys Scotland i esbonio bob Sabboth y boreu. Ar yr achlysuron hyn, mae eu Biblau o flaen y bobl; ac yn y wedd yma maent yn arfer darllen a gwrandaw yr ysgrythyrau yn eu cysylltiad, yr hyn sydd yn fantais fawr iawn." Hwyrach, pan ddelo yr eglwys i gyflwr perffeithiach yn ein mysg ninnau, y bydd rhai o'i gweinidogion, fel Mr. Lloyd, i fesur yn fwy cartrefol, ac eraill, o dalentau mwy grymus a phoblogaidd yn myned allan i gynhyrfu y byd. Pa fodd bynag, cadwed y Pen Mawr ni i gynnyddu iddo ei hun, yna fe ellir gobeithio y bydd yr amrywiaeth grasau a doniau a ddeillia oddiwrtho i'r eglwys y fath ag a gyfaddasa ei holl aelodau i'w gilydd, ac a geidw bawb o honynt yn eu lle priodol yn y corff: pob un yn ffyddlawn i lafurio, o ran lle a dull, yn ol mesur dawn Crist ynddo ei hunan, ac yn foddlawn ar hyny, heb geisio ymestyn at ddim, fel y dywed yr apostol, y tuhwnt i'w fesur.

Ni a glywsom fod rhai, wrth son am Mr. Lloyd, yn ei olygu megys wedi cadw noswyl gyda'r weinidogaeth pan roddes heibio bregethu yn deithiol, ac yn tybied iddo wneuthur hyny yn rhy gynnar ar ei einioes. Ond camgymeriad mawr yw hyny. Nid dyn wedi noswylio oedd dyn yn cadw ysgol ar hyd yr wythnos, ac yn pregethu bob Sabboth i'r un gynnulleidfa am bum' mlynedd ar hugain. Gellir gweled oddiwrth ei hanes fod ei bregethau yn lliosog ac amrywiol. Ac mae yn rhaid, dybygid, ei fod yn poeni llawer yn y gair a'r athrawiaeth wrth eu cyfansoddi, canys yr oedd ei wrandawyr yn parhau i gael blas ar ei weinidogaeth, a'i gymeradwyaeth a'i boblogrwydd yn yr ardal heb ballu hyd y diwedd. Golwg isel ar y llafur gweinidogaethol ydyw tybied mai yn y cylchoedd cyhoeddus mae yn gynnwysedig i gyd. Y gwir yw, pe buasai iechyd Mr. Lloyd wedi caniatâu iddo barhau yn hwy i fyned yn fwy oddiamgylch ar y Sabbothau, y gallasai ei lafur gyda phregethu fod yn llawer llai. Ei lyfrgell sydd yn treulio pregethwr. Yn ei ddarllen, a'i astudiaeth, a'i weddïau dirgel, y mae ei brif orchestion ef yn gynnwysedig. Mae pawb ag sydd wedi profi, yn gwybod mor anhawdd, yn gyffredin, yw dirnad yn glir, a myfyrio yn sefydlog, ar unrhyw fater, yn enwedig yn ysbrydol a sanctaidd. Yn fynych mae y meddwl heb destun myfyrdod; ac wedi cael un mae yn gommedd cydio ynddo i ddim pwrpas: ac yn y diwedd, ar ol ei godi i ymaflyd codwm âg ef yn lled egniol, mae yn profi yn aml ei fod mor annigonol i'w feistroli, a myned trwyddo, ag ydyw yr iar wrth grafu i dori *tunnel* trwy y graig. "Y llafur blin yma a roddes Duw ar feibion dynion i ymguro ynddo." Mae pregethwyr, fel eraill, yn profi fod darllen llawer yn flinder i'r cnawd, ac nad ydynt "yn ddigonol o honynt eu hunain i *feddwl dim* megys o honynt eu hunain." Ond y drwg yw, fod ambell un wrth brofi hyny, yn lle cofio fod ei ddigonedd o Dduw, wedi rhoi heibio *ddarllen, a meddwl, a gwneyd pregethau*, fel pethau anmhosibl eu cyflawni. Dyma y dyn segur, ac nid dyn fel Mr. Lloyd. Os gwelwch chwi yr anffawd hon wedi dygwydd i bregethwr pan yn ieuanc, chwi a ellwch yn wir ddyweyd am dano ei fod ef wedi cadw noswyl yn rhy gynnar. I fesur mawr, yn ddiau, mae llafur a defnyddioldeb y cyfryw drosodd, pa hyd bynag y pery i droi yn y cylchoedd cyhoeddus.

Ni buom ni yn aros yn hir yn eglwys Abergele; ond y mae argraff ar ein meddwl, er yr amser hòno, nad oedd Mr. Lloyd ddim mor hynod fel llywodraethwr eglwysig a llawer un. Ei ysgol oedd ei siars neillduol ef. Ac, ni a dybygem, pe buasai yn bosibl ei wneyd ef mor ddyfal a medrus i arwain a llywodraethu yr eglwys ag ydoedd fel ysgolfeistr i lywodraethu plant, y buasai yn rhagori hyd yn nod arno ei hunan fel gweinidog yr efengyl. Ond yr oedd yn anmhosibl i hyny fod. Nid am nad oedd Mr. Lloyd yn gwir ofalu am yr eglwys; ond yr oedd ei amgylchiadau bydol ef, fel eraill o'i frodyr, yn lluddias iddo ddangos y gofal hwnw yn deilwng, ac yn ei gadw dros ei oes rhag ymarfer ei hunan yn llawer o'r dyledswyddau a berthynant iddo. Dyma oedd y prif achos, mae'n debyg, o'r annybendod hwnw i'w cyflawni a welid ynddo weithiau. I rai o honynt, pa fodd bynag, yr ydym yn meddwl fod gradd o anmharodrwydd yn ei dymher naturiol, a hyny drachefn wedi cryfhau arno drwy ddiffyg ymarferiad. Yn y cyffredin yr ydoedd yn caru byw wrtho ei hun, heb fod mor athrawaidd a rhydd yn ei gyfeillach. Yn rhy debyg i'r rhan fwyaf o'i frodyr, nid oedd erioed wedi arfer dilyn yr argraffiadau a wneid yn y moddion cyhoeddus ar feddyliau ei wrandawyr, drwy ymweliadau teuluaidd, na chymdeithas bersonol â neb o honynt; ie, yr ydoedd, mewn cymhariaeth, yn ŵr dyeithr yn nhai ei gyfeillion anwylaf. Ac er ei fod yn ddawnus gyda phlant fel ysgolfeistr, yr oedd llawer un yn rhagori arno gyda y dosbarth hwnw fel gweinidog yr efengyl, trwy fod yn fwy athrawaidd gyda hwy yn y cylchoedd crefyddol, ac o dalentau ystwythach a mwy bywiog i'w hyfforddi yn egwyddorion Cristionogaeth. Am bethau amgylchiadol y gwaith, ychydig, hyd y gwyddom ni, a ddarfu Mr. Lloyd ymyryd â hwy erioed. Syrthiai i mewn â phob amcan daionus a gynnygid i'w sylw, ond ni byddai yn gynhyrfwr mawr gyda dim. Ac hwyrach fod yn anhawdd meddwl am un gweinidog ag yr oedd yn fwy anghenrheidiol iddo wrth gynnorthwy diaconiaid gofalus ac egniol, mewn trefn i gadw dysgyblaeth yn yr eglwys, a bywyd yn holl gangenau yr achos, na Mr. Lloyd. Yn y cyfarfodydd eglwysig, byddai yn hwyrfrydig a mud yn aml; nid mor barod i gynghori a cheryddu ag y buasai da. Ac yn lle bod yn wastad ar y blaen, y cyfryw ydoedd ei ysbryd ymneillduol, fel ag yr oedd yn ofynol, yn hytrach, am ymdrech o du ei gydswyddogion i'w ddwyn ef allan, a'i ddal i fyny ger bron yr eglwys yn y lle ag oedd yn gweddu i'w gymeriad a'i swydd. Wrth ddywedyd y pethau hyn, pa fodd bynag, nid ydym yn meddwl fod Mr. Lloyd yn amddifad o ysbryd na chymhwysderau i fugeilio yr eglwys. Gwyddom y byddai yn bwrw golwg arni yn fanylaidd, a'i fod yn fwy adnabyddus, yn gyffredin, nag y buasai llawer yn dysgwyl iddo fod, o ansawdd grefyddol a themtasiynau ei hamrywiol aelodau. Pan grybwyllid wrtho am ryw argoelion, er da neu ddrwg, ar neb o honynt, ond odid na cheid ei fod wedi craffu ar y peth ei hunan: a medrem goffâu esiamplau cofiadwy i ni o'i bryder a'i weddïau yn achos y cystuddiedig a'r profedigaethus yn eu mysg. "Yr oedd arnaf ofn mawr," meddai unwaith, wrth siarad am ryw gyfaill iddo ag oedd o dan ryw anhwyldeb meddwl, "yr oedd arnaf ofn mawr rhag iddo gael ei ollwng i wneyd niwed iddo ei hun; ac heblaw cynnal ei ysbryd, byddwn yn ceisio gweddïo drosto, ac fe ddarfu i'r Arglwydd yn dirion ei waredu."

Am achosion dysgyblaethol, drachefn, fe wyddid fod *dyn* yn Mr. Lloyd, a dyn trwm hefyd, ond ei gael ef allan. Hwyrfrydig ydoedd i ddechreu

ar ddim, mae yn wir; ond yr oedd pybyrwch yn ngwraidd ei galon ef er hyny, ac elai yn fwy noeth a dewr yn wyneb gwrthwynebiadau. Ambell dro, fe'i gwelid mewn pwnc o ddysgyblaeth, hwyrach, ar ol gwrandaw yn hir, ac eistedd mor fud a llonydd a'r aelod distadlaf yn yr eglwys, yn y man yn cyfodi i fyny; ac wedi dechreu ymaflyd yn y mater, a chael gradd o oruchafiaeth ar betrusder ei feddyliau, fe lefarai yn hyf a phenderfynol. Ac am y gyrid ef felly gan rym ei deimladau, a hyny yn wyneb cryndod ac ofn lawer, byddai ei eiriau, yn aml, ar y cyfryw achlysuron, yn disgyn oddiwrtho gydag awdurdod mawr, ac mor nerthol ac awchus, weithiau, nes y teimlai un iasau yn ei gerdded wrth wrandaw arno. Yr oedd yn anhawdd cael neb gweinidog mewn gwell manteision na Mr. Lloyd i ennill llywodraeth ar yr eglwys. Byddai gartref yn wastad: ac nid hyny yn unig, ond yr oedd urddas ei gymeriad yn fawr, fel cristion a phregethwr. Buasai yn naturiol i bawb, yn enwedig rhai ag oedd wedi eu meithrin wrth ei draed ef, i edrych arno yn blaenori yn eu cynnulliadau crefyddol, a derbyn ei gynghorion ar bob achos; a hyny, nid yn unig ar gyfrif eu teilyngdod ynddynt eu hunain, ond hefyd fel rhai yn dyfod oddiwrth swyddog yn yr eglwys, ac un ag yr oedd eu cydwybodau yn ei barchu fel gwas i Grist. Bod y pethau yma yn rhoddi iddo ddylanwad mawr yn yr eglwys sydd sicr. Ac eto, nid cymaint o lywodraethwr oedd Mr. Lloyd; yr oedd ei dymher yn hytrach yn ymwrthod â hyny. Ac mewn amgylchiadau, pan y cyfodai gyda nerth, fel y crybwyllwyd, i weinyddu ceryddon a dysgyblaeth eglwysig, byddai, ar achlysuron felly, yn aberthu llawer o'i deimladau personol, ac yn ymgynghori yn fwy â'i rwymedigaeth nag â'i dueddiadau. Os cyfrifir rhai o'r pethau a nodwyd ddiweddaf yn wallau ynddo fel gweinidog yr efengyl, fe ddylid cofio o dan ba amgylchiadau yr ydoedd yn llafurio. Yr oedd y rhanau mwyaf ymarferol o'i swydd allan o'i gyrhaedd. Y gwir yw, nid yw bugeiliaeth eglwysig, eto, ddim wedi cael ei lle dyladwy yn y weinidogaeth Fethodistaidd; ac y mae yn anhawdd i hyny fod tra byddo ei gweinidogion yn gaeth gyda gorchwylion eraill.

Ond i adael hyn. Mae mor gofus genym ni am ymddyddanion personol Mr. Lloyd a dim arall, os nad mwy; nid ei sylwadau yn hollol, ond ei ysbryd. Ni byddem bron byth yn ymadael o'i gymdeithas, yn enwedig yn mlyneddau olaf ei fywyd, na byddem yn profi ein meddwl wedi ei adnewyddu, a'n serchiadau yn fwy pur a dyrchafedig. Teimlem yn rhydd yn ei gyfeillach, ac eto yn wyliadwrus; yn siriol, ac eto heb fyned i ysgafnder. O'r ymneillduaeth hwnw a'i hynodai, ymlithrai ei ysbryd allan, yn araf, mae yn wir, ond yn gyfeillgar a mwynaidd. Byddai ei eiriau yn wastad yn rasol, ac yn disgyn yn gymeradwy ar ein meddyliau; a theimlem yn hawdd ei garu, ond yn annaturiol gwneyd yn hyf arno. Y peth oedd yn ein taraw fwyaf yn nghyfeillach Mr. Lloyd ydoedd, fod ei ymddyddanion mor ddiaddurn, ac eto mor effeithiol. Nid oedd ganddo ef ddim syniadau gwreiddiol i'w hadrodd, na thalent i osod allan syniadau cynnefin mewn gwedd mwy newydd a difyrus. Yn yr ystyr yma yr oedd y cyfan yn gyffredin, yn gymaint felly, fel pe coffaem rai o'i ddywediadau, ychydig, mae yn bur debyg, a deimlai y darllenydd o ddyddordeb ynddynt wrth eu darllen. Ond o'i enau ef, er hyny, deuent allan gydag eneiniad mawr. Eu hysbryd oedd eu heffeithiolrwydd. Yr oedd agosrwydd ei feddwl ef at Dduw yn nawseiddio ei holl ymddyddanion, ac yn peri eu bod

yn arogli yn hyfryd i'r neb a'u gwrandawai. Nid oedd ei sylwadau ychwaith ddim heb rywbeth sylweddol ynddynt yn aml. "Peidiwch," meddai unwaith, wrth bregethwr ieuanc, "a gadael i boblogrwydd y fynyd eich dyfetha; yn ebrwydd iawn, fe fydd eich doniau mor gynnefin i'r gwrandawyr a'ch wynebpryd; ac erbyn hyny, ond odid, na bydd llawer o'r cynhwrf wedi darfod." Cofus ydyw genym, ar un tro, ein bod yn adrodd wrtho am helynt eglwys liosog, a'r hon ar y pryd hwnw oedd yn debyg o gael ei dyfetha trwy ei hanghydfyddiaethau. Ac er nad oedd ei sylw ond byr, gwnaeth ei ddull yn ei adrodd argraff ddofn ar ein meddyliau. Dywedai, gyda dwysder,—"Mae pechu mawr mewn eglwysi felly, ac ansawdd annuwiol ar feddyliau y bobl!" Yr oeddem ni yn dygwydd bod gydag ef yn ei dŷ, pan dderbyniodd, am y tro cyntaf, y papyrau ynghylch y *property* a'r *income tax*. "Wel," meddai, wrth eu hagoryd ac edrych drostynt, "ni a ddylem lenwi y rhai'n, oni ddylem ni, fel pe baent wedi dyfod o'r nefoedd! Os yw yr awdurdodau yn gorthrymu, y nhw a fydd yn gyfrifol am hyny; ein dyledswydd ni yw bod yn ffyddlawn a gonest." "Iē, Mr. Lloyd," meddem ninnau, "ond ni raid i chwi dalu dim os gellwch chwi ddangos nad ydych yn werth cant a hanner o bunnau yn y flwyddyn." "Wel," ebe yntau, "mae yn ddigon hawdd i mi wneyd hyny."

Clywsom i un o'i gyfeillion fyned i ymweled âg ef pan ydoedd, ni a dybygem, wedi ei gyfyngu i'w ystafell, os nad yn gwbl i'w wely. Yn ystod yr ymddyddan, dywedai yr ymwelydd wrtho, "Mae y meusydd yn doreithiog iawn eleni, Mr. Lloyd." "Felly yr ydwyf yn clywed," ebe yntau; ac yna ychwanegodd, gyda defosiwn mawr, "Ac y mae meusydd yr efengyl yn doreithiog iawn hefyd!" Yr oedd yntau yn gallu ymrodio yn y meusydd hyny, yn mhrydnawngwaith tawel ei ddydd, pan yn garcharor gan angeu, ac ar gau ei lygaid ar feusydd y byd.

Ond y mae yn rhaid i ni bellach adael ein hen athraw hybarch. Hoffasem, mae yn wir, wybod mwy am ei helyntion ysbrydol ef. I ni ymddangosai yn byw megys allan o'r byd; a pha faint bynag a wyddai am bryder ac ofnau ar hyd ei einioes, yr ydym yn barod i feddwl nad oedd llygredigaeth a themtasiynau cyffredinol plant dynion yn cael ond ychydig o fantais i ymaflyd ynddo. Nid yw hyny, o bosibl, ond dychymyg; ond dychymyg hawdd ei choleddu am Mr. Lloyd. Mae y gair, pan ydoedd yn ei gystudd diweddaf, fod un o'i hen frodyr yn Abergele wedi syrthio i dipyn o ddyryswch, unwaith, wrth weddïo drosto. Pan glywsom am y dygwyddiad, er ei fod yn lled hynod a digrifol, yr oeddem yn ebrwydd yn profi ein bod yn deall teimladau y gweddïwr, ac yn gallu cyd-ddyoddef âg ef yn ei brofedigaeth. Y chwedl yw, ei fod mewn cyfarfod eglwysig, ac ar y diwedd, wrth goffo mewn gweddi am Mr. Lloyd, yn dywedyd yn debyg i'r hyn a ganlyn:—"Cofia dy was—ein parchedig frawd—maddeu iddo ei bechodau." Ond ar ei waith yn adrodd y gair yna, dyna ei feddwl a'i dafod yn petruso, megys pe buasai wedi ei daraw gan yr ystyriaeth o'r anmhriodoldeb o son am bechodau ynglŷn â Mr. Lloyd. Ond yn y man, adfeddiannodd ei hunan drachefn, a dywedodd yn lled eofn, "Iē, dirion Dad, oblegid y mae yn rhaid i ni feddwl fod ganddo yntau ei bechodau, er na wyddom ni am neb â chyn lleied o honynt ag efe." O! mor werthfawr yw enw da! Yr oedd yr hen William Mark yn adnabod Thomas Lloyd er ys llawer o flyneddau; a dyma ei dystiolaeth ef am dano yn y

diwedd—"*Ni wyddom ni am neb â chyn lleied o bechodau ag efe.*" Cyffes yw hon ag oedd ar unwaith yn amlygiad o dynerwch ysbryd yn y gwedd-ïwr ei hunan, ac yn dyweyd llawer am fywyd ei hen weinidog. Ac fel hyn, yn ddichlynaidd a diniwed, yr aeth y creadur hwn drwy y byd i'r bedd.[1] Ni ddychwel mwy i'w dŷ, a'i le ni edwyn ddim o hono ef mwy." Ni chanfyddir mwyach mo'i agwedd hynod ar yr heol; ac ni chlywir mwyach mo'i lais yn y pulpud. Mae ei ysgol wedi tori; a'i gader, erbyn heddyw, yn wag yn y côr o dan ei hen bulpud yn Abergele; ac i ni, o leiaf, mae yr olwg arni yn bruddaidd ac anghyfannedd ddigon. Dyma nodwedd y byd yr ydym yn byw ynddo. Wel! bendigedig a fyddo Duw am fyd arall!

Cawsom bleser nid bychan, yn ddiweddar, wrth adgofio am ein hen dadau, gyda pha rai y buom yn byw am flyneddau, a chyda pha rai yr ydym yn gobeithio yn grynedig y cawn fyw eto. Yr ydym yn cael ein taraw â syndra wrth feddwl am danynt. Yr oeddynt yn gydgyfranogion â'u gilydd mewn natur a gras, ac eto, ar ryw olygiadau, yn bur annhebyg y naill i'r llall. Ei dymher, a'i ras, a'i ddawn ei hunan oedd gan bob un o honynt. Mor wahanol, er esiampl, oedd Elias o Fon, a Lloyd o Abergele. Un â'i feddwl yn wrol a'i deimladau yn gryfion; a'r llall yn hwyrfrydig ac ofnus. Y naill â'i hyawdledd yn rhaiadru allan gyda y fath nerth a chynhwrf nes oedd y gwledydd yn cyffroi wrth ei swn; a'r llall, fel yr aberig fechan, yn sihwian drwy y dolydd yn araf a gwylaidd, ac eto, aml i lanerch yn blodeuo wrth ei harogl. Pe meddyliem am yr hen frodyr a flaenorent Gyfarfod Misol sir Ddinbych yn ein dyddiau cyntaf ni, yr oedd-ynt oll yn dra amrywiol eu galluoedd; ac yn hyny yr oedd eu gogoniant a'u defnyddioldeb fel corff o weinidogion yn gynnwysedig. Yr oedd un wedi ei wneyd yn fwy i bregethu, a'r llall i lywodraethu. Un â thuedd ei weinidogaeth yn hytrach at argyhoeddi a dychwelyd y byd, a'r llall at gysuro ac adeiladu yr eglwys: y naill â'i gyfeiriad yn benaf at y deall, a'r llall at y gydwybod a'r serchiadau. "A'r holl bethau hyn," medd yr apostol, "y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu, megys y mae yn ewyllysio." Mr. Thomas Jones, o Ddinbych, a draddodai ei genadwri mewn ffordd o gynghor sylweddol a dwys, ac mewn iaith gref a phriodol. Peter Roberts, er nad oedd mor hynod am ddyfnder nac eangder meddwl, eto a deimlai ddyddordeb yn ei bwnc, ac a'i trinai yn bert ac eglur. John Davies, o Nantglyn, yntau, yn fwy digrifddwys ei dymher. Byddai ei deimladau ef yn delwi ei lais a'i wynebpryd; ac yn ffrydio allan bron yn mhob dull o siarad; o'r dywed-iadau cyrch, a'r bratheiriau cyrhaeddgar, i lawr hyd at gwynfanau medd-alion serchogrwydd. Os cyfarfyddai y dewryn hwn a gelyn i eglwys Dduw yn ei waith yn cynllwyn i'w herbyn, ceid ei glywed ef weithiau yn sarug wrtho; ac weithiau yn ymgomio âg ef yn drahaus a sychlyd, ac wrth ei droi a'i drosi ef ol a blaen, ymroui megys i fwrw dirmyg arno yn mhob ffordd, gan ei watwar-foli a'i bwmpio bob yn ail, nes o'r diwedd, wedi olrhain llaw yr Arglwydd yn troi ei falchder a'i draha yn ddinystr iddo ei hun, ac yn lles i'w bobl, y dybenai y cyfan yn y dolefiad toddedig—"Gogon-iant iddo!"

Nid dwl ychwaith oedd yr hen Evan Lewis. Wedi astudio y Dr. Owen a'r hen Buritaniaid yn lled ddyfal, yr ydoedd yn ddyfnach duwinydd na llawer ag oeddynt yn fwy eu talentau yn y cyhoedd. Os na fedrai draethu

[1] Bu farw Gorphenaf 15ed, 1848, yn 72 mlwydd oed.

a gosod allan ei feddwl yn gampus, eto, fe fyddai yn wastad â chanddo rywbeth teilwng mewn golwg, ac yn caffio yn gywir ato. I ni ymddangosai, wrth ymdrin â'i fater, yn gyffelyb ag y gwelsom y morgrugyn weithiau pan yn edrych arno yn llusgo at rywbeth ag a fyddai yn rhy drwm iddo. Byddai yn troi o'i gwmpas ef yn drafferthus ddigon, yn ymaflyd ynddo ac yn ei ollwng, yn cynnyg ato drachefn, ac yn methu: ac ambell waith, yn nghanol ei ffwdan a'i drwstaneiddiwch, fe gyrhaeddai ei amcan yn gynt ac yn fwy hapus na'n dysgwyliad, nes ein taflu i ffrwd o grïo a chwerthin ar yr un pryd. Mae yn gofus iawn genym am ei ddull yn dyfod ar draws y gair yn *Zech.* xii. 8, wrth osod allan ogoniant yr eglwys a'i swyddogion o dan dywalltiadau o'r Ysbryd yn y dyddiau diweddaf. "Dyn hynod," meddai, "oedd Dafydd; cantwr anghyffredin ydoedd: peraidd ganiadydd Israel y gelwid ef. Ond am yr amser yr ydym ni yn son am dano yn bresennol, fe—fydd y—fydd y—fydd *y llesgaf* o honynt y dydd hwnw *fel Dafydd;* a thŷ Dafydd fel Duw, fel angel yr Arglwydd, yn myned ymhell iawn *o'u blaen hwynt* drachefn." Yr oedd hyn mewn Cyfarfod Misol, yn y Cefn Coch; ond y mae y cyfan ag oedd ynddo wedi myned ar ddifancoll gyda ni, ond yn unig sylw yr hen bererin profedigaethus hwnw. Fe ddaeth allan o'i enau yn ddisymwth fel ergyd o wn; ac am ei fod ef drwy ei ffwdan a'i attal dywedyd blaenorol megys wedi misio tân rai gweithiau, yr oedd yr effaith arnom yn fwy nerthol yn y diwedd. Parch i goffadwriaeth yr hen bererin! ni a'i clywsom ef yn cwyno ei golled am ei astudgell a'i lyfrau, pan dros bedwar ugain mlwydd oed.

Nid heb hiraeth am dano ychwaith y bu farw William Jones, o Ruddlan. Talentau y pulpud yn unig oedd ei brif dalentau ef. Ychydig heblaw pregethwr ydoedd i'r byd nac i'r eglwys; ond yr oedd ef yn bregethwr. "Mae rhai dynion," medd y Dr. Owen, "wedi eu cymhwyso o ran doniau i weinyddu yn y gair a'r athrawiaeth, mewn ffordd o borthi fel bugeiliaid, pa rai nad oes ganddynt ddim talentau buddiol i lywodraethu; ac eraill wedi eu cymhwyso i lywodraethu nad oes ganddynt ddim doniau i waith y fugeiliaeth mewn ffordd o bregethu." "Ië, pur anaml," medd efe, "mae y ddau fath yma o ddoniau yn cydymgyfarfod i ddim enwogrwydd yn yr un personau, neu o leiaf, heb ryw ddiffyg nodadwy." I'r dosbarth cyntaf yma, yn ol ein barn ni, y perthynai ein hen gyfaill o Ruddlan. Ychydig, mewn cymhariaeth, oedd ei gymhwysderau ef i gymeryd gofal dros, a llywodraethu eglwys Dduw. Nid efe a fuasai y dyn i'w ddanfon i Corinth i wastatâu eu hymrafaelion yno, nac i'w adael yn Creta i iawn drefnu y pethau oedd yn ol, ac i osod henuriaid yn mhob eglwys. Ac eto, yr oedd ganddo air i'w ddywedyd wrth bechadur. Y pulpud oedd ei elfen. O ran ei gyfansoddiad corfforol, ei lais, a'i ddoniau poblogaidd, yr ydoedd wedi ei dori allan i fod yn bregethwr, ac yn bregethwr teithiol. Ac nid pregethwr cyffredin ychwaith oedd William Jones, ond diwygiwr hefyd; pregethwr milwraidd. Yr oedd sŵn brwydr yn ei ysbryd a'i weinidogaeth ef. Byddai yn annelu bob amser at lygredigaethau ei genedl; ac er, o bosibl, y byddai naws ei feddwl ar y pryd yn ei gario i'r naill ochr weithiau; eto, ar y cyfan, yr oedd ei amcan yn ddifrifol. Clywsom iddo rai gweithiau yn ei oes fyned i gyfarfodydd llygredig ar hyd y wlad, megys cadfäau ceiliogod, gwylmabsantau, a'r cyffelyb, gan godi baner yn enw ei Dduw, ac ymosod ar yr hen *syrs*, fel ei galwai, yn eu gwedd fwyaf anfad, ac ar eu tiriogaeth eu hunain; ac nid yn gwbl aflwyddiannus

ychwaith. Cofus ydyw genym am ei ddull yn gweddïo. Ymddangosai rhywbeth ynddo, mae'n wir, tebyg i ddiofalwch yn y cyflawniad, ac o'r bron, fe allesid meddwl, yn ymylu a bod yn rhy gyffredin:—ond eto am fod dull felly, dybygid, yn naturiol iddo ef, ac ysbryd defosionol yn ffrydio trwyddo, byddai y cyfan yn arogli yn esmwyth. Yn y pulpud drachefn, yr ydoedd fel yr aderyn mwynlon. Nid na byddai yn auaf arno yn aml, a'i enaid yn chwerw ynddo; yn trydar yn hytrach na chanu. Ond unwaith, er hyny, wedi yr ymsefydlai yn deg ar bren y bywyd, a rhoi heibio bigo at yr adar o'i amgylch, byddai yn lloni trwyddo; gwnelai tôn ei ysbryd a'i lais beroriaeth hyfryd; ac y mae lliaws eto yn Nghymru heb anghofio yr hyfrydwch a fwynhaent wrth wrando arno yn lleisio oddi rhwng ei gangau. I ni, pa fodd bynag, yn awr, pan mae pob blwyddyn, agos, yn ein hamddifadu o ryw un neu gilydd o arweinyddion ein hieuenctid, y mae colli cathlau bychain y durtur yma o'r goedwig Fethodistaidd yn ychwanegu at ein hiraeth.

Ond ni waeth tewi. Ein tadau, pa le maent hwy! a'r prophwydi, a ydynt hwy yn fyw byth! Nac ydynt, nac ydynt! maent wedi disgyn i ddystawrwydd. Ond cofiwn mai o ras yr oeddynt yr hyn oeddynt. Gras a'u cododd i waith yr efengyl; a gras a'u cynnaliodd cyhyd ynddo, gan eu nerthu i orphen eu gyrfa mewn tangnefedd. Bydded yr ystyriaeth o hyny yn foddion i gynhyrfu ein meddyliau ninnau, i obeithio yn ein hachos ein hunain, ac i ogoneddu Duw ynddynt hwy.

Mae fy nhadau wedi huno;
  Cu eu cofio genyf fi;
A fy ngado yn drist a synllyd:
  Alltud ydwyf gyda Thi,
Yma ac acw 'rwyf yn chwilio,
  Ac o'r byd yn cilio yn brudd;
Hiraeth am fy hen gyfeillion
  Draw ar fryniau Sïon sydd.

---

## GOHEBIAETH.

### Y WASG GYMREIG.

Syr,—A fyddwch chwi cyn fwyned a chaniatâu i mi ddarn bychan o le yn y "Traethodydd" i alw sylw at ansawdd y wasg yn ein plith ni, y Cymry, gan obeithio y bydd hyny yn foddion i gynhyrfu rhyw ohebwyr mwy galluog i gymeryd y gorchwyl mewn llaw? Nid wyf yn cyfeirio at un blaid neillduol; ond at yr hyn sydd wedi bod yn bla cyffredinol yn Nghymru, ac yn myned yn waeth bob blwyddyn. Mae yn wir fod y pla hwn wedi cilio i raddau mawr o ryw ranau o gorff y genedl; ond y mae yn tori allan gyda mwy o rym mewn rhanau eraill. Y mae dau beth yn hynodi ymladdfeydd cenedloedd anwareiddiedig; ac y mae y ddau hynodrwydd hyny i'w gweled yn ein mysg ninnau. Un o honynt yw yr arferiad o ddefnyddio saethau gwenwynig: a pha beth yw rhai o'r cyhoeddiadau Cymreig ond cawellau yn llawn o saethau o'r fath yma? Pa le y ceir ymosodiadau mor wenwynig ar nodweddiadau personol? Ni chefais gyfle, a phe buaswn yn cael cyfle, ni buasai genyf archwaeth, i ddarllen y "*Satirist*" a gyhoeddid ryw amser yn ol yn Llundain: ond nid wyf yn tybied fod nemawr wahaniaeth rhyngddo a rhai o'r cyhoeddiadau Cymreig, oddieithr fod hwnw yn llawer mwy doniol. Os oedd ynddo ddim dawn o fath yn y byd, y mae yn rhaid i ni gredu ei fod yn fwy doniol na'r pethau di-enaid a di-ymenydd a gynnyrchir gan y wasg Gymreig. A chofier o hyd fod y rhai hyn yn cael

derbyniad gan bobl a gyfrifant eu hunain yn grefyddol! Y ffaith yw, fod cyhoeddiadau yn cael eu derbyn a'u taenu gan rai o grefyddwyr y Dywysogaeth, y rhai sydd yn gwneuthur mwy i lygru chwaeth y wlad na dim a ysgrifenwyd erioed gan anffyddwyr proffesedig. Peth arall sydd yn brawf o gyflwr anwareiddiedig yw ymosodiadau dirgelaidd. Os rhaid i ddyhirwyr diegwyddor gael dangos eu gelyniaeth at bersonau, oni ellid dysgwyl i olygwyr yr holl gyhoeddiadau ofalu o leiaf na chaffont wneuthur hyny dan gysgod ffugenwau? Yr wyf yn apelio atynt er mwyn eu gwlad, ac er mwyn moesoldeb cyffredin. Ac os na wrandawant hwy, yr wyf yn apelio at holl lenorion Cymru i roddi terfyn buan i'r arferiad, am yr hon y gellir dywedyd, yn ngeiriau yr hen Buritaniaid am orthrymder Charles I, "*It has increased, is increasing, and ought to be diminished.*" Pe buaswn yn y llythyr hwn yn cyfeirio at berson, neu bersonau, buaswn yn ystyried fy hun yn rhwym o roddi fy enw priodol; ond gan nad oes genyf amcan pellach na galw sylw at arferiad gyffredin, goddefer i mi alw fy hun,

MELANCTHON.

IEITHYDDIAETH.

SYR,—Nid wyf yn gwybod fod neb wedi rhoddi eglurhad ar y gwahaniaeth rhwng y ddau air a arferir yn yr iaith Gymraeg am yr arddodair Seisneg *in*. Weithiau arferir *yn;* bryd arall *mewn.* Er hyny, mae yn amlwg nad ydynt i'w cymeryd yn ddiwahaniaeth. Os bydd y gwrthddrych yn benodol, mae yn rhaid rhoddi *yn* o'i flaen; megys *yn y dref, yn nhŷ y brenin.* Ond defnyddir *mewn* o flaen gwrthddrych anmhenodol; megys, *mewn tref, mewn tŷ mawr, mewn llawer man.* Yn awr, byddai yn dda genyf pe ymostyngai rhai o'ch gohebwyr, yn y lle cyntaf, i ddangos y rheswm am y gwahaniaeth hwn; ac yn ail, i roddi gwybod a oes gwahaniaeth cyffelyb mewn rhyw iaith arall heblaw yr iaith Gymraeg.

AP HERMES.

---

# NODIADAU AR LYFRAU.

*Hanes Poblogaidd am Ddarganfyddiadau yn Ninifeh, prif ddinas hen ymerodraeth Assyria.* Gan AUSTEN HENRY LAYARD, YSW., D.C.L. Wedi ei dalfyru ganddo ef ei hun; gydag Arluniau lliosog.

YR ydym wedi galw sylw eisoes at y llyfr hwn, ar ymddangosiad y rhanau cyntaf o hono: ac y mae genym yn awr i hysbysu ei fod wedi ei orphen, a'i ddwyn allan mewn ffurf sydd yn glod i'r cyhoeddwr. Nid ydym yn gwybod am un llyfr y gellid dysgwyl i'r Cymry fod yn fwy awyddus i'w dderbyn. Os ydynt yn ymddifyru mewn hanesyddiaeth, neu yn hoff o hynafiaeth, neu yn gwerthfawrogi gwybodaeth ysgrythyrol, cyfarfyddir â'r cwbl yn ngwaith Mr. Layard. O flaen y cyfieithiad hwn y mae rhagymadrodd dyddorol o waith yr awdwr, yr hwn sydd yn diweddu fel y canlyn:—

"Yn fuan wedi fy nychweliad i Loegr o Assyria, yn 1851, aethum gyda mintai, ynghylch cant mewn nifer, o weithwyr, o waith haiarn Syr John Guest, i'r Amgueddfa Brydeinaidd, yn Llundain. Synais oblegid y sylw a wnaed ganddynt o wareiddiwch a chelfyddydau yr hen oesau, a synais fyth yn fwy oblegid eu gwybodaeth mewn hanesyddiaeth Ysgrythyrol, megys ag yr eglurwyd y cyfryw hanes yn y colofnau a nodwyd genyf iddynt. Ar ddau achlysur ar ol hyn, cyfarfyddais â'r un bobl yn Dowlais, pryd y cefais gyfleusdra i'w hanerch, ynghyd âg eraill na chawsant y cyfleusdra o fod yn Llundain, ar y pwnc o'r darganfyddiadau a wnaed ar sail Ninefeh. Yr argraff ag oedd yn barod arnaf gyda golwg ar wybodaeth a galluoedd gweithwyr Cymru, a gadarnhawyd yn fwy y pryd hyny. Un ag sydd â lleshad pobl Cymru yn fawr ar ei meddwl, ac un sydd wedi cyfranu yn fawr iawn tuag at eu gwellhau a'u llesoli, sef yr Arglwyddes Charlotte Guest, ynghyd âg eraill ag oeddynt yn gyflawn addas i roddi pob hysbysrwydd i mi, a gyd-dystiolaethent am syched mawr trigolion y Dywysogaeth am wybodaeth ar y pynciau hyny sydd yn gysylltiedig â

hanes ysgrythyrol, a'u hawydd i gael eu goleuo yn y pynciau hyny, drwy y darganfyddiadau diweddar a wnaed, ag sydd â thuedd ynddynt i daflu goleuni ar wirioneddau yr Ysgrythyr Lân. Meddyliodd yr Arglwyddes Charlotte Guest ar y pryd y byddai cyfieithiad o'r argraffiad talfyredig o'm hymchwiliadau yn Ninifeh yn dderbyniol ganddynt; a'r awgrymiad hwn, ynghyd â theimlad gwladwriaethol, a dueddodd Mr. Rees, Llanymddyfri, i gymeryd mewn llaw y gorchwyl o'i gyhoeddi yn Gymraeg. Y mae amryw sylwadau eglurhaol yn yr argraffiad Cymreig hwn, nad ydynt yn yr un Seisneg, wedi eu hychwanegu er mwyn gwneuthur y gwaith yn fwy dealladwy i'r darllenwyr Cymreig. Mae yr holl arluniau a'r cynlluniau a gynnwysid yn y gwaith gwreiddiol, trwy ganiatad Mr. Murray, ei gyhoeddydd, wedi eu gosod yn yr argraffiad hwn, tuag at ei wneuthur yn eglur i bob dosbarth o ddarllenwyr. Yr ydwyf yn gobeithio yn ddidwyll, y bydd cyhoeddiad o'r gwaith hwn yn yr iaith Gymraeg, wirio tyb y rhai hyny a ddymunent iddo gael ei gyhoeddi, ac y bydd iddo fod yn ychwanegiad at lênyddiaeth Cymru."

*Blodau Glyn Dyfi: sef Caniadau ar Amrywiol Destynau.* Gan LEWIS MEREDITH (*Lewis Glyn Dyfi*).

"*A thing of beauty is a joy for ever.*" Y mae un meddwl prydferth yn hyfrydwch oesol; a diammhau genym fod awdwr y caniadau hyn yn gwybod am hyny trwy brofiad yn ei gystudd hirfaith. Nid un, ond llawer o feddyliau prydferth, a geir yn y casgliad hwn. Gobeithiwn y bydd i'r bardd ieuanc fwynhau bywyd ac iechyd, ac ymdrechu o hyd i fyned ar gynnydd. Bydded iddo amcanu i gyfansoddi, nid yn unig yn dda, ond yn well, ac yn oreu. Yr hyn a ddymunem yn ei waith yw *mwy o gryfder*. Y mae ei athrylith yn werth ei meithrin; a dysgwyliwn y ceir gweled yn ei ardd y tro nesaf ambell *bren* cadarn cysgodfawr, yn ychwanegol at y *blodau* amryliw.

*Iuddewon Prydain.* Gan JOHN MILLS (*I. G. Alarch*).

MAE yn anhawdd meddwl pa brofion gwell o wirionedd y Bibl a ellid eu dymuno neu eu dychymygu nag y sydd genym yn barod. Heblaw lliaws o brofion eraill, dyma y bobl yr ymddiriedwyd iddynt am ymadroddion Duw, ac a wrthodwyd o herwydd eu gwrthodiad hwy o'r Messia, yn aros yn genedl wahanol hyd heddyw. Cenedl ryfedd yw yr Iuddewon; rhyfedd yw eu holl hanes hyd yma; a rhyfedd iawn yw yr hyn sydd eto yn eu haros. Nid llai rhyfedd a dyeithr yw eu harferion, y rhai ydynt yn esboniad byw ar ranau helaeth o'r Bibl; ac i'r rhai sydd yn dewis deall pa beth yw yr arferion hyny, bydd y llyfr hwn o eiddo Mr. Mills yn dra derbyniol. Y mae y wybodaeth sydd ynddo bron i gyd yn newydd i'r Cymry; ac yn llawn dyddordeb.

*Tafol y Beirdd: sef, Traethawd yn egluro Deddfau mydryddol Barddoniaeth Gymreig o'r cynoesoedd hyd yn awr, ac yn amlygu ansawdd a gwerth y Pedwar Mesur ar Ugain Cerdd Dafod, yn ol egwyddorion hen Ddosparth Beirdd Ynys Prydain: at yr hyn y chwanegwyd Awdl ar yr Adgyfodiad.* Gan ROBERT ELLIS. *Gyda Rhagdraith gan* ANEURIN JONES.

I'R rhai sydd yn analluog i gyrhaedd meddiant o'r llyfr gwerthfawr hwnw a gyhoeddodd Iolo Morganwg, dan yr enw "*Cyfrinach y Beirdd*," nid oes un i'w gael mor addas i lenwi y diffyg a'r traethawd hwn. Nid yw yr ysgrifenwyr sydd yn dilyn Dafydd ab Edmwnd yn rhoddi ond golwg hannerog iawn ar Fydryddiaeth y Cymry. Y mae ynddi gysondeb a threfn fel y mae yn Nosbarth Morganwg, yr hwn yw yr hen ddosbarth, a mwy o ryddid nag y mae llawer yn feddwl. Yr ydym yn ddiolchgar i Mr. Ellis am ddadenhuddo yr hen drefniant unwaith eto; a dylem ychwanegu fod ei draethawd yn cynnwys cyflawnder mawr o hanesiaeth nad ydyw i'w gael yn "*Nghyfrinach y Beirdd.*"

*Holwyddoreg ar Ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau.* Gan EVAN WILLIAMS.

LLYFR ar fater anghenrheidiol, gan un sydd wedi cael prawf o ddrygau anffyddiaeth, pan yn llafurio fel cenadwr yn Llundain.

*Holwyddoreg Protestanaidd at wasanaeth Ysgolion a Theuluoedd.* Gan y Parch. B. Richings, A.C., Vicer Mancetter, swydd Warwick.

Pa un a yw Cymru mewn perygl oddiwrth Babyddiaeth dan ei henw priodol, ai peidio, nis gall neb wadu nad yw Pabyddiaeth yn ei gwedd Busiaidd, yn ennill tir yn mysg y rhai hyny na feddant ond ychydig o'r peth hwnw a elwir *egwyddor*. Y mae llawer o'r Pusiaid yn fwy pabyddol na'r Pabyddion eu hunain, ac yn amddiffyn hen draddodiadau, y rhai y mae y Pabyddion callaf yn cywilyddio eu harddelwi. Nis gellir tybied, gan hyny, fod yr Holwyddoreg hwn yn afreidiol.

*Y Rhosyn a'r Lili.*

Casgliad yw y llyfr hwn o ddarnau prydyddol, y rhai ydynt, gan mwyaf, yn dra difyr. Pan ddywedwn fod Talhaiarn, ac Iorwerth Glan Aled, yn awdwyr i gryn nifer o'r cyfansoddiadau hyn, gwelir nad oes yma ddiffyg athrylith. Ond mae yn debyg eu bod erbyn hyn wedi blino ar ganmoliaeth; ac y goddefant, er mwyn amrywiaeth, i ni eu hannog i amcanu yn fwy penderfynol i goethi chwaeth eu cydgenedl. Bydded iddynt ddilyn Burns, nid yn ei amseroedd gwaethaf, ond yn ei "*Cottar's Saturday Night.*" Nid ydym yn dywedyd hyn mewn ysbryd Phariseaidd, oblegid y mae yn well genym y publicanod a'r pechaduriaid gwaethaf na thwyllwyr ffug-sancteiddiol. Ond nid oes achos iddynt redeg i un eithafnod wrth ochelyd y llall; ac "nid da rhy o ddim." Er hyny, yr ydym yn rhwym o ychwanegu fod y casgliad hwn yn cynnwys llawer o ddarnau buddiol a champus.

*Y Cyfaill o'r Hen Wlad.* Dan olygiad y Parch. W. Rowlands, New York.

Nid oes un cyhoeddiad y byddwn yn ei dderbyn yn fwy llawen na'r "Cyfaill." Bydd y newyddion da o wlad bell am ein brodyr yn America yn feddyginiaeth i'n hysbrydoedd. Ac heblaw hyny, y mae yn cynnwys traethodau gwreiddiol fydd yn dangos yn eglur mai nid gwehilion y bobl, na thebyg, yw pawb sydd wedi ymfudo o Gymru i'r byd newydd. Dymunem ei gymhell yn daer i sylw ein cydwladwyr yn y Dywysogaeth.

*Wesleyaeth ac Annibyniaeth.* Gan Huw Tegai.

Gyda golwg ar y llyfr hwn, nid oes genym ond dywedyd yr un peth ag a ddywedasom yn barod am waith Mr. Rowlands, sef nad ydym yn teimlo fod galwad arnom i ymyryd yn y ddadl, gan nad yw y "Traethodydd" wedi ei fwriadu i amddiffyn plaid. Ond heb gymeryd rhan yn y ddadl, gallwn ddywedyd ein barn fod llawer o wirionedd gan y ddwy ochr, nad yw annibyniaeth yr eglwysi ac undeb cymanfaol yn milwrio *o anghenrheidrwydd* yn erbyn eu gilydd, ond y *dichon* iddynt gydsefyll a chydweithredu.

*Darlithiau ar Lyfr y Dadguddiad: a draddodwyd yn Amlwch, yn y flwyddyn 1848.* Gan Hugh Williams.

Nid yw ond ffolineb a rhyfyg i ni gymeryd arnom benderfynu rhwng y gwahanol esbonwyr ar lyfr y Dadguddiad. Er cymaint a ysgrifenwyd arno, y mae mor dywyll ag erioed. Mor bell ag yr ydym yn alluog i farnu, y mae Mr. Williams mor gywir a'r cyffredin o honynt, ac yn fwy cywir na Moses Stuart. Pa fodd bynag y mae ei ddarlithiau yn llawn o addysgiadau ymarferol, y rhai sydd wirionedd diammheuol, ac yn werth i bawb eu darllen.

*Popular Proofs of the Fallacy of Recent Government Plans for the Reform of the Superior Courts, and of the unjust application of the public taxes on which they are founded; in a letter to Lord Brougham and Vaux.* By Arthur James Johnes, Esq., Judge of the North West Wales and Aberystwyth County Courts.

Nid ydym yn proffesu gwybod ond ychydig am ddirgeledigaethau y llysoedd barn, ond yr ydym yn gwybod digon i ddeall yn dda eu bod yn sefyll mewn anghen

am ddiwygiad trwyadl. Yn ein hanwybodaeth, yr oeddym wedi tybied mai gwelliant mawr oedd y cyfnewidiadau a gynnygiwyd, ac a ddygwyd i ben mewn rhan, gan Arglwydd St. Leonards: ac oddiar y teimlad hwn yr oeddym yn gofidio na fuasai ef yn aros yn ei swydd. Ond y mae Mr. Johnes yn cymeryd golwg dra gwahanol ar y mater; a meddyliem mai ychydig sydd yn fwy cymhwys i farnu. Y mae efe yn dangos mai yr achos cynhyrfiol o'r cyfnewidiadau hyny oedd, fod y Llysoedd Siriol yn gweithio mor dda, ac yn ennill y fath gymeradwyaeth, fel yr oeddynt yn debyg o ddyhysbyddu y prif lysoedd cyfreithiol. Felly meddyliodd Arglwydd St. Leonards am wneyd y priflysoedd yn boblogaidd, trwy leihau y costau; ac i'r dyben hyny yr oedd yn trefnu fod yr holl gyflogau, a phob costau yn y priflysoedd i gael eu talu o arian y wladwriaeth, tra yr oedd yn gadael y Llysoedd Sirol i ddwyn eu costau eu hunain. Y canlyniad fydd, fod y tlodion yn gorfod talu am gyfraith iddynt eu hunain; a'r cyfoethogion yn cael yr hyfrydwch o ymgyfreithio ar draul y wladwriaeth. Y mae hyn bron yn anghredadwy; ond y mae Mr. Johnes yn rhoddi y symiau i lawr yn fanwl, ac yn dangos trwy brofion eglur nad oedd y cynlluniau diweddar am ddiwygiad cyfreithiol yn ddim amgen na thwyll ac anghyfiawnder.

"*Uncle Tom's Cabin.*"—*Aelwyd F'Ewythr Robert: neu Hanes Caban F'Ewythr Tomos.* Gyda 18 o Ddarluniau. Gan y Parch. WILLIAM REES, Liverpool. Dinbych: T. Gee.

BENDITH a fyddo ar ben Harriett Beecher Stowe. Trwy ei dwylaw hi y cafodd caethwasanaeth America yr ergyd mwyaf marwol; ac heblaw hyny, y mae wedi dwyn ystyriaethau am werth gwir grefydd yn mhob amgylchiad i lawer o gylchoedd sydd wedi bod hyd yma yn ddyeithr iddynt. Yn y *novels* cyffredin nid oedd crefydd yn cael ond triniaeth salw: ac fe allai mai y rhai goreu o honynt oedd y rhai mwyaf peryglus. Ond o'r diwedd, dyma Mrs. Stowe wedi dwyn hen egwyddorion dirmygedig y crefyddwyr i mewn i'w canol, ac yn mynu eu gwarogaeth er eu gwaethaf: ac nis gallwn wadu ei bod yn hyfrydwch mawr i ni weled gwraig, a hòno yn wraig grefyddol, yn ennill y fuddygoliaeth ar Scott, a Dickens, a Thackeray, i gyd gyda'u gilydd, ar eu tir eu hunain. Y mae Dr. Phillips, yn y "*Times,*" wedi gorfod cyfaddef fod yn rhaid i ysgrifenwyr Lloegr edrych ati, onidê y bydd yr Americaniaid yn fuan wedi myned o'u blaen. Braidd na feddyliem mai y merched sydd yno yn rhagori fwyaf. Yn eu mysg y mae un Miss Wetherell wedi cyhoeddi un o'r llyfrau mwyaf buddiol dan yr enw "*The Wide, Wide World.*" Ond y flaenaf a'r benaf o honynt oll yw Mrs. Stowe.

Y mae cyfieithiad o "*Uncle Tom's Cabin,*" yn cael ei gyhoeddi gan Cassell, dan yr enw "Caban F'Ewythr Twm." Ond dylasai yr hen frawd gael bod o leiaf yn Tom, os nad yn Tomos. Er hyny, mae y cyfieithiad yn hapus, a'r darluniau yn deilwng o Cruikshank. Yr ydym yn deall hefyd fod cyfieithiad arall yn cael ei gyhoeddi yn y Deheudir; ond ni chawsom gyfle i'w weled. Heb daflu yr anfri lleiaf ar un o honynt, gallwn ddywedyd fod neillduolrwydd yn perthyn i "Aelwyd F'Ewythr Robert," sydd yn ei wneuthur yn werth ei dderbyn hyd yn nod gan y rhai sydd eisoes wedi darllen "*Uncle Tom,*" pa un bynag ai yn Seisneg ai mewn cyfieithiad. Dichon y bydd ambell un yn beirniadu arno yn gyffelyb i hwnw oedd wedi darllen rhanau o "*Gulliver's Travels,*" ac yn sylwi yn bwysig a difrifol "nad oedd efe yn credu un gair o hono." Ond y mae ynddo wirionedd dyfnach nag a geir yn gyffredin yn y llyfrau sydd yn rhoddi y mynegiad mwyaf manwl o ffeithiau. Hen Gymro glân gloew yw F'Ewythr Robert, yr hwn a adwaenom yn dda; a gallwn dystio fod y desgrifiad o hono yn berffaith gywir. Mae yn llawen genym hefyd gael lle i gredu fod Modryb Elin, a'i hymddyddanion synwyrgall, yn adnabyddus i laweroedd yn Nghymru. Poed hir oes a hawddfyd i deulu "Hafod y Ceiliogwydd."

---

DINBYCH: ARGRAFFEDIG GAN T. GEE.

# Y TRAETHODYDD.

---

## ORIAU HAMDDENOL GYDA BEIRDD HEN A DIWEDDAR CYMRU.

Rhaid i'r ysgrifenydd gyfaddef ei fod yn dechreu ar y gwaith yr ymafla ynddo yn bresennol mewn ofn a dychryn. Teimla fod rhoddi barn deg ar feirdd a barddoniaeth yn un o'r gorchwylion llenyddol anhawddaf ag y gellir meddwl am dano. Y mae y ffaith fod gan bob dyn ei ragfarnau a'i ddewis-ddynion yn gwneuthur y gwaith yn anhawddach nag y dylai fod. Heblaw hyny, y mae chwaeth dynion yn amrywio cymaint, fel ag y mae yn anmhosibl cael dau ddyn i gydweled ynghylch teilyngdod barddoniaeth. Y mae mwy o gyd-darawiad hefyd yn ein meddwl tuag at natur athrylith rhai dynion na'u gilydd: ac y mae pob dyn diduedd yn rhwym o roddi ei farn ar gyfansoddiadau yn ol yr argraffiadau a gaiff eu darlleniad ar ei feddwl ef ei hunan. Rhywbeth yn gyfatebol i hyn a deimlir wrth ymweled â golygfeydd arddunol anian. Tybier, er anghraifft, fod pump o bersonau o wahanol oedran, dygiad i fyny, galwedigaeth, ac o wahanol chwaeth, yn dringo y Wyddfa gyda'u gilydd. Ar ol iddynt ddringo i'w chopa, dewisa un sylwi ac ymhoffi yn adeiladau penigamp Pont Menai a Phont Britannia; ymhoffa yr ail yn adfeilion hynafol a thyrau uchel castell Caernarfon; a sylwa y llall ar wyneb grisialaidd Llyn Llanberis, ar ba un yr adlewyrcha

> "Dychrys ac uthrol ochrau ysgythrawg,
> A manau crebach uwch meini cribawg;"—

pryd y boddhëir un arall yn fwy wrth edrych ar y chwarelau llechau, y rhai a ddwg i'w gof gyflawnder mawr adnoddau Cymru; ond tarewir yr olaf â syndod gan amrywiaeth y gwrthddrychau a welir, ac eangder y golygfeydd. Dywed air ynghylch afon ddolenog Menai, a'i gororau, a gair arall ynghylch prydferthwch gwerddonau ynys Môn, yr hon sydd yn amgylchynedig o bob tu gan "ddyfroedd a moroedd mawrion," neu fe allai y gwelir ef yn syllu ar yr haul yn cilio o'r golwg ac yn gwneuthur ei ymadawiad trwy ddorau aur y gorllewin; edrycha ar y

> "Nos dywell yn dystewi—caddug
> Yn cuddio 'r Eryri;
> Yr haul yn ngwely 'r heli,
> A'r lloer yn ariannu 'r lli."

Ac fel y mae gwahanol olygiadau gan ddynion am olygfeydd anian, felly y canfyddwn yr un amrywiaeth yn ngolygiadau beirniaid am gyfansoddiadau barddonol. Ond cyn myned ymhellach, dymunwn i'r darllenydd ddeall, pa beth bynag a ddywedir genym am feirdd ein gwlad, ein bod yn gwbl annibynol arnynt oll. Nis gwyddom beth yw casau yr

un o honynt, ac ychydig o'u nifer a'n hanrhydeddodd erioed â'u cyfeillgarwch. Os oes genym fwy o serch a hoffder at rai o honynt na'u gilydd, crewyd y teimladau hyny yn gwbl wrth ddarllen eu cyfansoddiadau, ac nid trwy unrhyw gydnabyddiaeth bersonol â hwynt.

Anturiwn ddyweyd, wrth ddechreu, fod yr oes hon wedi cynnyrchu llawer mwy o farddoniaeth dda nag o feirdd gwir athrylithgar. Y mae y wasg Gymreig wedi bod yn fwy toreithiog o gyfansoddiadau barddonol yn ddiweddar na'r un cyfnod arall er's canrifoedd. Er fod ysgrifenydd a welsom yn ddiweddar wedi nodi allan 97 o feirdd yn ei daflen, eto credwn pe yr esgynent oll gopa Olympus i gael eu pwyso yn nghlorianau cywir Jupiter, y disgynai eu naill hanner, a mwy na hyny, wedi eu pwyso, yn fyr o'r hawlfraint hon. Y mae yn wir fod barddoniaeth wedi eangu ei therfynau yn ein mysg—ac wrth edrych yn ol i'r blyneddau diweddaf, gwelwn fod enwau anrhydeddus, a dynion gwir farddonol, wedi dringo copa Parnassus. Yn bur ddiweddar y cyhoeddwyd Pryddest Filtonaidd Eben Fardd ar yr Adgyfodiad. Darfu iddo yn y cyfansoddiad hwn ymddysgleirio ymhell uwchlaw iddo ei hunan. Ac os rhydd i bob dyn ei farn, gallem ni dybied fod y dernyn arddunol hwn uwchlaw i ddim a gyhoeddwyd yn ein iaith er amser Dewi Wyn. Nid efe ychwaith ydyw yr unig fardd o fri a wnaeth ei ymddangosiad yn ddiweddar yn y Dywysogaeth. Beth am enwau dysglaer Gwilym Hiraethog, Caledfryn, Glan Geirionydd, Ambrose, a Gwalchmai? Y mae yr awdwr cyntaf yn un o'r *prodigies* rhyfeddaf a ymddangosodd yn ein hoes. Addefa pawb mai efe yw y darlithydd penaf yn Nghymru, heb fod anghen i wneuthur eithriadau. Ac nid ydyw yn ol i'r penaf ychwaith fel pregethwr. A chredwn fod ei enw mor ddysglaer ag Eben fel bardd cyn i'r awenydd o Glynog gyhoeddi ei bryddest ar yr Adgyfodiad. Ond ar ddalenau yr "Amserau" yr ymddysgleiriodd Gwilym Hiraethog fwyaf erioed. Dangosodd yma, uwchlaw ammheuaeth, mai efe ydyw ysgrifenydd mwyaf talentog Cymru ar wleidyddiaeth. A dywedwyd wrthym ei fod, er ei holl ymyraeth â llywodddysg drwy y blyneddau, mor efengylaidd yn yr areithfa yn awr ag erioed. Ar ol enwi y beirdd uchod, ychydig iawn sydd yn y Dywysogaeth a deilyngant eisteddle yn nghadeiriau Dafydd ap Gwylym, Dafydd Ionawr, a Dewi Wyn. Llwyddodd y Dryw rywfodd i gael y gader yn eisteddfod Dinbych; ond rhaid iddo gael gwell ysgolion na'i awdl ar "Elusengarwch," a'i "Longddrylliad," cyn y gall esgyn i gader y bardd o Eifion. Y mae rhai beirniaid yn credu yn ymddangosiad pedwar neu bump Dewi Wyn. Difyrir ni yn fawr weithiau wrth eu clywed yn cymharu nifer mor lliosog â bardd y Gaerwen. "O," meddai un, "dyma bryddest mor awenyddol ag awdl Dewi Wyn ar 'Elusengarwch.'" "O," meddai y llall, "dyma farddoniaeth a ddeil ei gymharu â chyfansoddiadau goreu y bardd Gwyn." Ond nis gallwn ni gredu ond mewn ymddangosiad *un* Dewi Wyn. Nid yw natur ddim llawn mor haelionus a hyn o'i heuliau. Rhaid i *un* "brenin y dydd" ddigoni i oleuo *un* gyfundrefn. Y nefoedd yn unig a ŵyr amledd ei ser—nis gall yr un seryddwr eu rhifo. Ychydig hefyd, mewn cymhariaeth, ydyw rhifedi ser-eneidiol ein daear ni; ac ni raid wrth sylldrychau y seryddwr, na'i wybodaeth, i'w henwi. Pwy erioed a glywodd am ddau Homer—am ddau Shakspeare—am ddau Filton—am ddau Dafydd Ionawr? Ac ni chlywir byth ychwaith am ddau Dewi Wyn.

Dylai pawb ag sydd yn caru y Prydferth, yr hwn sydd anfarwol, ddiogelu

rhag llygriad ac ebargofiant holl weddillion a rhelyw ein hynafiaid. Cymerwn ofal rhag colli y "Mabinogion," "Trioedd y Beirdd," gemau Cattwg Ddoeth, ac yn neillduol cynnyrchion boreuol ein beirdd enwocaf. Cadwer hwynt yn ofalus yn ein cysegrfaoedd sancteiddiolaf "hyd enyd marwnad anian." Oblegid nid marw mo awdwyr y gweddillion hynafol hyn. Clywir eu lleisiau, er rhoddi eu cyrff yn y gweryd, yn llefaru trwy eu hawdlau yn yr oes hon. Cariwyd seiniau gorbruddawl barddoniaeth Llywarch Hen, chwarddiadau nwyfus Sion Tudur, a phrophwydoliaethau arddunol Taliesin, ar awelon hanesyddiaeth y cynoesoedd i lawr i'r bedwerydd ganrif ar bymtheg.

Fe allai mai nid anfuddiol fyddai taflu golwg fer ar hanes rhai o'r cynfeirdd hynotaf cyn myned ymhellach. Y cyntaf a enwir genym fydd Aneuryn Wawdrydd. Fe'i ganed ef yn nechreuad y chweched ganrif, a dywedir ei fod yn fab i un o dywysogion Cymru. Dygwyd ef i fyny yn ieuanc i gario 'r cledd, ac fe hynododd ei hunan yn fawr yn mrwydr Cattraeth yn erbyn y Seison. Ond er ei holl ddewrder a'i fedrusrwydd fel rhyfelwr, collodd ef a'r Brythoniaid y dydd. Cymerwyd ef yn garcharor, a dodwyd ef mewn daeardŷ, lle y dyoddefodd lawer mewn cadwynau hyd yr adeg y gollyngwyd ef yn rhydd trwy offerynoliaeth Cenan, mab yr hybarch Llywarch Hen. Dyma yr adeg yr ymneillduodd i Ddeheudir Cymru, ac y trigodd am yspaid yn Glasgor Batog, yn Llancarfan, lle y cyfansoddodd ei brif orchestwaith barddonol—"Y Gododin." Dywedai un Sais am y dernyn a ganlyn, a gyfieithwyd o'r "Gododin," ei fod yn dwyn i'w gof arddull Homer o farddoni:—

"To Cattraeth's vale, in glittering row,
Twice two hundred warriors go;
Every warrior's manly neck
Chains of regal honor deck;
Wreath'd in many a golden link,
From the golden cup they drink
Nectar, the bees' produce,
Or the grape's extatic juice;
Hushed with mirth, and hope they burn;
But now from Cattraeth's vale return,
Save Aeron brave, and Cenan strong
(Bursting through the bloody throng),
And I the meanest of them all,
That live to weep and sing their fall."

Cawsom yn ddiweddar gyfleusdra i ddarllen y "Gododin" yn y Gymraeg, ond anhawdd dros ben oedd deall ystyr yr awdwr, oblegid ei aneglurdeb. Y mae y gwaith hwn gan yr awdwr yn ddyrus oblegid hynafiaeth ei briodiaith (*dialect*), yr hon sydd fath o gymysgfa o Wyndodeg (*Vendotian*) a Chernyw. Ond yr achos mwyaf o hyn, y mae yn debyg, ydyw diffyg hysbysrwydd a gwybodaeth o'r ffeithiau a gofnodir. Y mae ei gyfansoddiadau yn gyffredin yn cynnwys natur bur, yn anghymysgedig â dysg, fel gweithiau Taliesin. Darfu yr olaf gyfoethogi ein iaith â phump o fesurau newyddion, ond dilynai y blaenaf yn fanwl ddull y Derwyddon o farddoni, gan ddiweddu ei awdlau yn fynych â doetheiriau. Ysgrifenai mewn dull eglur a thoddedig, heb ymgais at addurniadau na chywreinrwydd. Rhydd hanes yr amgylchiadau fel y cymerasant le, heb eu cymysgu â ffugwaith, ac heb arddangos dim crebwyll. Ond er ei holl ddiffygion, fel bardd a darfelydd, cofir am Aneuryn Wawdrydd tra byddo Cymru, Cymro, a

Chymraeg. Cyfarfyddodd â'i farwolaeth yn y flwyddyn 570, trwy ddwylaw gwaedlyd cudd-lofrudd.

Yr enwocaf o'r beirdd hyn, fe allai, ydoedd Taliesin. Bernir yn gyffredin ei fod yn cydoesi âg Aneurin. Y mae ansicrwydd mawr yn bodoli ynghylch amgylchiadau ei enedigaeth. Nid ydyw yr hanes sydd genym ni am ei ddyddiau boreuol amgen na ffugchwedlau. Dywedir iddo gael ei ddarganfod yn fuan ar ol ei enedigaeth mewn argae pysgota, ar gyffiniau Ceredigion, mewn basged, yn gyffelyb fel y darganfyddwyd Moses yn y llafrwyn. Dygwyd ef i fyny gan Gwyddno, tywysog y rhan hòno o'r wlad. Treuliodd y rhan fwyaf o'i oes yn Nghlasgor Catog, lle y ffurfiodd gyfeillgarwch âg Aneurin. Symudodd oddiyno i sir Gaernarfon, lle y bu farw, yn y flwyddyn 570. Ymddengys fod ei gyfansoddiadau yn lliosog. Dywedir fod oddeutu wyth cant o honynt ar glawr. Y mae ei destunau yn amrywiol, ond y rhan fwyaf o honynt ydynt grefyddol, hanesyddol, a galarnadol. Ymddengys mai math o gymysgfa o Dderwyddiaeth a Christionogaeth oedd ei gredoau, yr hyn a brawf ymddangosiad boreuol Cristionogaeth yn Mrydain.

Nodwn yn nesaf un oedd mor hynod fel rhyfelwr ag oedd fel bardd—Llywarch Hen. Gan ei fod yn fab i dywysog, dysgodd yntau i ymarfer âg arfau rhyfel yn ieuanc. Bu hefyd, fel Aneurin, yn mrwydr Cattraeth, canlyniadau anffodus pa un a'i gorfododd i ffoi i lys Cynddylan, yn Pengwern (*Shrewsbury*). Efe ydoedd tywysog Powys y pryd hwnw. Nid arosodd yma hyd ddiwedd ei oes, oblegid cawn ei fod yn cyfansoddi caniadau cwynfanol ar ei ymddifadrwydd o gartref a chyfeillion i'w gysuro. Bu farw, mewn oedran teg, yn Llanfawr, gerllaw y Bala, ar ol colli un ar ddeg o'i feibion ar faes y frwydr.

Y mae deuddeg o'i gyfansoddiadau barddonol ar gael. Y mae chwech o honynt yn hanesyddol, a'r gweddill ar destunau moesol ac amrywiol. Cynnwysant oll syniadau pruddglwyfus a gorgwynol. Ac nid rhyfedd fod ei awen yn arlloes cymaint o ddyfroedd Mara, pan ystyriom iddo gyfarfod â siomedigaethau mor chwerwon yn ei ddydd. Dyddiau galar oedd y dyddiau hyn i'n tadau, pan oedd eu tywysogion yn gorfod dianc o flaen eu gelynion. Yr oedd harddwch wendeg Prydain wedi ymadael, ac yr "oedd ei thywysogion hi fel hyrddod heb gael porfa, ac yn myned yn ddinerth o flaen yr erlidiwr." Nid rhyfedd gweled ein bardd ar lanau Dol Giog yn tywallt ei galon mewn galarnadau, "oblegid pellau oddiwrtho ddyddanwr a ddadebrai ei enaid; ei feibion oeddynt anrheithiedig am i'r gelyn orchfygu." Cyfarfyddasom â'r cyfieithiad llythyrenol hwn o un o'i bennillion, a gyfansoddodd pan oedd yn trigo mewn bwthyn bychan ar lan Aber Ciog (yn awr Dol Ciog):—

> "The birds sing, loud is the cry
> Of the strong-scented hounds in the desert:
> Again the birds are heard to warble.
>
> The birds sing, the brooks murmur,
> The moon shines out, it is the cold hour of midnight;
> And my heart droops under its lingering cares."

Rhagorai fel bardd wrth ddesgrifio yn dorcalonus adfeiliaeth wladwriaethol cenedl y Cymry. Treuliodd ei oes, nid i fwynhau cysuron bywyd, ond i alaru ac i dywallt dagrau, wrth son am ogoniant hen gyfreithiau a thywysogion yr amser gynt. Nid gwerth oedd ganddo son am ddim ond

am orchest-gampau ei gyd-filwyr lladdedig. Nid ydyw ei weithiau ond math o ymgomiad â'u hysbrydoedd ymadawedig. Ymddengys fel pe byddai yn ymgyfathrachu â hwynt mewn manau unigol, o dan gysgod hen dderw, pan bydd y cymylau uwch ben yn ddu-lonydd. Ofna adrodd ei gyfrinach wrthynt ond pan y bydd goleu oer y lloer yn taenu ei lewyrch egwan trwy gysgodion hen furddynod, lle y gwelir yr ysgallen yn chwifio ei dalenau barfog o flaen yr awelon crwydredig, a lle na bydd neb yn bresennol ond ambell i lwynog newynllyd yn cil-edrych arnynt o ben hen dŵr adfeiliedig. Dyma y fan, a dyma y lle, y gwelir ef yn cyweirio tànau ei delyn, ac yn cymysgu ei geinciau pruddglwyfus â sî yr awelon gorgwynol.

Ar ol marwolaeth y beirdd uchod, nid oes genym hanes am un bardd o fri hyd amser Dafydd ap Gwilym. Ganed ef mewn lle o'r enw Bro Ginin, ger Aberystwyth, Ceredigion, yn y flwyddyn 1340. Dywedir iddo yntau hanu o âch pendefigaidd. Ar ol treulio ei ddyddiau maboed yn lled ofer, cawn iddo fyned, pan yn ieuanc, i drigo i Bassaleg, yn sir Fynwy, lle y mwynhaodd garedigrwydd a chyfeillgarwch Ifor Hael, yr hwn oedd berthynas agos i'w dad. Ymddengys iddo yn fuan ennill ffafr ac ymddiried ei noddwr, fel y penodwyd ef ganddo i fod yn oruchwylydd ac yn athraw i'w ferch. Ond yn lle ei hyfforddi yn elfenau dysgeidiaeth, cawn fod ein bardd yn fuan yn gwneuthur argraffiadau lled ddwfn ar ei chalon a'i serchiadau. Daeth hyn i glywedigaeth tad y foneddiges ieuanc, ac anfonwyd hi mewn canlyniad i hyny i fynachdy, yn ynys Môn, allan o'i gyrhaedd. Ond nid hir y bu yno cyn i Dafydd ei herlyn. Cyflogodd ei hunan i wasanaeth abatty cyfagos, lle y treuliodd ei ddyddiau a'i nosweithiau i gyfansoddi 147 o gywyddau penigamp i'w Forfudd. Ond ymddengys iddo fod yn aflwyddiannus yn ei ymdrechion carwriaethol, er melused ei ganiadau. Dychwelodd yn ol i'r Deheu, ac etholwyd ef yn fuan i gader Morganwg. Dywedir y perchid ef yn fawr yno yn herwydd ei gymeriad uchel fel bardd. Croesawid ef i balasau uchelwyr y wlad. Treuliodd y rhan ddiweddaf o'i oes yn ei ardal enedigol, a bu farw yn y flwyddyn 1400.

Y mae ei weithiau yn lliosog dros ben. Dywedir iddo gyfansoddi mwy na 260 o ganiadau ar amrywiol destunau; ond yr oedd y mwyafrif o honynt yn ganeuon serch—oll yn heddychus eu tueddiadau, o nodwedd nwyfus, flodeuog, eofn, ac yn wisgedig mewn iaith ddelaid a thoddedig.

Try y ser hyn yn eu *zodiac* hyd heddyw. Pelydra eu goleuni yn ffurfafen y nefoedd yr un mor ddysglaer yn awr a channoedd o flyneddau yn ol. Ond, attolwg, yn mha gongl o'r eangder y cylchdroa y lampau euraidd hyn? Draw fry uwch ein penau y gwelir y gemau dysgleirwych, yn amgauedig mewn rhan glaer o'r nwyfre asur; oll yn ymddangos ar ffurf deirongl. Taliesin ydyw y seren—ucheledd; Llywarch Hen ydyw Mawrth—duw rhyfel; a Dafydd ap Gwilym ydyw Gwener—duwies y serchiadau. Y rhai hyn oeddynt y tri cedyrn cyntaf o'n beirdd hynafol. Cawn Aneiryn, Myrddyn, Meilir, Gwalchmai ap Meilir, Cynddelw, a Sion Tudur, ymhlith y cadbeniaid; "ond ni chyrhaeddodd y rhai hyn y tri chyntaf." Bu arglwyddi eraill yn rhagori yn y gân, cyfansoddiadau pa rai a aethant ar ddifancoll, naill ai oblegid esgeulusdra ein tadau, neu ynte o ddiffyg chwaeth i ddarganfod eu rhagoriaethau. Yn nghyfraniad gwobrwyon am deilyngdod, gwelir yn fynych lawer o anghyfiawnder. Pwy all wadu gwirionedd dywediad y gwr doeth am y peth hwn, "Nid yw y rhedfa yn

eiddo y cyflym, na'r rhyfel yn eiddo y cedyrn, na ffafr yn eiddo y cyfarwydd, ond amser a damwain a ddygwydd iddynt oll."

Cawn fod nifer ein beirdd diweddar yn dra lliosog. Yma "llu a'n gorfydd." Yn eu plith ymddysgleiria enwau Llywelyn a Goronwy Ddu o Fôn, William Wyn, Twm o'r Nant, Dafydd Ionawr, Dafydd Ddu, Dewi Wyn, Iolo Morganwg, Daniel Ddu, Gutyn Peris, Robert ap Gwilym Ddu, &c. &c.

Rhaid i ni gyfaddef nas gallwn restru Llywelyn Ddu mewn un modd gyda'r prif feirdd. Nid oes dim ammheuaeth nad oedd yn un o'r Cymry mwyaf dysgedig yn ei oes, fel y dengys y swyddau pwysig a lanwodd dan y llywodraeth. Dygodd Goronwy dystiolaeth uchel i'w gyrhaeddiadau a'i wybodaeth yn ei farwnad iddo ar ei farwolaeth. A dengys ei nodiadau ef ei hunan i "Gywydd y Farn," gan Goronwy, yr un ffaith. Ni raid i'r darllenydd dysgedig ond eu darllen na chenfydd ei wybodaeth eang a chyflawn o'r uchawduron. Y mae yn ddiammhau hefyd ei fod yn arebydd (*wit*) heb ei ail mewn unrhyw oes yn y Dywysogaeth, fel y dengys ei bapyrau ynghylch "Bol haul," yn gystal a'r rhan fwyaf o'i ganeuon. Y mae ei "Ganiadau i Felinydd Meirion" yn deilwng o ddoniau gwatwarus Swift, Pope, ac Addison. Ond y mae genym un peth yn ei erbyn ag sydd yn ddigon i'w gollfarnu yn ngolwg pob dyn rhinweddol—ei anfoesgarwch. Y mae "Cywydd y Bais," a "Deg gorchymyn y Priodasfab ieuanc," mor aflan a dim yn yr iaith, ond caneuon Twm o'r Nant. Nis gallwn ganmol tueddiad ei "Ganiad i Fugail Tregaron." Ymfoddlona ar ddarluniadau isel a gwatwarus o ymddygiadau gorwael, a budreddi brwnt y masweddol. Yn ei holl ganeuon, cyflawna ei amcan os gall greu gwên ar y wyneb wrth ddarlunio yn gellweirus y cybydd, y penrhydd, a'r oferddyn. Ychydig iawn hefyd sydd o grybwylliadau yn ei farddoniaeth o serchiadau tyner y natur ddynol. Anfynych y darlunia olygfeydd arddunol anian, ac y mae ei annogaethau i gyflawni dyledswyddau bywyd mor anfynych ag ymweliadau angelion. Diraddia a difenwa y gwehilion ar draul iselhau ei hunan. Os gall boenydio ei ysglyfaeth, ni ofala beth a dybir o'r dirdynwr; neu, yn hytrach, ymfoddlona os gall wneuthur ei wrthwynebwr yn ddigon adgas, heb ofalu faint o'r budredd a lŷn wrth ei ddwylaw ei hunan. Nis gallwn mewn modd yn y byd ei ystyried yn fardd gwir enwog. Ni ddymunem ddiraddio Goronwy trwy ei gymharu âg ef. Er fod ei enw fel bardd yn fwy hysbys na'r un o'i gyfoeswyr, oddieithr Goronwy Ddu, eto nid yw ei awen ddim mor arddunol a William Wyn, ddim mor addfed ag awdwr "Molawd Môn," nag ychwaith mor ddillynaidd a'r Bardd Coch.

Nis gallwn lai na choleddu syniadau uchel am feirdd y cyfnod hwn. Dengys cyfansoddiadau rhai o honynt fwy o gydnabyddiaeth â gweithiau yr uchawduron na neb o'u hynafiaid na'u holafiaid. Y mae genym bob lle i gasglu oddiwrth weithiau y Prydydd Hir, ei fod nid yn unig yn gydnabyddus âg *enwau* beirdd Groeg a Rhufain, ond hefyd â'u *gweithiau*. Cyfansoddodd draethawd pur ddysgedig ar feirdd Cymru yn Lladin.[1] Cawn efelychiadau hapus o rai o linellau Anacreon a Homer yn rhai o weithiau William Wyn. Ond Goronwy Ddu ydoedd y bardd dysgedicaf o'i holl gyfoeswyr. Cawn yn yr argraffiad cyntaf o'r "Dyddanwch Teuluaidd" bump o efelychiadau campus o Horace ac Anacreon. Cyfieith-

[1] Gweler ei argraffiad o "*Specimens of Welsh Poetry*."

wyd amryw ddarnau i'r Cymraeg o'r uchawduron gan feirdd diweddar; ond credwn y bu yn dda iddynt oll wrth gyfieithiadau Dryden, Pope, a Cowper yn y gwaith. Cyfansoddodd Goronwy dair neu bedair o gyfansoddiadau gwreiddiol yn Lladin ar dri o wahanol fesurau—y *pentameter*, yr *hexameter*, a'r *saphic*. Y mae y mesur diweddaf yn gofyn braidd gymaint o gywreinrwydd i gyfansoddi yn Lladin ag a wna mesurau cywydd i'r bardd Cymreig. Prawf hyn, uwchlaw ammheuaeth, ei wybodaeth ddwfn a manylaidd o'r mydrau a ddefnyddir gan Horace. Y mae yn rhaid ei fod yn eu deall yn drwyadl, gan ei fod yn cyfansoddi mor llithrig ynddynt. Treiddia i'w hysbryd a'u peroriaeth (*melody*) yn debyg fel y gwna ein beirdd ieuainc i gynghaneddion ein cynfeirdd. Y mae yn debyg iddo dalu sylw neillduol i'r gangen hon o ddysgeidiaeth pan yn Rhydychain. Yr oedd cyfansoddi yn Lladin yn beth pur gyffredin y pryd hyny yn y prifysgolion—yn fwy felly nag yn bresennol. Gallai Milton, Addison, a Buchanan, farddoni mor ystwyth braidd yn Lladin ag yn y Seisneg. Ychydig o feibion yr awen yn Nghymru a gyrhaeddodd y fath wybodaeth fanylaidd o'r ieithoedd dysgedig. Prawf y sylwadau uchod, uwchlaw ammheuaeth, mai nid dynion o gyrhaeddiadau cyffredin oedd beirdd y cyfnod tan sylw. Ac heblaw eu bod yn ysgoleigion gwell na'n beirdd diweddaraf, yr oeddynt hefyd ar yr un pryd yn ddynion gwir athrylithgar ac awenyddol. Hynodent yn ngwreiddioldeb eu ehediadau yn fwy, fe allai, nag yn eu hysgoleigdod. Ceir desgrifiadau yn "Nghywydd y Farn," gan William Wyn, yn dangos prydydd-nwyd fanylaidd, a meddylddrychau barddonol dros ben. Beth bynag a ddywedir am annaturioldeb un linell yn y desgrifiad a ganlyn o'r farn, ceir ynddo rymusder anarferol:—

"Utgorn nef yn dolefain,
Y ser a glywant ei sain;
Traidd ei nerth trwodd i nen,
Traidd eirias trwy 'r ddaearen,
A marwor trwy 'r gloywfor glas,
Mor a thân a ammherthynas!
Traidd afrifed blanedau,
Traidd uffern a'r gethern gau;
Haul a hyllt garw—wyllt ei gur,
Yn friwsion o'i fro asur,
A'i anolo wan eilyn
*Y lloer anwadal ei llun.*
Cwymp y ser ar ddisperod
O wawl a nerth i wael nod;
Taranau trwy sygnau 'r sant,
Terwynion a'u trywanant,
Terwyn grym pob taran gras,
Trwy 'r yri tery 'r eirias:
Rhed filfil rhawd ufelfellt,
Rhua drwy 'r main rheieidr mellt."

Ond rhaid cyfaddef mai Goronwy oedd y seren ddysgleiriaf a ymddangosodd yn y ffurfafen lênyddol y pryd hwnw. Dengys ei "Englynion i Elis Gowper" ei fod yn meddu arabedd yn ail i Llywelyn Ddu. Anfynych y cyfarfyddwn â sylwadau mwy synwyrgall a chraffus na'r rhai hyn:—

"Cenfigen ac Awenydd
Yn mhob llin, finfin a fydd;
O dwf llawn, dwy efell ynt,
O chredi dwy chwaer ydynt;
Dwy na wnaed i dynu 'n ol,
Dwy ydynt, pwy a'u didol?
*Ni wneir o fron anaraul*
*Ond cysgod, er rhod yr haul.*"

Prawf hanes y beirdd yn mhob oes y ffaith a adrodda. Pwy sydd heb wybod am yr eiddigedd a goleddai Pope ac Addison at eu gilydd? Beiid Steele a Swift am yr un trosedd. Ysgrifenwyd y "*Vision of Judgment*" gan Byron a Southey o dan lywodraeth yr un teimladau. Yr oedd yn rhaid i olygwyr gweithiau Dafydd Ionawr addef nad oedd ef a Dafydd Ddu ddim yn eithriadau i'r rheol hon. A gŵyr pob Cymro am serchogrwydd [?] Dewi Wyn at Gutyn Peris, y Dryw, Iwan, ac Idrison.

Yr oedd Goronwy yn fardd cyflawn iawn. Rhagorai yn mhob dull

braidd. Onid oes rhywbeth yn dra thoddedig a thorcalonus yn ei atebiad cyntaf i "Gywydd y Bardd Coch," ynghylch ei ddwfn hiraeth am

"Fôn gu fam gwlad ei dadau:—

"Y lle bum yn gware gynt
Mae dynion na'm hadwaenynt;
Cyfaill neu ddau a'm cofiant—
Prin ddau lle 'r oedd gynau gant."

Darllener ei gywydd i ateb cywydd y Bardd Coch yn y flwyddyn 1756, a dechreuer yn llinell 140. Cawn yma feddylddrychau anturiaethus, a syniadau prydferth a dillynaidd. Er nad oes genym ond ychydig o gyddeimlad â llyffetheiriau y pedwar mesur ar hugain, eto nis gallwn lai na synu at ei feistrolaeth arnynt yn ei "Farwnad i Llywelyn Ddu." Yma dawnsia ei linellau gan ei llithrigrwydd, tra y cedwir y synwyr yn gyflawn, a'r meddyliau yn ddwys ac effeithiol. Ond "Cywydd y Farn" a anfarwolodd enw Goronwy. Y mae ei amgyffredion ar y testun yn fwy dwfn na'r eiddo William Wyn, ei grebwyll yn fwy nerthol, a'i feddyliau yn fwy eang a choethedig. Dywed un yn dra hapus am William Wyn, wrth ei gymharu â Goronwy, "ei fod yn dangos mwy o egni, ond llai o rym; mwy o drydaniaeth, ond llai o oleuni a gwres."

Yr oedd oes Goronwy yn oes gyfoethog o feirdd gwir deilwng. Yr ydym ni rhy barod i edrych ar ei gyfoeswyr fel cynnifer o gorynod yn troi o amgylch un Samson. Ond nid felly yr ystyriai Goronwy hwynt.

"Mae Alaw? mae Caw? mae cant?
Mae miloedd mwy eu moliant?
Pwy a rif dywod llifon?
Pwy rydd i lawr wŷr mawr Môn?"

Y mae yn wir ei fod ef yn uwch o'i ysgwydd i fyny na neb o honynt; eto, "yr oedd cewri eraill yn y dyddiau hyny" heblaw Goronwy Ddu. Dywedai Wordsworth am Milton, "fod ei enaid fel seren yn byw ar wahân." Ond nis gellir dyweyd hyny am Goronwy. Yr oedd ef yn "seren oleu"—yn "huan mawr," fel y dywedai Dewi Wyn am dano; eto ymddysgleiriai mewn cylchdro yn mysg lliosogrwydd o ser claerwych eraill.

Ond i fyned ymlaen. Pan groesodd y beirdd uchod ddyfroedd yr hen Iorddonen—pan gymerwyd hwynt yn yspail gan frenin y dychryniadau, cymerodd cyfnewidiad pwysig le yn null ein beirdd o farddoni. Cyfansoddent ar amryw fesurau, heb reol, iaith, chwaeth, na thlysni. Aethant o un eithafion i'r llall. Pan deimlasant eu traed yn rhyddion o lyffetheiriau y gynghanedd, tynasant i lawr y muriau cyfreithlawn oedd yn sefyll rhwng barddoniaeth a rhyddiaith. Gwnaethant fesurau cerdd yn garneddau; a dawnsiasant fel meirch gwylltion ar yr adfeilion. Taflodd y coegchwareuon (*interludes*) yr awdlau i'r cysgodion. Ni chlywid mwyach sŵn "corn mingorn mawr" Goronwy yn galw yr oes i fod yn barod i'r farn; ond yn lle hyny clywid ysgrechiadau dylluanaidd y "Groglais o'r Groglofft." *Interludes* Twm o'r Nant oeddynt oraclau bywiol ieuenctyd ein gwlad y pryd hyny, yn lle dewis-gerddi Selyf a'r beirdd ysbrydoledig. Gelwir Twm o'r Nant yn "Shakspeare Cymru" gan Brutus. Crybwyllir yn barchus am dano gan Mr. Rees, yn ei ddarlithiau diefelydd ar Williams o Bant-y-celyn; a diammhau ei fod yn ddyn o athrylith mawr, ac o arabedd barod, ond credwn ar yr un pryd mai gwaith lled beryglus ydyw talu cymaint gwarogaeth i enw Twm o'r Nant. Ni phetruswn ddyweyd y bu

ei *interludes* yn fwy llwyddiannus na dim cyffelybiddynt i anfoesoli cenedl y Cymry. Nid ydym yn gwybod am ddim mewn unrhyw iaith mor isel, serthus, trythyll, ac aflan, a rhai o'i wag-chwareuon. Casglwn oddiwrth hanes ei fywyd ganddo ef ei hun, yn gystal ag oddiwrth ei brydyddiaeth, iddo fyw bywyd gwrthun, a dilyn llwybrau tra gŵyrgam. Siaradai am y rhyw fenywaidd bob amser yn y dull mwyaf anfoesgar a dirmygus. Difrïai hwynt oll fel rhywogaeth, heb wneuthur eithriadau, gan eu hystyried yn annheilwng o'r ymddiried lleiaf. Dystrywiai ein crediniaeth yn niweirdeb pob morwyn, ac ammheuai onestrwydd pob gwraig. Nis gallwn lai nag ystyried y fath grybwylliadau yn annyoddefol, yn neillduol pan gofiom aflendid y gŵr ar yr orsedd. Pa wyneb oedd ganddo ef i siarad am y rhyw deg yn y fath ddull ysgeler, pan y dywedai ef ei hun iddo ddilyn arferion mor benrhydd? Pwy all lai na ffieiddio anlladrwydd ei goegchwareuon? Y mae "*Don Juan*" gan Byron yn ddihalog pan y cyferbynir hi â'i "Farddoneg Babilonaidd," neu "Weledigaeth Cwrs y Byd." Darlunia, yn y llyfryn hwn, y golygfeydd mwyaf aflan heb wrido. Cawn wên ar ei wyneb bob amser wrth ddarlunio cwymp y wyryf. Sieryd am y twyllwr hudolus fel y siaradai gŵr am ei gyfaill.

Nid oes dim ammheuaeth nad oedd Twm o'r Nant yn ddyn o dalentau dysglaer. Ond rhaid addef hefyd mai *fel difrïwr mawr* yr anfarwolodd efe ei enw. Bu yn fwy llwyddiannus yn y gelfyddyd hon na neb dyn arall a fu o'i flaen nag ar ei ol yn y Dywysogaeth. Cablodd wŷr llen a gwŷr lleyg, heb gael ar ei galon ganmawl braidd neb un amser. Chwarddai a dirmygai yr isel yn well na neb, ond yn mha gerdd neu gân y dangosodd hoffder mawr at foesoldeb a rhinwedd? Difrïaeth oedd ei gleddyf, ei darian, a'i wobr mawr iawn. Yr oedd ei gymeriad mor amddifad o ysbryd cariad ac anrhydedd ag ydoedd ei galon o egwyddorion pur a rhinweddol. Dygodd y prydydd ei hunan i fyny i fod yn gablwr diefelydd. Meddiannai feddwl grymus, cyflym, a chraffus—arabedd barod—gwatwareg bigog—arddull hyf a phoblogaidd—calon oer—tymherau dialgar—heb ddim cydwybod—heb ddim cysondeb—heb ddim lledneisrwydd mewn chwaeth na theimlad: mewn gair, yr oedd yn feddiannol ar gyflawnder o'r holl ddelweddau hyny a wna *gablwr penigamp*.

Ceir llawer mwy o lachar (*gleams*) ffraethineb nag o wynias teimladau dwfn yn ei ganeuon, a llawer mwy o wreichion arabedd nag o ffaglau melldenawl athrylith. Ni welir mohono un amser fel y wenynen yn troi o amgylch y rhosynau a'r aeron, yn casglu mel i'w ddarllenwyr; gwell ganddo ef ymdreiglo gyda'r hwch yn y dom. Nid oes dim yn urddasol yn ei ymosodiadau ar gymeriadau. Llwydda i ddallu ei wrthwynebwyr, nid trwy ymresymu â hwynt, ond trwy daflu llaid i'w eu llygaid. Nid ymgeisia mewn un modd ddyrchafu plant y tomenau, ond edrycha ar ei gydgreaduriaid wedi anghofio eu dynoliaeth dan chwerthin, yn lle eu dwyn ar ei ysgwyddau "o'r pridd tew a'r clai tomlyd, a gosod eu traed ar y graig." Ymdebyga ef yn fwy i Cam nag i Sem a Japheth, pan y cyferfydd â dynoliaeth yn dwyn delw yr anifel.

Y mae ei ddullwedd yn ei ganeuon yn fynych yn lled rymus, ond bob amser yn ddychrynllyd o afreolaidd, heb ofalu am gadw at fesur, iaith, na chynghanedd. Prin y ceir un linell brydferth, yn dangos y graddau lleiaf o chwaeth, yn ei holl weithiau. Pentyra eiriau Seisneg ynddynt, heb gaboli dim ar ei linellau. Anfynych y defnyddia air na chlywir ef yn

ngenau y gwladwr mwyaf mynyddig. A dyma 'r achos, fe allai, ei fod yn fwy adnabyddus ymhlith y dosbarth iselaf ac anwybodusaf na neb o'n beirdd. Cyfansoddodd ogan-gerddi a phennillion tuchanllyd, a gofir ac a genir gan bob lleban ag sydd yn ddigon o ddyn i dyngu a rhegi. Ond ychydig iawn sydd ynddynt o enaid yr awen. Ni cheir dim mwy o farddoniaeth yn ei ganeuon nag mewn iaith rydd. Nid oes dim ammheuaeth na theimlir y colynau sydd ynddynt wrth ddefnyddio y gynghanedd yn fwy ne phe buasent mewn rhyddiaith. Ychwanegir yn fawr weithiau at lymder yr archoll trwy adnodi cymhendod mewn mesur cerdd yn fwy nag mewn rhyddiaith. Tybia rhai iddo fod o wasanaeth dirfawr i achos Ymneillduaeth yn Nghymru. Siaredir am ei awen fel "llif ddanneddog," oblegid ei ymosodiadau echryslawn ar offeiriadon anfoesol ac erlidgar Eglwys Loegr. Ond er fod genym gymaint o zel tros egwyddorion Ymneillduaeth a neb pwy bynag, eto nis gallwn mewn un modd gredu i ni dderbyn dim cynnorthwy o law Twm o'r Nant i ledu ein hegwyddorion. Gwell genym ni weled dynion yn peidio gadael muriau yr hen Lan, os mai trwy gabledd y gwnaed hwynt yn broselytiaid. Os nad argyhoeddwyd hwynt o wirionedd ein hegwyddorion trwy resymeg dawel, gwell genym iddynt aros lle yr oeddynt. Rhaid pwyso cymeriad dyn cyhoeddus yn ei holl gysylltiadau os dechreuir son am dano. Rhaid i ni gofio, os oedd Twm o'r Nant yn llifio cyrn offeiriaid erlidgar, ei fod hefyd ar yr un pryd yn hau y llygredigaethau aflanaf ymhlith y werinos. Peidied ein Hymneillduaeth a gwneyd i ni anghofio ein Cristionogaeth. Dylai y naill egwyddor argynnwys yr egwyddor arall. Wrth ddal y cleddyf i amddiffyn ein hegwyddorion Ymneillduol, fel yr Iuddewon gynt yn amser Nehemia, cofiwn ar yr un pryd am ein dyledswydd i gario ymlaen adeiladaeth muriau Sion gyda'r llaw arall. Fel yr oeddym yn cyd-deithio gydag offeiriad dysgedig o Eglwys Loegr, dygwyddodd i ni yn ddamweiniol grybwyll enw un o sir Cymru, yr hwn a arferai sefyll yn lled fynych i siarad yn erbyn yr hen fam. Ond er mawr fraw i ni, troes arnom yn y fan, a dechreuai ymosod yn y modd creulonaf ar gymeriad moesol y person hwnw. A bu gorfod i ni dewi â son am dano. Yr oedd ei ffeithiau yn gwbl drech na'n tipyn rhesymau ni. Wrth ffarwelio â ni, dywedai wrthym, "y byddai yn well i ni, yr Ymneillduwyr, beidio anghofio ymosod ar feddwdod a diota yn ein plith ein hunain, pan yn ymosod ar ddrygedd cysylltiad yr Eglwys â'r wladwriaeth." Cofier, frodyr anwyl o bob enwad, mai pan welir eglwys Dduw "fel y wawr, yn deg fel y lleuad, ac yn bur fel yr haul, *y gwelir hi yn ofnadwy fel llu banerog.*"

Wrth fawrygu Twm o'r Nant am drin offeiriaid bydol ac erlidgar yr Eglwys Sefydledig, cofiwn hefyd lefaru yn groch yn erbyn halogedigaeth ei weithiau masweddol. Drwg iawn genym i ni orfod ysgrifenu mor lym yn erbyn y prydydd ag sydd mor uchel yn ystyriaethau dynion enwog y dyddiau hyn. Buasai mor hyfryd genym allu ei ganmawl a'r un o'i fawrygwyr. "Anghenrhaid a osodwyd arnom," ar ol darllen rhai o'i weithiau masweddol yn ddiweddar; teithi pa rai yw ffraethlymder a gerwindeb, nid yn erbyn pechodau yr oes, ac arferion a moesau drwg y werinos, "ond eu tuedd oedd i archolli y teimladau, a'u gwaedu—yr oeddynt yn llawnach o fustl, a mwy o ymadroddion brwnt ac annyoddefol i oes wareiddedig, mewn llawer o honynt."[1]

[1] O'r "Drych Barddonol."

Addefwn y ceir yn achlysurol lawer o flodau tlws yn ei weithiau, ond y maent oll yn tyfu ar domenydd! Fe allai y gellir darganfod rhai ffrwythau melus yn ei ganeuon, ond y maent braidd oll yn tyfu uwchben beddau sydd yn llawn o esgyrn meirwon! Ein rheswm dros dreulio cymaint o amser gyda phrydyddiaeth Twm o'r Nant ydyw, nid oblegid teilyngdod ei awen, ond yn hytrach oblegid yr ystyriwn ef yn gynnrychiolydd dosbarth lliosog o brydyddion masweddol, a adewir genym heb eu crybwyll ymhellach, gan i ni fanylu cymaint yn ein nodiadau ar deithi meddwl eu blaenor.

Ni wnawn yma ond crybwyll enw Williams o Bant-y-celyn, wrth fyned heibio. Ychydig all wneyd cyfiawnder â'i athrylith ef heblaw Mr. Rees o Lynlleifiad. Dywed rhai wrthym fod yr hen batriarch yn ddyledus i'w Fethodistiaeth am ei enwogrwydd fel bardd. Ond credwn, pe na buasai yn teilyngu anfarwoldeb yn annibynol ar unrhyw blaid, y buasai er's llawer dydd wedi myned i ebargofiant; gadawsid i'w enw bydru fel y *poppy* pruddglwyfus yn y gauaf, yr hon a ymffrostia yn yr haf yn ei gwisgoedd coegwychion, ond a blyga ei phen i wylo yn herwydd annymunoldeb ei harogl. Y mae Williams yn debycach i Rosyn Saron—ei "ddail ef ni wywant"—oblegid y mae ei enwogrwydd wedi ei blanu ar làn *yr afon, ffrydiau pa un a lawenhant ddinas Duw.*

Sylwa Caledfryn, yn y "Drych Barddonol," mai "go isel y bu ein barddoniaeth er dyddiau Goronwy, hyd nes y torodd allan ryw gyfnod newydd" yn nyddiau Dafydd Ionawr. Ychwanega, "mai prif ragoriaeth ein beirdd cyn hyny, oedd cynghaneddu syniadau canolig yn rheolaidd a difeius, o ran iaith; trin pob testun yn debyg i'w gilydd: a dim o'r ffordd gyffredin gydag un peth, nac uchder syniadau, na dychymygion awenyddol yn eu gweithiau." Ond awgryma mai Dafydd Ionawr oedd y cyntaf i dori tir newydd, "ac i ddyrchafu yr awen Gymreig i rodfaoedd uwch." A diammhau genym mai efe oedd blaenor y gân yn Nghymru, pan y gwnaeth ei ymddangosiad ar chwareufwrdd amser.

Arferem, er yn bur ieuanc, fod yn lled gydnabyddus â barddoniaeth Dafydd Ionawr; ond ni wyddem ddim am dano fel dyn, yn annibynol ar ei farddoniaeth, nes yr anrhegwyd ein cenedl yn ddiweddar âg ychydig o'i hanes, yn bur ddyddorawl, gan Mr. Rees o Ddolgellau. Wrth ddarllen bras-ddarluniau o fywgraffiadau y dynion hyny a ymddysgleiriodd gymaint fel enwogion ymhlith ein cenedl, byddwn yn gyffredin yn gofidio yn ddwys na buasai mwy wedi ei ysgrifenu am danynt gan y rhai oedd yn cydoesi â hwynt. Teimlwn y byddai mor ddymunol genym wybod mwy o'u helynt. Byddwn yn methu a pheidio cenfigenu fod eraill wedi bod mor ffodus a chael cydoesi â hwynt, a theimlwn braidd yn ddig wrthynt na buasent wedi ysgrifenu a son mwy am danynt mewn hanesyddiaeth. Ond y gwirionedd ydyw, a barnu yn ol ein profiadau ein hunain, fod y rhai a gydoesant âg enwogion yn fwy analluog i farnu eu teilyngdod, ac i wybod am y dylanwad a gânt ar yr oesoedd dyfodol, na 'r rhai a ddaw ar eu holau. Mae amser yn gwneuthur yr un gwasanaeth i enwau dynion enwog ag a wna pellder i wrthddrychau gweledig. Y mae tuedd mawr mewn pellder i dywyllu ac i ddifodoli gwrthddrychau bychain, pan y gwna i wrthddrychau gwir fawr ymddangos yn fwy eglur ac uchel. Y mae y teithiwr sydd yn crwydro trwy gymydogaethau arebaidd (*picturesque*) ac arddunol, er ei fod yn cael ei foddhau wrth sylwi ar brydferthwch y dyffrynoedd o'i amgylch, a'i daraw â syndod wrth syllu ar ardderchogrwydd y llethrau gerllaw

iddo; eto, ychydig o ddrychfeddwl sydd ganddo o gyfluniau (*outlines*) y wlad yn gyffredin, ac o'i chysylltiad berthynasol â'r manau hyny wrth ei ymyl a fawrygir gymaint ganddo. Os bydd arnom eisieu gwybod gwir ffurf ac uchder rhestrau o fynyddau Alpaidd, rhaid i ni beidio sefyll arnynt i'w barnu; gwell sefyll ymhell oddidraw i sylwi ar drefniad eu clogwyni ysgythrawg, a'u trumanau uchelaidd, y rhai, gan eu huchder, a ymestynant i gusanu y cwmwl. A theimlir yr un anhawsder i farnu yr enwogion hyny a gydoesant â ni. Safant yn rhy agos atom i farnu yn deg fesur eu heneidiau. Allan o'r rhifedi lliosog o feirdd sydd yn awr yn fyw, pa nifer o honynt a dreiglant i lawr fel enwogion i'r oesoedd dyfodol? Pa rai o honynt a restrir gan ein holafiaid gydag enwau anrhydeddus Dafydd ab Gwilym, Goronwy Ddu, Dafydd Ionawr, a Dewi Wyn? Yn ol pob tebygolrwydd, ddim pump. A phwy fydd y rhai hyny? Y mae yn anmhosibl ni benderfynu. Ein holafiaid, y rhai a safant ychydig o bellder oddiwrthynt, a all farnu oreu. Yn ol y rheol hon, yn mha le y penderfynwn i osod enw Dafydd Ionawr? Onid ydyw yn sefyll yn hollol ar ei ben ei hun fel awdwr yr arwrgerdd (*epic*) benaf yn ein hiaith? Saif ymhlith ei frodyr barddonol, yn debyg fel y saif Cader Idris ymhlith mynyddau Meirionydd. Nid oes dim ammheuaeth genym nad oedd beirdd eraill mor adnabyddus ag yntau pan oedd yn fyw. Dyma ei iaith ef ei hun ar y mater. Yn ei ragymadrodd i "Gywydd y Drindod," dywed;—"*The treatment which I met with amongst the dregs of mankind might have driven many a one to desperation. But the revilings of the mob, which I always regarded with silent contempt, taught me patience and meekness almost above human.*" Gallem dybied fod Dafydd Ddu Eryri yn llawer mwy adnabyddus nag ef ymhlith llênorion ein gwlad y pryd hyny. Ond pa un o'r ddau a ystyrir flaenaf fel bardd yn awr? Beth a ddywed y syniadau uchel a goleddai Gwallter Mechain, a Daniel Ddu o Garedigion, am dano? Ysgrifena Mr. Jones, awdwr y "Traethawd ar Nodweddiad Cenedl y Cymry," yn y dull mwyaf penderfynol am uchafiaeth ei athrylith; a gwna golygwyr y "Traethodydd" yr un peth. Ac onid ydyw ymdrechion clodwiw Nicander a Ieuan Gwynedd, i ddangos rhagoriaethau ei awen a'i athrylith, yn profi yr un gosodiad? Gadewch i ninnau, ynte, gymeryd ein hanadl am fynydyn, i sylwi ychydig ar wahanol deithi ei dalentau a'i athrylith.

Pan ddechreuodd y bardd gyfansoddi "Cywydd y Drindod," ymddengys ei fod yn benderfynol i gyflawni gwaith a'i gosodai, nid yn unig ar binaclau enwogrwydd, ond ar fryniau gwyrddion anfarwoldeb. Penderfynai adeiladu math o Dŵr Babel awenyddol, nid i wneuthur iddo ei hun enw yn unig, ond i fod yn ddiogelfa rhag dylif anfoesoldeb yr oes. Gwaith ei oes oedd yr awengerdd hon. Gwnaeth i bob peth a glywodd, a ddarllenodd, a deimlodd, ac a ddychymygodd, fod yn ddefnyddiau i wneuthur i fyny yr adeiladaeth. Llyncodd y testun mawreddus ei fyfyrdod ddydd a nos trwy ei fywyd. Dyma fel y dywed ef ei hun yn brydferth ar y pen hwn:—

"A mi yn fachgen dan sen sur,
Cydymaith cu diammhur,
Ac eto yn rhodio 'n rhwydd
Yn oedran diniweidrwydd,
Myfyriais am ei fawredd,
Iôr hael, ac am ei wael wedd:

Bwriadais o bawn brydydd
O ddawn rwydd iawn, ar ryw ddydd
Neillduo ac eilio gwawd
I diriondeb y Drindawd.
Yn dystion, yr afonydd
Teifi a Dysyni sydd.

Mynych ar lanau mwyniawn
Y ddwy lwys arafaidd lawn,
Yn fynych f' awenydd
A'm denai, daliai drwy 'r dydd.
E ddoi 'r nos i dduo 'r nen;
Y rywiog fwynber awen
Yn daer a'm hudai 'n diriawn,
Aros dros y nos a wnawn:
Ac wylwn; O, nefawl Geli!
Rhy faith y mawrwaith i mi."

Da genym allu tystio fod cyflawniad y gwaith yn gwbl deilwng o obeithion y bachgen, ac o ymdrechion uchelfrydig y bardd. Saif "Cywydd y Drindod," o ran mawredd y gwaith, yn gwbl ar ei ben ei hun yn mysg holl gynnyrchion mwyaf ysplenydd beirdd Gwyllt Walia. Cawn ynddo eangder yn ei ffurfiad, yn ei gynllun, yn ei ddefnyddiau, yn ei orpheniad, ac yn benaf oll, yn ei ddylanwad foesol ar y meddwl. Nid ystyriwn yn rhyfyg i'w restru gyda phrif gerddi arwraidd y byd. Enwer yn gyntaf "*Iliad*" Homer, "*Divine Comedy*" Dante, "Coll Gwynfa" Milton, "Gyrfa Amser" Pollock, ac yna "Cywydd y Drindod," gan Dafydd Ionawr. Er fod ei awen yn nghyffion paganaidd y cynghaneddion, eto, cawn ef yn ehedeg ac yn esgyn yr uchelion gyda y rhwyddineb penaf. Y mae ei ysgogiadau mor wisgi, ei ehediadau mor arddunol, a'i enaid yn ymddangos mor rydd a phe buasai yn cyfansoddi ar fesur pryddest, neu fydrau diodl. Y mae cynllun y gwaith mor uchelaidd i'n tyb ni a'r un arwrgerdd arall yn y byd. Gall nad ydyw mor arwraidd a rhai, o ddiffyg crynoder (*compactness*), ond saif ar dir eangach, yn debyg i gynllun "Gyrfa Amser," gan Pollock. Cwyna rhai yn echryslawn, o ddiffyg gwreiddioldeb y rhan gyntaf o honi. Rhaid addef hefyd fod ynddi efelychiadau lled lythyrenol o ranau o "Goll Gwynfa." Ond gallem yn hawdd, nid yn unig ei esgusodi am hyn, ond rhoddi cyfrif am y peth. Ystyriwn fod Milton wedi dyweyd cymaint am sefyllfa gyntefig ein rhieni cyntaf, fel nad oedd braidd yn bosibl gochelyd ei efelychu. Os darlunir eu dedwyddwch perffaith mewn dull naturiol, a dilyn yr adroddiad ysgrythyrol o honynt, rhaid, feddyliem ni, efelychu darfelyddiad Milton, i raddau mwy neu lai. Clywsom lawer o bregethwyr talentog yn trafod y testun hwn yn ein hoes; darllenasom lawer iawn o draethodau arno, gan yr ysgrifenwyr mwyaf gwreiddiol eu syniadau; eto, anmhosibl ydoedd anghofio desgrifiadau a golygfeydd Milton, wrth glywed a darllen pob un o honynt. Mewn gwirionedd, os dysbyddwyd testun erioed, dysbyddwyd y testun hwn gan Milton; a diolchwn i Dafydd Ionawr am wneuthur y fath gyfiawnder â meddyliau diefelydd bardd "Coll Gwynfa."

Ystyriwn mai un o ddiffygion penaf athrylith Dafydd Ionawr fel bardd ydyw, ei fod yn amddifad o'r hyn a eilw y Sais yn *invention*. Un o brif anhebgorion bardd arwraidd ydyw y nwyd hon. Y mae yn rhaid cael meddwl creadigol, i raddau, cyn y gellir cynnyrchu arwrgerdd gyflawn. Dyma lle y mae Homer a Milton yn taflu ein bardd i'r cysgodion; a chredwn fod Dewi Wyn yn meddu mwy nag ef o'r gallu hwn. Yn holl adeiladaeth ysplenydd "Cywydd y Drindod," ychydig iawn o greadigaethau ffugiol sydd ynddi. Dyma oedd enaid awen Shakspeare; a dyma un o brif ragoriaethau "Coll Gwynfa." Os tybir ein bod yn gwneuthur anghyfiawnder â'r bardd Cymreig, dangoser i ni, ynte, yn "Nghywydd y Drindod" unrhyw ystori, gymeriad, neu olygfa, nad ydynt i'w gweled eisoes yn yr ysgrythyrau sanctaidd. Yr oedd testun Milton yn seiliedig ar y gwirionedd dwyfol, yn gystal a'i destun yntau; ond, attolwg, yn mha bennod ac adnod y benthycodd Milton hanes y rhyfel yn y nef, a ddarlunir ganddo mewn dull mor oruchel a gwreiddiol? Er fod Satan, Michael, Raphael,

Abdiel, Uriel, Beelsebub, Moloch, Belial, a Mammon, yn gymeriadau hollol naturiol ganddo, eto, onid ydynt oll yn ffugiol, ac yn ffrwyth athrylith greadigol y bardd? Yr ystori sydd yn arddangos y nwyd hon amlycaf yn "Nghywydd y Drindod," ydyw hanes Joseph, yn neillduol y drydedd ran o'r llyfr, pryd y mae Juda yn adrodd helyntion ei deulu i Joseph. Nis gwyddom am ddim yn "Ngholl Gwynfa" yn fwy serch-gynhyrfiol na rhanau o'r adroddiad hwn. Ar ol iddo gyffwrdd â theimladau y llywydd yn ei gyfeiriadau at y bwystfil yn llarpio Joseph, aiff ymlaen, gan wneuthur rhai o'r sylwadau mwyaf toddedig a thlws ynghylch Benjamin. Soniai fel yr arferai Jacob fawl yn ei deulu, a gweddi ar Dduw tragywyddol, a'r argraff a wneid ar feddwl y bachgen. Y mae y darluniad hwn o Benjamin yn bur naturiol. Pan orphenodd Juda yr araeth gynhyrfus hon, cawn i Joseph fradychu ei deimladau drylliedig ar yr achlysur, a dechreuodd y llywydd awdurdodol roddi lle i ymysgaroedd cyffrous brawd tyner galon.

Ond dylem grybwyll, er fod ein bardd yn ddiffygiol mewn ffugwaith (*invention*), ei fod braidd yn gallu gwneuthur y diffyg i fyny trwy rym angerddol ei allu desgrifiadol. Dyma lle y mae ei fawr nerth, a "chuddiad ei gryfder." Meddiannai ein bardd ar dymher wir awenyddol gymaint, os nad mwy o'r nwyd hon, a neb o feirdd Cymru, oddieithr Dewi Wyn. Unwyd hefyd yn nghyfansoddiad ei feddwl ddwy o alluoedd gwrthgyferbyniol, dealldwriaeth neu ddirnadaeth dreiddiol, a darfelydd coethedig a grymus. Cawn arddangosiadau tarawiadol o'r ansoddion hyn yn nghynllun anturiaethus y gwaith, yn gystal ag yn ei gwblhad a'i berffeithiad. Os na theilynga "Cywydd y Drindod" y clod yma, y mae yn rhaid ei bod yn ddiffygiol yn mhob peth. Yr oedd amcan uchel yr adeiladaeth yn gofyn nerth cawraidd, a llygaid eryraidd, cyn y gallesid codi y meini ar eu gilydd, a threfnu y trawstiau yn eu lleoedd priodol; ac os na chwblhawyd yr amcanion hyn, y mae yn rhaid fod y bardd wedi methu yn y cyfan. Os methir ag adeiladu Tŵr Babel i'r nefoedd, ofer ei droi yn fwthyn i'r gweithiwr. Rhaid yn gyntaf dynu yr holl adeiladaeth i lawr, cyn y bydd yn gyfleus iddo ef i drigiannu. Y mae y sylfeini yn sefyll ar ormod o dir i ateb dybenion bychain.

Ond cyn myned ymhellach, rhaid i ni nodi bai arall yn nghyfansoddiad y gwaith dan sylw. Mewn rhai darnau o honi ceir mwy o reitheg fe allai nag o ysbrydoliaeth yr awen. Cyfyd y diffyg hwn, nid oblegid anallu ei feddwl yn gymaint ag o ddiffyg chwaeth. Ymddengys fel pe byddai arno awydd gwneuthur ei holl ddarluniadau yn arddunol, yn lle amrywio ychydig ar y golygfeydd. Diffyg mawr yw hwn mewn awengerdd arwraidd;—y mae yr un anghenrheidrwydd am orphwysleoedd mewn cyfansoddiadau o'r natur yma ag sydd am danynt yn ngolygfeydd anian. Pe byddai pob mynydd mor uchel a'r Wyddfa, yn mha le y byddai gogoniant brenin mynyddoedd Arfon? Amrywiaeth prydferthion sydd yn cyfansoddi rhagoriaethau golygfeydd. Ni buasai mynyddoedd Eryri ddim yn gallu ymffrostio cymaint yn eu huchder oni bai eu bod yn cael y fantais i ymgyferbynu â gwastadedd a bryniau isel Môn. Ar ol creu bryniau prydferth, dyffrynoedd eang, afonydd dolenog, yn gystal a mynyddoedd [illegible], y dywedodd Creawdwr cyrau y ddaear am waith ei ddwylaw mai [illegible] yn ydoedd." Gofyna rhai o'r golygfeydd a ddarlunir gan ein bardd [illegible]lynerwch, teimlad, prydferthwch, a llai o ymdrech at ardduniant [illegible]geir yn rhanau o'r gwaith. Teimlir y diffyg hwn yn fwy, fe allai,

oblegyd unrhywiaeth y mesur. Beth sydd yn fwy blinderus a lluddedig i'r teithiwr na cherdded ffordd wastad, faith, heb na thro na rhyw i amrywio 'r llwybr. Cofiwn i ni unwaith gerdded am ddwy neu dair milltir ar hyd traeth mawr gwastad, gerllaw Bangor. Yr oedd y golygfeydd o'n hamgylch mor amrywiol a swynol a'r un olygfa a welsom erioed. Ar un llaw yr oedd mynyddoedd Arfon, clogwyni uchel y Penmaen mawr; ar y llaw arall yr oedd afon Menai, tref brydferth Beaumaris, ochrau coediog gwlad Fôn. Ond er holl amrywiaeth y golygfeydd, torid eu swyn gan unrhywiaeth y llwybr y cerddem arno. A theimlir yn gyffelyb i hyn wrth ddarllen cywydd y Drindod. Rhwystrir ni rhag gweled a mwynhau yr amrywiaethau sydd yn y gwaith oblegid unffurfiaeth y mesur.

Ond beth a ddywedir am ddullwedd y bardd? Dywed un ysgrifenydd am ei weithiau, eu bod "yn fwy darllenadwy i'r doeth a'r dysgedig nag i'r werin yn gyffredin." Nis gallwn mewn un modd gredu hyn. Mae'r iaith yn ymddangos i ni mor sathredig a dealladwy, braidd, a hymnau "peraidd ganiedydd Cymru." Ni cheir ynddynt nemawr air na chlywir hwynt braidd bob Sabboth o'n pulpudau. Ac er fod ei iaith fel hyn mor ddealladwy, y mae er hyny yn gwbl rydd o ddefnyddio geiriau isel a hanner Seisnigaidd, fel rhai o'n beirdd. Tra y ceidw ymhell oddiwrth eirddull glogyrnog Dr. Pughe, gochela ar y llaw arall rhag syrthio i eithafion ieithwedd ddirmygus Twm o'r Nant. Er fod ei ddullwedd bob amser yn eofn a gwrol, y mae hefyd weithiau yn dra swynol, tyner, a thoddedig. Y mae yn wir mai dullwedd uchel sydd yn fwyaf naturiol iddo; eto y mae ganddo rai tarawiadau a gyrhaeddant ymhell i'r galon, ac a dynant y dagrau tryloewon o'n llygaid, braidd heb yn wybod i ni.

Ond byddai yn drosedd i ni beidio dweyd gair am duedd foesol ac efengylaidd ei awen. Un o brif amcanion gwir farddoniaeth ydyw puro ein meddwl, dyrchafu ein serchiadau, ac arwain ein crebwyll i ymddifyru mewn gwrthddrychau hardd, prydferth, pur, a theilwng. Ac nis gwyddom am neb a lanwodd ei swydd fel bardd mor gyflawn a Dafydd Ionawr. Y mae gan ei grebwyll adenydd ddigon cryf i'n cludo i'r uchelion, ac i'n harwain yn ddiogel i lwybrau y ser, i glywed anthemau seraphiaid, ac i uno ein mawl gyda'r cherub. Dysgir ni gan ei brydyddiaeth i ymborthi ar fara angelion, yn lle ein harwain i fwyta prenau gwaharddedig. Y mae ei awen fel morwyn bur i Iesu Grist, heb erioed wybod beth yw pechod ond i'w ffieiddio. Os trwy anffawd y llwythir hi âg euogrwydd, gruddfanai yn dorcalonus bob amser nes taflu y baich wrth droed y groes. Nis gall anadlu yn unman ond mewn awyrgylch bur. Os gwnaiff yr anmhuredd sydd yn codi o'r tomenau ddifwyno ei gwisg, gwelir hi yn prysuro i ymolchi yn y ffynnon a agorwyd "i dŷ Dafydd ac i breswylwyr Jerusalem." Ceir peroriaeth durtur fwyn yr efengyl yn seiniau ei holl gynghaneddion. Gallem gasglu yr arferai dreulio ei holl oriau hamddenol gydag anwylyd Solomon yn ngardd y pêrlysiau. Ceir toraeth o'r blodau mwyaf prydferth yn tyfu yn ei gywydd, a'r rhai ydynt oll a adblanwyd o erddi blodau paradwys Duw. Dyma y farddoniaeth werthfawrocaf a gogoneddusaf;—y mae mor iachusol i'r meddwl a dyfroedd Bethesda, ac mor felus a ffrydiau Castelia. Ymddibyna prydferthwch ei farddoniaeth, yn fwy nag a goeliai neb, ar ystwythder a llithrigrwydd ei gynghaneddion. Pe y rhoddid ei ddarnau goreu mewn iaith rydd, collid llawer o'u grym a'u melusder. Byddai yr ymdrech yn gyffelyb i ddyn yn casglu defnynau gwlith, y rhai a ymddang-

osant yn y boreu ar y glaswellt fel gemau neu berlau dysglaer, ond a redant yn ddwfr pan y cymerir hwynt yn ein llaw. Bydd natur yr elfen yr un, ond y mae y dysgleirdeb a serenai ein llygaid wedi myned ar goll.

Dewi Wyn fydd y nesaf a ddaw dan ein sylw. Y mae arnom braidd ofn cyhoeddi ein golygiadau am ei alluoedd a'i athrylith ef, rhag ofn yr arferwn ormodiaith am ei dalentau. Darllenasom ysgrif rymus Eben Fardd, flyneddau yn ol, ar ei athrylith a'i weithiau, i edrych a ellid cymedroli ychydig ar ein syniadau am dano. Ac er yr ystyriwn fod y feirniadaeth lem a manylaidd hòno yn deg ac anghenrheidiol, eto teimlwn fod yn bosibl dangos mewn ymadroddion mwy llawn a phenderfynol ei uchafiaeth fel bardd ac awenydd. Amcan glodwiw ei feirniadaeth ef ydoedd dwyn sylw beirdd ieuainc at ddiffygion yr awdwr, i'r dyben iddynt ochelyd eu hefelychu. Ein hamcan ostynedig ninnau fydd cyfeirio sylw y darllenydd at yr ansoddion hyny o eiddo ei feddwl a'i gosodai yn flaenaf fel bardd yn Nghymru. Galwai sefyllfa a dylanwad Eben Fardd arno i arferu gonestrwydd yn gystal a chanmoliaeth, tra y geilw ein teimladau arnom ninnau i arferu mawliaith yn unig.

Dywedasom eisoes y safai Dewi Wyn yn benaf fel bardd athrylithgar yn Nghymru. Caiff Dafydd Ionawr fod yn Gader Idris i gynnrychioli bryniau Meirionydd; ond rhaid i Dewi Wyn gael bod yn Wyddfa i gynnrychioli holl fynyddoedd Cymru. Y mae yn wir i Dafydd Ionawr gyflawni mwy o orchestion barddonol na Dewi Wyn; ond cyflawnodd yr olaf ddigon i ddangos fod ei athrylith yn fwy dwfn, amrywiol, ac awenyddol na'r blaenaf. Saif "Cywydd y Drindod" yn gofgolofn i dystiolaethu i'r oesoedd dyfodol mai yr hyn a allodd Dafydd Ionawr efe a'i gwnaeth. Ond nid oes neb a wyddai faint a allai Dewi Wyn gyflawni. Nid oes gan ei feirniaid ddim i'w wneyd ond sefyll uwch ben ei weithiau gan waeddi "O! ddyfnder!"

Cawn er hyny fod tebygolrwydd neillduol yn bodoli rhwng y ddau gewri hyn a'u gilydd mewn rhai pethau. Cyfarfyddodd y ddau âg anhawsderau fyrdd yn eu gyrfa lênyddol—dygai y ddau fawr zel dros y mesurau caethion—yr oedd y ddau yn hollol ymwybodol o ragoriaethau eu galluoedd—anturiai y ddau yr uchelion yn ddiarswyd—dewisai y ddau enwogrwydd o flaen anrhydedd—appeliai y ddau am gyfiawnder i'w galluoedd i'r oesoedd dyfodol—rhagorai y ddau fel beirdd gwir ysbrydoledig—talai y ddau y parch a'r gwarogaeth mwyaf i grefydd a moesoldeb—byddiwyd awen y ddau â'r "Ysbryd Glân ac â than."

Ond gellid dangos fod gwahaniaeth dirfawr rhyngddynt mewn pethau eraill. Yr oedd Dafydd Ionawr yn ddyn dysgedig rhagorol, ond nid oes genym le i gredu fod Dewi yn fwy ysgolâig nag amaethwyr parchus Cymru yn gyffredin; dygai Dafydd Ionawr fawr zel dros yr Eglwys Sefydledig, a hen sefydliadau y wlad, ond edrychai Dewi ar yr hen fam fel creadures waeth na diles, a chyfodai ef ei lef yn uchel am newid llawer o'n cyfreithiau, a ystyrid gan Dafydd Ionawr yn gadernid i'n gwlad.

"Symudwch y dreth sy 'n dyfetha:
Un glo 'n aberoedd, un gwlan a bara;
Ac un halen rho'wch ar y cŵn hela,
Neu ar deulu Endor, a dail India."

Yr oedd ei hoffder hefyd at ryddid gwladol a chrefyddol yn fwy nag at ei ymborth anghenrheidiol.

Fel bardd, ymddysgleiriai Dafydd Ionawr yn benaf pan gyrhaeddai banau yr uchelion, ond yr oedd Dewi Wyn yn dywysog y dyffrynoedd yn gystal a'r mynyddoedd; yr oedd yn rhaid i'r blaenaf *ddringo* weithiau cyn cyrhaedd cader Caergwydion, *ehedai* Dewi yno yn ddiboen; *dyfod* yn fawr a ddarfu y blaenaf trwy gynnorthwy dysg ac ymdrechion diflino, *crewyd* Dewi yn fawr gan law anweledig natur; cyfansoddodd Dafydd Ionawr lawer o linellau arddunol, ond benthyciai yn gyffredin y gywarchlen (*canvass*) ar ba un y tynai ei ddarluniau, ond creai Dewi y golygiadau a'r cymeriadau, yn gystal a'i ddesgrifiadau arnynt; adeiladodd Dafydd Ionawr Dwr Babel awenyddol a'i cododd i uchder y ser, pryd yr ystyriwn fod Dewi Wyn wedi ei osod yno ar y dechreu gan ei athrylith gynhwynol, i ymddysgleirio yn y llwybrau anhygyrch hyny gydag Arcturus a'i feibion.

Credwn mai Dafydd ap Gwilym, Goronwy Ddu, Dafydd Ionawr, a Dewi Wyn, ydynt y goleuadau mwyaf ysplenydd a wnaethant eu hymddangosiad erioed yn y Dywysogaeth. Anfarwolodd y blaenaf ei hunan fel cyfansoddwr caneuon serch, yr ail fel gwladgarwr awenyddol, y trydydd fel prophwyd i ddysgu moesau i'w genedl, a'r olaf fel archoffeiriad i gyfryngu rhwng natur ag enaid feddyliol dyn. Canai y cyntaf i'w Forfudd, yr ail i'w wlad, y trydydd i Dduw, a'r olaf i bob un o'r tri.

Ymddengys i ni ddarfod i Ddewi gael ei eni yn fardd: neillduwyd ef o'r groth i'w swydd. Gellid dyweyd ei fod fel bardd yn hollol annibynol ar yr hyn a ddarllenodd, a ddysgodd, ac a gyrhaeddodd. Gellir casglu oddiwrth ei weithiau mai darllenwr bychan ydoedd. Ni chynnwysant unrhyw ffaith na hysbysiaeth, uwchlaw ychydig o ddaearyddiaeth, nad ydynt yn gwbl wybyddus i blant yr Ysgolion Sabbothol yn Nghymru. Yr oedd ei hunan-hyder awenyddol mor fawr fel ag i'w rwystro i wneuthur defnydd o'r hyn a ddarllenai. Nid ydym yn crybwyll hyn oblegid ei fod o unrhyw ddyrchafiaeth i'r bardd. Credwn y buasai yn fwy galluog fyth pe gwyddai fwy, a phe buasai wedi cyfeillachu mwy â gweithiau anfarwolion y byd meddyliol. Tybia rhai fod dynion athrylithgar yn gwanhau eu gwreiddioldeb wrth ymgyfathrachu â meddyliau eraill. Camsyniad mawr yw hyn. Pwy fu erioed yn fwy gwreiddiol na Dante, Shakspeare, a Milton? Eto pwy sydd yn fwy dyledus na hwy i'r hyn a ddarllenasant am eu llwyddiant fel beirdd? A oes rhywun a ammheuai fod Christmas Evans yn ddyn athrylithgar? Eto pwy yn fwy darllengar nag ef trwy ei oes? A chredwn pe buasai Dewi Wyn yn fwy dysgedig a darllengar y gallasai ymddysgleirio mwy nag a wnaeth. Ond os nad oedd Dewi yn ddyn darllengar, yr oedd er hyny yn ddyn tra sylwgar; ac yr oedd cyd-deimlad dwfn rhwng ei feddwl a golygfeydd rhyfeddol ei wlad enedigol. Llyfrau oeddynt ffynnonellau ysbrydoliaeth awen Goronwy a Dafydd Ionawr; ond ysbrydolid awen Dewi yn ei chyfeillach â'r afonig, y rhaiadr, y môr, y wybren, a'r bydoedd dirif uwch ben. Anian oedd ei fyfyrgell ef, a'r natur ddynol oedd y llyfr a ddarllenai; y creigydd oeddynt ei bregethau, y meusydd oeddynt ei eiriaduron, a'r mynyddoedd cedyrn oeddynt ei athrawon. Nid oedd yn anghenrheidiol iddo ef ddarllen ffug-draethau (*novels*) i'w ddysgu i gydymdeimlo â'r adfydus: cymerodd rhagluniaeth y gwaith yma mewn llaw ei hunan. Perffeithiwyd Dewi trwy ddyoddefiadau. Suddid ef weithiau mor ddwfn gan loesion a phoenau corfforol a meddyliol fel y tybiai ei fod ar arteithglwyd chwil-lys. A chlywsom iddo ddywedyd, ar un o'r adegau hyn, "Pe byddai bosibl symud y boen sydd yn llethu fy

nghalon, a'i roddi dan droed y Wyddfa, y byddai yn ddigon i beri iddi neidio oddiar ei gwadnau." Ni theimlai yn anghenrheidiol iddo ef ddarllen awduron enwog mewn trefn i ddyfod o hyd i destunau i gyfansoddi arnynt. Nid oedd yn rhaid iddo ef ond edrych ar dlodi a thrueni y gweithiwr anghenog nad oedd ei awen ar dân yn y fan.

Dylid edrych ar yr awenydd bob amser fel prophwyd neu athraw i'r bobl. Dylent oll deimlo fod ganddynt ryw genadwri oddiwrth Dduw i'r byd. Fel hyn y teimlai y beirdd ysbrydoledig. Ac fel hyn y teimlai yr hen Ficer, Williams o Bant-y-celyn, a Dafydd Ionawr. Clywsant oll y llais o'r nef yn gwaeddi, "Pwy a ā troswyf fi?" Atebasant oll, bob yn un ac un, heb ymgynghori â chig a gwaed, "Wele fi, anfon fi." Ymddengys i Dewi yntau deimlo baich yr Arglwydd yn pwyso arno, ond ni wrandawodd ar y llais gyda'r un parodrwydd a'r rhai a enwyd uchod. Cawn iddo ymneillduo i Tarsus, fel Jona, am flyneddau meithion, pan gafodd ei wangaloni gan feirniaid Eisteddfod Dinbych.

Dangosai Eben Fardd, yn ei feirniadaeth ar athrylith Dewi Wyn, mewn dull goleu a chadarn anarferol, ei ragoriaethau fel bardd—meddylddull farddonol a mawreddog—prydydd-nwyd orfanylaidd a chywrain—a hunanhyder awenyddol. Er mwyn amrywiaeth, penderfynwn ninnau gyfeirio sylw y darllenydd at nodweddion eraill a'i hynodai fel bardd.

Y peth cyntaf a deimlir wrth ddarllen gweithiau Dewi ydyw, *ei gydymdeimlad dwfn â thlodi a thruenusrwydd yr anffortunus*. Credwn y meddiannai Dewi fwy o ddyngarwch na neb o'i frodyr barddonol yn y Dywysogaeth. Y mae yn rhaid fod ei galon yn curo mewn cydymdeimlad â'r truenusion dynol, onidê ni allasai byth ddarlunio eu "poen a'u dilafur" fel y gwnaeth. Darluniai ddyfnderoedd eu trueni yn ei linellau mewn llythyrenau o dân. Darluniai eu dagrau, nid fel perlau, ond fel dafnau gwaed, yn treiglo dros eu gruddiau. Darluniai eu gwynebau, nid fel adlewyrchiadau o ddelw yr Anfeidrol, ond fel dangosiad or-bruddawl anian yn absennoldeb dysgleirdeb yr heulwen. Darluniai eu gruddfanau, nid fel cerddoriaeth yr eos yn ngwyll y nos, ond fel ocheneidiau y greadigaeth. Ac nid crwydriaid a mileiniaid ychwaith yw gwrthddrychau ei elusen ef:

"Amddifaid, gweddwon, waruddion ruddiau"

ydynt. Rhai ydynt nad allant wellhau eu sefyllfaoedd eu hunain. Dadleua ef yn unig dros y rhai hyny nad allant gymaint a dadleu trostynt eu hunain. Ceir ei weled yn ymweled â'r weddw dlawd yn yr elusendŷ. Gwelir ef yn cyfrif ei dagrau, ei hocheneidiau, a'i doluriau; a chaiff yr olygfa y fath argraff ddwfn ar ei feddwl nes y clywir ef yn tyngu i'r Hwn sydd yn byw yn oes oesoedd y myn wneuthur ei hanghenion a'i thrueni yn hysbys ar hyd a lled y wlad. Treiddia ei ddesgrifiadau fel taranfolltau trwy ein natur. Gwna i ni deimlo mai

"Drych o dristwch yw edrych drosti."

Un o nodweddion eraill meddwl Dewi Wyn ydoedd, *ei ddwfn gyddeimlad â golygfeydd naturiol*. Yr oedd math o gymundeb dirgelaidd rhwng ei enaid âg ysbryd anian. Ymddengys natur i'r bardd yn fath o greadigaeth ysbrydol. Gallem dybied yr ymddangosai i Dewi Wyn fel "llen llian fawr wedi ei gollwng i lawr o'r nef," heb fod ynddi "ddim cyffredin neu aflan." Tebygai Dewi yn hyn i'r beirdd Hebreaidd. Yr oeddynt hwy oll ymhell o fod yn ddiystyr o weithredoedd natur, ac o

harddwch ei golygfeydd. Yr oeddynt bob amser yn hoff iawn o bersonoli ei gwrthddrychau. Galwent y locustiaid "yn fyddinoedd yr Arglwydd," y gwyntoedd yn "genadau yn gwneuthur ei air ef," y daran yn "lleferydd ei enau," y mellt "yn afonydd llifeiriol o dân yn rhedeg oddi ger ei fron," yr haul yn gawr yn "dyfod allan o'i ystafelloedd." Ond rhaid i ni gofio hefyd nad ydyw golygfeydd ardderchog anian ar y goreu ond ysgaffaldiau a godwyd i wneuthur adeiladau mwy ysplenydd, neu ddrychau ar wyneb pa rai yr adlewyrchir priodoliaethau yr Anfeidrol. A chaiff yr ysgaffaldiau eu tynu i lawr pan agorir y tŷ nid o waith llaw; a throir y drychau yn *illumination* pan ddaw meibion y Brenin i'w hoed. Caiff y "llen llian fawr ei chodi drachefn i'r nef." Gwelir y nefoedd a'r ddaear yn myned heibio, i ddangos nad oes dim yn ddisigl ond arfaethau a chyfammod y digelwyddog Dduw. Ond tra y bydd y pethau a welir ar eu traed, bydded i ni fyfyrio eu dirgeledigaethau i'r dyben i'n galluogi i amgyffred y doethineb a'u ffurfiodd, a nerth anfeidrol y llaw a'u creodd. Wrth ddyweyd fod Dewi yn talu gwarogaeth i waith bysedd yr Anfeidrol, ni chredwn iddo wneyd hyny oddiar ystyriaeth o'i ddyledswydd, gymaint ag oddiar gynneddf naturiol ei feddwl. "Yr oedd ganddo lygaid i weled anian, calon i deimlo anian, a glewder a faidd gydfyned âg anian." Canfyddai ef fwy o brydferthwch yn y rhosyn, gwrid mwy llachar yn yr wybren, pelydr gorddysgleiriach yn yr haul, a gogoniant mwy ysplenydd yn y ser, na dynion eraill. Eneiniwyd llygaid ei feddwl ef âg eli, ac, yn groes i'r wyrth, gwelai ef breniau fel dynion yn rhodio. Clywai yr afonig â'i thrydar, y rhaiadr â'i dwrf, tonau y môr â'u hanthemau tragywyddol, a'r cor asgellog â'u cân fel offeiriaid urddawl ein Duw ni yn cynnal gwasanaeth foreuol yn mheml fawr natur. Yn ei ddesgrifiadau gorchestol o olygfeydd anian, swynir ni yn fwy na dim arall gan yr amlygiadau a geir ynddynt o'r argraffiad dwfn a gaent ar ei feddwl ei hunan. Darluniai hwynt, nid fel yr ymddangosant i'r llygaid, ond fel yr ymddangosant i'r meddwl. Nid ffurfiau o bren a maen ydynt, ond creadigaethau amgyffredol (*ideal*) darfelydd. Ymddiriedai Dewi yn sefydlogrwydd anian, fel yr ymddirieda gwr yn ei gyfaill. Cafodd ei siomi ganwaith yn nidwylledd y dynion goreu, ond teimlai fod natur yn ddidwyll yn ei holl addewidion, ac yn rhydd oddiwrth bleidgarwch yn ei holl gyfraniadau. Gwasgara ei gwobrwyon i bawb yn ddiwahaniaeth—"Gwlawia ar y drwg a'r da." Nid ydyw gwrthddrychau anian mor agored i gyfnewid a'r natur ddynol. Aroglai y rhosyn yr un mor beraidd y tymmor diweddaf a'r tymmor y planwyd ef gyntaf gan law anweledig Crëwr pob peth. Y mae y lili mor brydferth yn awr a'r adeg y safai ein Iachawdwr mewn synod uwch ei phen. Ymddangosai lliwiau yr enfys mor amryliw ar ol y gawod y boreu heddyw, a'r diwrnod y syllodd Noa arni gyntaf ar ol dyfod allan o'r arch. Yr oedd ceinciau yr eos mor beraidd yn y llwyn y noswaith olaf a'r pryd y telorai ei hanthemau gyntaf yn ngwasglwyni gardd yr Arglwydd. Os arferai yr hen dderwyddon fwynhau y fath dawelwch a hapusrwydd o dan gysgodion eu deildai paradwysaidd, ac os suid hwynt i gysgu gan drydar pelorus y gornant gerllaw, yr ydym yn sicr y gallem ninnau fwynhau yr un dedwyddwch pe yr ymofynem am dano.

"Is coeden hen gan eiddew 'n hudd
Lle ger fy nhroed y ffrwd a chwardd,
Gwrandawaf y wenynen sydd
Yn siaw cylch y rhoslwyn hardd,

Tra mae, gerllaw, y ffynnon dêr
Yn cadw lleddf odyrddain pêr."

O'r "*Telynogion.*"

Tynai prydferthwch llygaid y dydd sylw yr hen ŵr pan oedd yn blentyn yn ceisio neidio dros ei gysgod ar y ddôl; denir ei sylw yn awr gan yr un blodeuyn, ar yr un wedd, pan el allan i rodio gyda'i ŵyrion ar brydnawngwaith haf; edrycha yn wylaidd yn ei wyneb fel cynt, a'r gwlithos fel dagrau ar ei ruddiau fel pe byddai yn deisyfu arno beidio ei sathru wrth fyned heibio. Ymddengys mynyddoedd Arfon yr un mor uchel a phruddaidd yr olwg arnynt yn awr i drigolion Mon, ag yr ymddangosent i fyddinoedd Julias Cesar pan laniasant wrth Borthawel. Ymddengys y lloer uwch ein penau yr un mor arianaidd yn awr a'r pryd y canai Homer ei gerddi anfarwol iddi. Da gan yr hen ŵr pedwar ugain gyfarfod â'r hen wynebau a adwaenai pan yn llanc; ond pan y cyfarfyddant clywir hwynt bob amser yn dyweyd, "O! fel yr ydych wedi cyfnewid yn eich gwedd a'ch ffurf!" Gwelir, yn lle y gwallt du modrwyog, y pren almon yn blodeuo ar ei ben. Gwelir y llygaid, a arferent ymddysgleirio fel Mawrth a Gwener, yn awr wedi tywyllu yn edrych trwy y ffenestri. Ond gellir dyweyd fod hen wynebau anian braidd yn anghyfnewidiol; ac o bob gwrthddrych, y môr ydyw y mwyaf anghyfnewidiol. Metha dyn, er ei holl gywreinrwydd, a gwneuthur ei ol arno ef. Llwyddodd i ddynoethi anialdiroedd America, trwy dori i lawr ei choedwigoedd a'u gwisgo drachefn âg ydlanau a dinasoedd. Cyfnewidiodd lawer gwaith agwedd y wlad, y trigolion, yr iaith, a'i sefydliadau. Mewn gair, ymddengys ei fod wedi derbyn awdurdod i arglwyddiaethu yn lled ormesol ar bob peth ond ar y cefnfor; y mae ei donau ef mor anorchfygol ac anhawdd i'w gostegu yn awr a'r adeg y lluchient lestr Jona pan ddiangai i Tarsus. Y mae mor anesmwyth ar ei wely o dywod a'r boreu y crewyd ef gyntaf. Chwardda am ben cywreinrwydd a doethineb dyn pan geisia roddi "ffrwyn yn mhen ei gesyg." Nid ydyw amser na chelfyddyd yn cyfnewid dim ar y dull yr ymrolia ei lasdon. Croesodd miloedd o longau ei donau geirwon wrth fyned i'r Americ a'r India, ond anmhosibl ydyw darganfod ol y llwybr yr hwyliasant. Ni adawsant yr argraff lleiaf ar ei wyneb grisialaidd. Dywed daeardraethwyr (*geologists*) i luoedd o gyfandiroedd wneuthur eu hymddangosiad, i eraill fyned o'r golwg yn nghyfnod yr oesau, ond y mae eangder diderfyn y cefnfor yn gwisgo yr un ddelw wyllt a mirain yn awr a'r adeg ei crewyd gyntaf. Fel y dywedodd Byron, yn un o'i ddarnau mwyaf gorchestol,

"Man marks the earth with ruin; his control stops with the shore."

Am y môr dywedai yn ogoneddus—

"Time writes no wrinkle on thine azure brow;
Such as creation's dawn beheld, thou rollest now."

Ond i ddychwelyd yn ol at Dewi. Rhagorai ef hefyd yn ei ddarluniadau ysplenydd o'r rhyw deg. Nid ydym yn gwybod am ddim yn holl gylch barddoniaeth yn rhagori llawer ar ei "Wraig Rinweddol," a'i "Elen." Fel creadigaethau amgyffredol (*ideal*), daliant i'w cymharu âg "Elen" Homer, a "Dido" Virgil, a "Beatrice" Dante, a "*Fairy Queen*" Spenser, ac "Efa" Milton. Ac arddengys deimladau mor dyner, serch-gynhyrfiol, a dwfn, ag a wna Coleridge yn ystori ddihefelydd y "*Dark Ladie.*" Cwynai cyfaill o chwaeth wrthym unwaith fod ei fenywod yn rhy berffaith—yn rhy angelaidd—i fod yn ferched dynion. "Cyn y gellir darlunio menyw yn

naturiol, rhaid," meddai efe, "iddi fod yn dafod-ddrwg, enllibgar, dichellgar, a hoffach o drin a siarad am ddyledswyddau ei gwr, nag am gyflawni ei dyledswyddau ei hunan." Os ydyw hyn yn wir (yr hyn a fawr ammheuir genym) diolchwn i Dewi Wyn am greu dwy fenyw ar ddelw uwch, a nodwedd burach. Y mae yn wir na ddarfu y bardd ddim tynu eu darlun fel menywod gweithgar a diwyd eu dwylaw, a chyflym a pharod eu tafodau. Darlunia y "Wraig Rinweddol," nid fel y menywod a welir yn gyffredin, ond fel y dysgwyliem, ac fel y dymunem, iddynt fod. Daw ei ddesgrifiadau i fyny â syniadau a rhagolygon mwyaf gwenieithus carwr ieuanc. Rhaid addef mai creadigaethau dychymygol darfelydd ydynt, ac nid desgrifiadau cywir diaddurn a diweniaith gwr priod. Y maent yn bur annhebyg i ddesgrifiadau Lemuel, yn y Diarebion. Darluniai ef y wraig rinweddol fel "un a gais wlan a llin, ac a'i gweithia â'i dwylaw yn ewyllysgar." "Hi a gyfyd hefyd liw nos ac a rydd fwyd i'w thylwyth, a'u dogn i'w llancesau." "Hi a wna lian main, ac a'i gwerth, ac a rydd wregysau at y marsiandwr." Tebyg ydyw menywod Dewi Wyn i'r lili, "Nid ydynt yn llafurio nac yn nyddu; *ond yr wyf yn dywedyd i chwi na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn.*" Beth a ddywed y darllenydd am brydferthwch y llinellau hyn gan Dewi i Gwen:—

"Da oll i gyd yw dull Gwen,
Dan dri lliw dyn dra llawen.
Gwel'd yr wyf gold aur o wallt,
Rheffynau teg, rhiffunt hir,
Aml raffau mal aur Ophir.
* * *
Golygon gleis hon gloew sêr,
Ymlonant mal y Wener;
Tenau wefusau iesin,
Olew a mêl yw ei min,
A thafod a iaith hyfwyn,
Yn adrodd ymadrodd mwyn.
Ei graslon gywir oslef
Yn gwarau ar nodau 'r nef:
Da bêr gerdd Debora gu
Wna i mron wen ymranu,
Crynu pabelu 'n ddibaid,
Llamu a thoddi 'n llymaid.
Pan wenai y'm nychai'm Non,
Mân ddanedd mun oedd wynion.
Ei bronau 'n gwpanau pêr,
Yn denu calon dyner.
Fair wenaf o rianedd,
Ddwyfach waed ddiafiach wedd;
Adwaenoch dêr rôs cochion
O ardd nef ar ruddiau Non."

Allan o "*Gywydd Gwraig Rinweddol.*"

Dywed D. Silvan Evans, yn ei feirniadaeth ar Gwenffrwd, "fod Dewi Wyn o dan anghenrheidrwydd o gymharu pob peth tlws a phrydferth i ardd Eden, fel pe na buasai dim tlws a phrydferth arall o fewn holl gylch y cread." Tybygem na raid i'r darllenydd ond darllen barddoniaeth yr anfarwol fardd o'r Gaerwen, na chenfydd yn y fan ei ddyledswydd i ymddiried mwy yn ngalluoedd barddonol Mr. Evans nag yn ei alluoedd beirniadol. Y mae cynllun ei gywydd i wraig rinweddol yn cynnwys syniadau cynnyddol. Y mae yn myned yn fwy i'r dwfn o ran ei deimladau wrth fyned ymlaen; fel hedyn y blodeuyn, yn gyntaf dechreua y gwreiddiau ymledu, yna gwelir y dail yn ymagor, ac yn ddiweddaf oll gwelir y blodeuyn yn gwyro ei ben gan wyleidd-dra rhag edrych ar yr haul, ac yn ymorphwys yn ddiofal rhwng dwy ddalen werdd ar y mwsogl.

Nid ymddengys fod Dewi yn meddu ar lawer o arabedd (*wit*), ond nis gwyddom am un bardd yn Nghymru a feddai ar fwy o watwareg *sarcasm*) nag ef. Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng y galluoedd hyn a'u gilydd, fel y gŵyr y darllenydd, a dylid gofalu am beidio a'u cymysgu wrth son am danynt. Beth bynag a ddywedir am yr ysbryd drwg a'i cynhyrfodd i gyfansoddi "Awdl yr Adebau," nid oes neb a all wadu y gallu a arddengys i boeni ei wrthwynebwyr ynddi. Y mae yn rhaid yn sicr "fod cythraul

ganddo" ar y pryd. Pan geisiai ei feirniaid ei sathru fel pryf o dan eu traed, ymddolenai yntau o amgylch eu sodlau fel sarff dorchog, gan eu colynu yn ddidrugaredd.

O bob dygasedd, yr eiddo Dewi Wyn ydyw y mwyaf anhawdd i'w ddyoddef. Ond dangosodd ei hun yn llwfr ddigon pan ymosodai ar Dr. Pughe, yn bersonol, pan grybwyllai am "ei eiriadur a'i gredo." Dylasai adael nwydau a dull bawaidd fel hyn o ymosod ar ei wrthwynebwyr yn medd Twm o'r Nant. Yr oedd ei watwareg ef yn ddigon i boeni creaduriaid dynol, heb alw am gymhorth cyfeiriadau personol atynt. Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng Dewi Wyn a Llewelyn Ddu fel tuchanwyr. Casau y byddai un, ffieiddio y byddai y llall; gogleisiai Llewelyn Ddu ei wrthwynebwyr i farwolaeth, llarpiai Dewi Wyn ef yn ddrylliau. Yr oedd picellau Llewelyn Ddu yn dra miniog, yr oedd rhai Dewi wedi eu gwenwyno yn gystal a hyny—disgynai ei ddigofaint fel cawodydd o *lava* tanllyd ar benau ei gaseion. Cymysgai ei watwareg â thân a brwmstan—yr elfenau mwyaf dinystriol. Nid oedd brathiadau pigog arabedd Twm o'r Nant, a gwatwareg ddifaol Llewelyn Ddu, ond fel "ffrewyllau," tra yr ydoedd dirmyg Dewi yn debycach i ysgorpionau.

Beth a ddywedir am sefyllfa bruddglwyfus ei feddwl tua diwedd ei oes, pan oedd golygfeydd anian yn methu a chreu bywyd yn ei ysbrydoedd? Yr ydym braidd yn ffaelu a pheidio colli dagrau wrth feddwl am dano y pryd hyn, pryd yr ymddangosai y gerddi mwyaf paradwysaidd iddo yn anialwch, a'r blodau mwyaf telaid a dyfai ynddynt yn chwynogl. Ystyriai adeiladau gorwychaf anian yn garcharau i'w enaid. Tybiai wrth syllu ar ogoniant y Wyddfa, fod gwg ar ael ei holl glogwyni. Curai ei draed yn erbyn y creigiau geirwon wrth gerdded ar hyd y llwybrau dymunolaf. Troai ffrydiau Castelia yn ddyfroedd Mara yn ei wefusau; a chredai weithiau fod hyd yn nod yr ymadrodd am y groes yn arogl marwolaeth iddo. Byddwn weithiau yn dychymygu clywed creigiau Eryri yn adsain i'n clustiau yr ymddyddanion pruddglwyfus a gymerai le rhyngddo âg ef ei hun yn eu clywedigaeth. Rhedai yr ymgomiad yn ol y dull anobeithiol a ganlyn:—"Crewyd pob peth gan Dduw ar y dechreu ar agwedd siriol a hyfryd; ond trwy lygredd fy nghalon i trowyd yr heulwen oedd uwch fy mhen yn gwmwl crogedig. Beth all fod yr achos na bawn i yn mwynhau rhan o'r dedwyddwch cyffredinol a wasgerir mor helaeth ar hyd wyneb y ddaear? Rhaid fod y bydysawd a'i Grëwr yn anghymmodlawn â mi. Yn mha fan, a pha fodd y gellir adeiladu pont i groesi y gagendor sydd rhyngom? Ac os ydyw amser yn parotoi cymaint o anhawsderau ar fy ffordd, beth am y peryglon a'r dychrynfeydd all fod yn fy aros yn nyfnderoedd tragywyddoldeb? Os lluchir fi mor annhrugarog gan siomedigaethau ac ystormydd y fuchedd bresennol, beth all fod yn fy aros yn y byd a ddaw? Pa fodd y gallaf gredu y try y goruchwylion doeth, ond chwerwon, hyn yn y diwedd, yn fuddiol i'm codi o'm sefyllfa druenus? A pha fodd, uwchlaw pob peth, y gellir dwyn telpyn mor afluniaidd a mi ar ddelw dysglaer Mab Duw?" Ni cheisiwn ateb y cwestiynau hyn yn awr. Gobeithiwn, Dewi, i ti weled y cymylau a'r tywyllwch a amgylchynai gorseddfainc dy Dad wedi eu gwasgaru gan danbeidrwydd goleu Haul Mawr y cyfiawnder.

"Anobaith eich blinfaith bla
Gilgwthir wrth Golgotha.

Trwy werth anfeidrol yr iawn

"Daw Dewi bach yn Ddewi Wyn,
I ardal aur delynau."

Un o gydoeswyr a chystadleuwyr gyda Dewi Wyn oedd Gutyn Peris. Y mae wedi delweddu arwynebiad Llanberis ar ei holl gyfansoddiadau. Y mae arogl iachuslawn y lle yn pereiddio ei olygfeydd.. Clywir dadwrdd mawr cwymp llechau y chwarelau yn seiniau ei gynghaneddion. Arweinia y darllenydd wrth ei fodd trwy 'r anialdiroedd rhamantawl; ond gwna i ni grynu weithiau wrth fyned â ni yn rhy agos i'r clogwyni. Crea fraw yn ein mynwes wrth sefyll yn rhy hir o dan ddarnau ysgythrawg creigiau crogedig, pan yn ei ddilyn i wrandaw ar dwrf syfrdanawl y rhaiadrau. Yn ei anerchiad i Gwilym Peris, hudir ni ar hyd y llwybrau mwyaf anhygyrch, gorfyddir ni i roddi bras gamrau ar draws boncyffion mawrion a phigog yr eithinen; ond anghofiwn y boen oddiwrth y pigiadau, a'r cywilydd oddiwrth y rhwygiadau ar ein gwisgoedd, pan gyfyd sawr beraidd blodion yr eithinen i'n ffroenau. Tyf rhosynau gwylltion yn ochr pob clawdd a ddesgrifia, a chyferfydd ein llygaid a'n clust yn ei holl wrychoedd â nyth a chân yr aderyn. Y mae ei awen yn fwy hoff o ddarlunio golygfeydd aruthrol anian na dynion ac arferion. Y mae cyddarawiad neillduol rhwng ei feddwl â lleoedd diffaeth, unigol, a gwyllt. Yn yr anialwch y gorseddai efe. Hoffai ardderchogrwydd yn fwy na phrydferthwch. Dewisai yr wybren yn llawn o ser o flaen y blodeuyn. Llef un yn llefain yn y diffeithwch ydoedd ei farddoniaeth. Cân bronddu'r twynau, sain y cornant ddigartref, a sŵn y wenynen yn mlodau y grug, ydoedd y gerddoriaeth a'i difyrai. Ymbleserai ein hawenydd gyda 'r teithiwr dyeithrol yn mrig yr hwyr yn y corsydd, gyda'r bugail yn chwilio am y geifr rhwng y clogwyni, neu gyda'r penboethiad yn dysgwyl ymddangosiad drychiolaethau wrth oleu lloer mewn hen gestyll, neu yn gwrandaw ar y

"Rhaiadr mawr yn rhuaw,
Canu ei glych cyn y gwlaw."

Onid oes tebygolrwydd neillduol rhwng anerchiad Gutyn Peris i sylwadau arddunol Festus ar ol ei gyfaill ymadawedig, gan Bailey? Y mae yr *adgofion* yn tebygoli, ond rhaid addef fod meddyliau y Sais yn tra rhagori.

"For we were alway rivals in all things—
Together up high springy hills, to trace
A runnel to its birthplace—to pursue
A river—to search, haunt old ruined towers,
And muse in them—to scale the cloud-clad hills,
While thunders murmured in our very ear;
To leap the lair of the live cataract,
And pray its foaming pardon for the insult;
To dare the broken tree-bridge across the stream;
To crouch behind the broad white waterfall,
Tongue of the glen, like to a hidden thought—
Dazzled, and deafened, yet the more delighted."

Daw Blackwell (Alun) yn nesaf o dan ein sylw. Efe ydyw y mwyaf swynol o'r holl feirdd Cymreig. Mae math o dynerwch dwys ac argyhoeddiadol yn ei geinciau. Weithiau mae yn fywiog fel awelon boreu haf yn siglo brig y morwydd, a'r pryd arall mae yn orgwynol fel sŵn grudd-fanus y daran bell. Ymhyfryda ei awen yn benaf mewn desgrifiadau

tarawiadol a naturiol o fywyd tawel y gweithiwr tlawd. Ymblesera i ymgomio â'r hen ŵr dall ar ochr y ffordd ynghylch "yr hen amser gynt," neu ynte i gydymdeimlo â'r fam a gollodd ei hunig blentyn trwy y darfodedigaeth. Dewisa ef, fel y bardd Seisoneg, Gray, neillduedd y fonwent o flaen dadwrdd y dinasoedd a rhwysg y palas. Ymhoffa ar brydnawngwaith haf i ymweled âg olion hynafol yr abatty, lle y canfydda y dylluan a'r hebog yn cysgu yn dawel ar garnedd beddrod y sant. Gellir gyda phriodoldeb ddefnyddio llinellau y bardd Seisoneg am dano,—

"The poet's soul that flow for ever
Right onwards like a noble river
Refulgent, still, or by its woods
Shaded and running on thro' sunless solitudes."

Cyferbynir athrylith Alun a Dewi Wyn â'u gilydd gan Mr. G. Edwards yn ei feirniadaeth fanwl a thlws ar weithiau y blaenaf. Ond rhaid addef ei fod yn sefyll dan anfantais dirfawr i ymgyferbynu â'r olaf fel bardd. Cysegrodd Dewi ei fywyd a'i dalentau i wasanaethu yr awen. Trwy ei farsiandïaeth â hi yr ennillodd ef yr holl berlau dysglaer a belydrant yn ei goron. Ni ranodd ef yr yspail gyda chedyrn Jacob yn y pulpud fel Alun. Er yr ymddengys nad oedd yntau ddim yn dra phoblogaidd yn yr areithfa, eto casglwn oddiwrth nodiadau Mr. Jones arno, yn ei "Nodweddiad o Genedl y Cymry," yr arferai barotoi cyfansoddiadau manylaidd a gorchestol i'r pulpud. Heblaw hyny, trodd ef ffrydiau anhysbyddadwy ei feddwl i ddyfrhau amrywiol feusydd, heblaw y rhai a nodwyd uchod. Llafuriodd lawer gyda'r "Cylchgrawn." Y mae y darnau gwreiddiol a gyhoeddodd ynddo yn llawn o swyn, dyddordeb, ac adeiladaeth. Y maent bob amser yn addysgiadol, nwyfus, ac weithiau yn dra serchgynhyrfiol. Rhagora ei gyfieithiadau o'r Seisneg bob amser braidd ar y gwreiddiol. Safai ef a Chawrdaf yn flaenaf, os nad yr unigol, yn Nghymru, fel ffugdraethwyr. Ar ol darllen rhai o'r cyfansoddiadau hyn, teimlwn yn ofidus na buasai wedi porotoi *mwy* o'r fath ddysglau i'n cenedl. Fel bardd, yr oedd gwahaniaeth dirfawr rhwng teithi ei feddwl a'i awen a'r eiddo y bardd o'r Gaerwen. Casglai un ddefnynau goleuni at eu gilydd i'w gwneuthur yn wenfflam, gwasgarai y llall hwynt ar led fel pelydrau ar ddrych. Hynodai un yn angerddolrwydd anwrthwynebol ei arddull a'i ddesgrifiadau tanllyd a chynhyrfus; hynodai y llall yn fwy yn nhynerwch swynol ffrydiau rhedegog ei awen. Trigai awen Dewi yn gyffredin yn sŵn aruthrol y dymhestl a'r ystorm, yn "ngweithdai y mellt a'r taranau;" pryd y gwelid awen Alun yn gweithio ei ffordd yn dawel yn mrig yr hwyr ar ddydd o Hydref tua'r llwyn gerllaw, i wneuthur adfyfyrion tarawiadol ar gwymp disyfyd y "ddeilen grin." Gwelid ef wedi hyny, wrth ddychwelyd tuag adref, yn galw ar ymweliad yn nhŷ gwraig y pysgodwr, ac ar ol gwrandaw arni yn adrodd helyntion ei theimladau, ei hiraeth dwys am ei chymhar sydd yn nghanol peryglon mawrion yr ystorm, clywir ef, ar ol dangos ei gydymdeimlad â'i sefyllfa, yn dymuno "nos dda iddi." Os dilynir ef ymhellach, gwelir ef yn prysuro i'w fyfyrgell. Y mae ei deimladau yn awr bron tori dros yr ymyloedd, ar ol yr ymddyddan a grybwyllwyd uchod. Nid oes dim anghen heno i ddarllen Pope a Byron i ysbrydoli ei awen, mewn trefn i ddesgrifio ei theimladau. Ymeifl yn ei ysgrifbin ar unwaith, a rhydd ar lawr, mewn cân fer, ond cynnwysfawr, agwedd ei meddwl, ei syniadau toddedig, ei gweddi daer, ei hiraeth dwfn, a'i hymddiried llawn yn y Gŵr sydd yn marchogaeth y llifeiriant.

"Gorphwys don! dylifa 'n llonydd,
Paid a digio wrth y creigydd;
Y mae anian yn noswylio,
Pam y byddi di yn effro?
Dwndwr daear sydd yn darfod,—
Cysga dithau ar dy dywod.

Gorphwys fôr! mae ar dy lasdòn,
Un yn dwyn serchiadau 'nghalon;
Nid ei ran yw bywyd segur,
Ar dy lifiant mae ei lafur;
Bydd dda wrtho, fôr diddarfod,
Cysga 'n dawel ar dy dywod.

Paid a grwgnach, bydd yn ddiddig,
Dyro ffrwyn yn mhen dy gesyg;
A pha esgus i ti ffromi?
Nid oes gwynt yn mrig y llwyni:
Tyr'd â bâd fy ngŵr i'r diddos
Cyn cysgodion dwfn y ceunos.

Byddar ydwyt i fy ymbil,
Fôr didostur! ddofn dy grombil:
Trof at Un a all dy farchog
Pan bo'th dònau yn gynddeiriog;
Cymer Ef fy ngŵr i'w gysgod,
A gwna di 'n dawel ar dy dywod."

Os dygwydd i'w awen gael ei thaflu i ganol dyfroedd terfysglyd siomedigaethau y llawr, clywir ei llais dystaw main yn cyhoeddi, "Fôr, gostega!" uwch ben yr ystorm. Gwelir yn y fan y seren hwyrol o bell yn dechreu gwneuthur ei hymddangosiad rhwng goblygion tewion y cymylau—rhagarwydd bob amser o hin dawel a diderfysg. Try y gwyllion o dan ddylanwad ei awen yn oleu ddydd, a thröir tristwch yn orfoledd. Os ymddengys yn ein plith yn achlysurol yn ngwisg y fellten, ac os llefara wrthym weithiau yn llais y daran, gwna hyny er mwyn i ni ei glywed yn cyhoeddi *tangnefedd* yn fwy hyglyw. Glŷn ein serch ato fel bardd, yn benaf, oblegid tuedd ei farddoniaeth i sirioli y meddwl. Try yr "ochr oleu i'r cwmwl" yn wastad atom. Ni adawa i'r cawodydd wlawio arnom heb gyfeirio ein golygon at enfys y cyfammod sydd yn gwenu uwch ein penau. Ymddengys ein bywyd iddo ef yn olygfa o gyfaredd (*enchantment*). Edrycha ar ein daear fel gardd lle y tyf pob pren dymunol. Bydd pob mieren a dyf ynddi yn fieren Fair (*sweet brier*); ceir gwyrddlesni hyd yn nod ar y tywyn tywodlyd ganddo; cyfeiria ni at y blodion sydd yn estyn eu penau allan o'r anial a'r grug, a dengys i ni y lili sydd yn tyfu yn siglenydd y corsydd. Y mae ei farddoniaeth yn llawn o ystwythder, bywiogrwydd, a dysgleirdeb. Ymddengys iddo sugno ysbryd llawenydd yn anadliad cyntaf ei fodolaeth. A phan weithiodd hyn ar deimladau bywlwys a chrebwyll hoew a choethedig, daeth yn fyw i dderbyn argraffiadau annileadwy. Y mae yn wir yr arweinir y darllenydd yn fynych trwy olygfeydd pruddglwyfus wrth ddarllen ei gyfansoddiadau, yn neillduol ei ddarnau rhyddieithol. Ond nid ydym yn gwybod am yr un o honynt nad ydyw yn diweddu, nid yn nghanol chwerthin, ond yn nghanol sirioldeb digymysg. Tuedd naturiol tristwch bob amser ydyw adfywio yr ysbrydoedd. Gall y cristion weled gogoniant y trigfanau dedwydd yn fwy eglur wrth syllu arnynt trwy ddrychau dysglaer dagrau. Y mae ambell gyfansoddiadau, ar ol iddynt eich dwyn i ddyffryn galar, yn eich gadael yno am eich oes, os mynwch chwi. I newid y gymhariaeth; ar ol iddynt eich poeni am ddeugain mlynedd mewn anialwch gwag erchyll, suddant eich penau yn y diwedd yn nyfroedd yr hen Iorddonen cyn eich dwyn i Ganaan. Ond ar ol darllen cyfansoddiadau Alun, bydd y galon wedi ysgafnhau, a'r meddwl yn rhydd oddiwrth bob galar cyn cyfarfod â'r amen. Ysgydwir y pruddglwyf oddiwrthym, fel yr ysgydwa 'r alarch y dyferion gwlaw oddiwrth ei blyf, ar ol bod dan y gawod. Try ein golygon oddiwrth ddüwch noeth y mynyddoedd, fel yr ymddangosant i'r llygaid ar ddydd o Ragfyr, y rhai fydd yn orchuddiedig âg eira, ac hefyd oddiwrth goedwigoedd diddail, ac afonydd dan gloion oerion o rew,

allan o sŵn awelon gorgwynol y gauaf, i ymloddestu ganol dydd dan gysgodion gwyddgellau, pan bydd heulwen haf yn gwenu uwch ein penau—sef y tymmor y dilledir y ddol â chwrlid gwyrdd, yr addurnir y llwybrau â blodau, y lliwir y rhosyn yn goch, y lili yn wyn, a'r brialli yn felyn, pryd y clywir yr

"Adar yn mwyn ganu
Miwsig y nef yn ein mysg ni."

## WILLIAM CHARLES.[1]

Mae pob dyn, ond y ffol a'r rhyfygus, yn rhwym o deimlo graddau o bryder a phetrusder wrth ymgymeryd â gorchwyl fel yr eiddom ni yn bresennol; oblegid y mae ysgrifenu hanes, a desgrifio cymeriad dyn, yn waith o gryn anhawsder a phwysigrwydd. Os rhaid i'r ardebydd wrth fedrusrwydd a chelfyddgarwch mwy nag a fedd y lliaws, i dynu arlun o'r dyn oddiallan; os rhaid iddo wrth ddeheurwydd, a gamenwir weithiau yn athrylith, i roddi ystum y corff, a delweddau y wyneb, a mynegiad y llygad, ar y llian, ac i wneyd darlun digon tarawiadol i beri i hen wragedd—y rhai nid ydynt, yn y cyffredin, yn hynod gyfarwydd â'r celfau breiniol—ofni aros yn yr un ystafell âg ef, a ffoi o ŵydd y dyn sydd yn hongian ar y pared, ac yn edrych trwyddynt pa le bynag yr eisteddant—mae yn naturiol i ni dybied fod yn rhaid i'r bywgraffydd—y bywgraffydd a deimla yn bryderus am wneyd cyfiawnder â'i destun—wrth raddau helaethach o fedr a deheurwydd. Mae a fyno yr arlunydd â gwrthddrychau gweledig, gwrthddrychau a gynnwysir o fewn terfynau llywodraeth y synwyrau, a gwrthddrychau ag y gellir trosglwyddo syniad lled gywir am danynt mewn agweddau a lliwiau; ond mae a fyno y bywgraffydd â gwrthddrych annhraethol fwy pur, â gwrthddrych nas gellir ei weled, ei glywed, na'i deimlo; â sylwedd ysbrydol, heb ynddo faintioli gwybyddus, ac heb arno na lliw na llun; ac y mae yn rheidiol iddo, cyn yr ennilla radd dda ymhlith llênyddwyr, allu trin a thrafod *hwn*—ymaflyd ynddo, ei droi a'i drosi, ei ddwyn dan archwiliad manwl, fel y dygai yr offeiriad dan y gyfraith yr aberth; elfenu ei egwyddorion, a dadansoddi ei alluoedd, ei nwydau, a'i deimladau. Ni ddymunem i neb ddeall hyn yn yr ystyr uchaf, yn yr ystyr fwyaf hollol, ond mewn modd cymharol; oblegid gwyddom nas gall neb wneyd hyn yn berffaith ond y Duw a luniodd ysbryd dyn ynddo, o flaen llygaid yr hwn y mae pob meddwl, ac egwyddorion dirgelaf pob meddwl, yn noeth ac agored; ond, ar yr un pryd, mae yn wirionedd anwadadwy fod rhyw gymaint o allu cyffelyb yn ofynedig yn y neb a anturio anfon i'r byd lyfr neu draethawd yn proffesu bod yn hanes o fywyd, ac yn ddesgrifiad o nodweddiad un arall. Arlunydd yr enaid a ddylai y bywgraffydd fod. Hefyd, mae gorchwyl y bywgraffydd yn un tra phwysig, yn gystal ag yn un anhawdd, oblegid y mae mewn mantais i wneyd cam, a hyny, weithiau,

[1] Dichon fod enw William Charles yn anadnabyddus i rai o'n darllenwyr; ond gan ei fod yn ŵr ieuanc tra nodedig fel pregethwr, ac yn un o'r rhai mwyaf anwyl gan bawb a'i hadwaenai, barnasom ei fod yn deilwng o goffadwriaeth yn y "Traethodydd;" a gobeithiwn y bydd i'r hanes am dano fod yn foddion i ennyn graddau o'r un ysbryd mewn llawer o bobl ieuainc y Dywysogaeth.

yn ddiarwybod, â chymeriad eraill; a pha beth sydd ag yr ymgilia y meddwl haelfrydig a boneddigaidd oddiwrtho gyda mwy o ddychryn na gwneuthur camwri â choffadwriaeth y marw? Ar brydiau, gwneir cam â'r gwirionedd, a sarhëir synwyr cyffredin, trwy wneyd y corach yn gawr; a phrydiau eraill, gwneir cam â'r gwirionedd ac â phersonau, trwy daflu ammheuon am gywirdeb y gwir rinweddol, neu dynu llen rhyngom a'r gwir fawr, neu gysylltu rhyw ffoleddau â'r dyn yn ei goffadwriaeth, na wyddai ddim am danynt yn ei fywyd, ac felly, yn rhy ddiweddar iddo ymryddhau oddiwrth y cyhuddiadau. Oni ddyoddefodd llawer un yn ei goffadwriaeth oddiwrth anwybodaeth, diofalwch, neu ragfarnau eu bywgraffwyr? Nid yw John Milton yn ymddangos yn ddyn o galon dda a chydwybod anhyblyg yn "Mywydau y Beirdd," gan Johnson; ond pan ddarllenom ei hanes gan rai llai rhagfarnllyd na'r beirniad hwnw, mae y bardd yn ymddangos yn fawr ac yn dda, yn anferth ac yn lluniaidd—yn gawr yn mhob ystyr; mae yn sefyll ger ein bron fel creadur uwch na dynion marwol, ac ond ychydig—gadawer i ni fenthyca yr ymadrodd—"ond ychydig îs na'r angelion." A allai ein darllenydd brofi ein bod yn dywedyd rhywbeth amgen na gwirionedd, pe dywedem fod ei "Goll Gwynfa" yn llyfr tra adnabyddus ymhlith y bodau hyny? Os buont, weithiau, yn edrych dros ei ddalenau, oni tharawyd hwy â'r meddwl, Dyma ysbryd mewn tŷ o glai yn gwneyd ei ddynesiad atom ni? Wrth edrych ar John Milton oddiar safle briodol, ac ymddyosg oddiwrth bob rhagfarnau, yr ydym yn ei weled mor hardd ag ydyw o fawr. Mae y prydferthwch rhinwedd a sancteiddrwydd sydd yn dysgleirio yn ei gymeriad yn ein dwyn i'w garu, fel y mae mawredd ac ardduniant ei athrylith yn peri i ni fod yn fud yn ei bresennoldeb. Mae y cyfartaledd prydferthaf yn ei gymeriad—ei alluoedd meddyliol a'i egwyddorion moesol mewn cydbwysedd. Yr oedd John Milton yn ddyn, ac yn gristion, ac yn ysgolaig, ac yn fardd, ac yn dduwinydd, ac yn yr oll yn rhagori; ond nid i Samuel Johnson yr ydym yn ddyledus am wybod hyny. Oni buasai i eraill ysgrifenu yn fwy diduedd nag ef, ni buasai coffadwriaeth y gwron hwn mor fendigedig ag ydyw heddyw ar y ddaear. Gwyddom am amryw ysgrifau a ystyrid gynt, gan rai, yn hanesion awduredig o'n Hiachawdwr, ond mor fawr y gwahaniaeth rhyngddynt ag ysgrifeniadau yr efengylwyr; mor chwyddedig y naill, mor syml y lleill. Mae yr ysdorïau a adroddir ynddynt yn wrthun; ni fuasai dyn cyffredin, ac yn berchen dogn ganolig o synwyr cyffredin, ac yn cael ei lywodraethu gan egwyddor o rinwedd, byth yn cyflawni y gweithredoedd a gynnwysant, heb son am y

"Dyn â'r Duwdod ynddo'n trigo;"

"yn yr hwn y mae trysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig." Mor wahanol ydynt i ffeithiau ardderchog yr efengylwyr! Wrth eu darllen, byddwn weithiau yn arswydo, gan faint eu rhyfyg, ac weithiau yn chwerthin, gan faint eu hynfydrwydd; ac wedi prysur redeg drostynt, bydd megys bywyd o feirw i ni gael edrych i mewn i restr achau yr Iesu, gan Matthew a Luc, a darllen athroniaeth ddyrchafedig y duwinydd am y "Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Barnwn fod yr efengylau, yn annibynol ar eu dwyfol ysbrydoliaeth, ac ar fawredd eu testun, yn gynlluniau i'w hefelychu gan fywgraffwyr pob oes, ac yn enwedig felly gan fywgraffwyr gweinidogion yr efengyl. Ni ddarfu i serchogrwydd dwfn yr ysgrifenwyr at eu Harglwydd eu llithio—er y buasai hyny yn naturiol—i ysgrifenu eu hefengylau yn folawdiau iddo. Nid oedd raid iddo ef, yn aned neb, wrth

ganmoliaeth oddiwrth bryfed y llwch. Buasai y drychfeddwl am addurno y bwa yn y cwmwl, neu baentio yr haul hanner dydd, yn fil o weithiau mwy rhesymol na cheisio ysgrifenu molawd i'r Duw-ddyn. Yn hytrach, gadawer yr enfys fel y mae—bwa Duw ydyw, llaw yr Anfeidrol a'i plyg-odd, a bysedd y Creawdwr a'i prydferthodd, y Duwdod ei hunan a'i paent-iodd. Na chyffyrdded un angel âg ef, rhag iddo ei ddifwyno! Na ddeued Satan i'w gyffiniau yn ei wibdeithiau awyrawl! Bydded mor gysegredig ag ystafell y cerubiaid! ïe, meddwn, bydded mor gysegredig ag arch y dystiolaeth! Na chyffyrdded un ymyrwr âg ef, rhag ei daro yn farw! Yn nghanol cyfnewidiadau amser, mae yn wledd i'n llygaid gael edrych ar un gwrthddrych sydd yr awrhon fel yr oedd yn y dechreu. Wrth ei weled yn y cwmwl, yr ydym yn cael ein cario yn ol filoedd o flyneddau; yr ydym yn gweled y dwfr yn treio, a'r arch yn gorphwys ar fynydd Ararat; yr ydym yn mhresennoldeb yr hen batriarch, ac yn ymdeimlo yn batriarch-aidd. Yr ydym yr un mor eiddigeddus dros ogoniant brenin y dydd; mae ei belydrau mor adfywiol i ni yn nherfynau yr oesoedd, a phan lonasant ein tad Adda yn Mharadwys, a hwy fyddant i'r tô diweddaf o ddynolryw, fel yr oeddynt i Abel ac Ada; ni restrwn Cain gyda hwynt, oblegid nid oedd gan y llofrudd brwnt, creulawn hwnw, chwaeth at brydferthion natur, mwy nag at berffeithiau ei Duw. Ond er y teimlwn yn ddiolchgar am y bwa yn ei brydferthwch cyntefig; er y teimlwn yn ddiolchgar i Uriel am weinyddu ei raglawiaeth mor ddifai yn y byd o dân, yr ydym yn fwy diolchgar am hanes ein Gwaredwr, heb ei lychwino na'i ddifwyno gan neb na dim. Wrth ei ysgrifenu, ni ddarfu yr efengylwyr—parch iddynt byth, byth!—sefyll rhyngom ag ef; ni wnaethant ond ymaflyd yn ein llaw, a'n harwain o gelloedd tywyllion anwybodaeth i fryn gweledigaeth, a'n cyfeirio at y dwyrain, i weled y wawr yn tori ar fyd tywyll, a'r Haul yn cyfodi—"Haul cyfiawnder, â meddyginiaeth yn ei esgyll." Gwnant yr un peth â ni ag a wnaeth y seren â'r doethion—ein harwain at Grist. Ni cheisiasant addurno y Perffaith, na rhoddi un chwanegiad at anfeidroldeb. Mae yn wir nad allasai neb ysgrifenu yr efengylau ond y rhai a'u hysgrifenasant. Pe na buasem yn gwybod dim am eu hawdwyr, gallasem gasglu yn ebrwydd, wedi dyfod i gyffyrddiad â'u gweithiau, mai dynion ymlyngar wrth yr Iesu, a llawn o anwyldeb ato, a'u cyfansoddasant. Mae eu pinau ysgrifenu wedi eu gwlychu mewn cariad, a gallwn ddychymygu fod y pedwar

"yn wylo cariad pur yn ddagrau melus iawn,"

wrth olrhain achau yr Iesu hyd at Dafydd, Abraham, Adda, a Duw, wrth adgofio ei eiriau grasusol, croniclo ei weithredoedd nerthol, ac adrodd hanes ei farwolaeth a'i adgyfodiad. Ond er yr anwyldeb dwfn oedd ynddynt at eu Harglwydd, a'r meddwl mawr oedd ganddynt am dano, nid yw eu cyn-nyrchion ond y traethodau symlaf "am yr holl bethau a ddechreuodd yr Iesu eu gwneuthur a'u dysgu;" ac wedi mynegu yr hyn a ddywedodd ac a wnaeth, yr ydym yn gweled Iesu; mae y Duw-ddyn yn ei fawredd yn sefyll yn ein gŵydd; mae yr arlunwyr yn ymguddio yn y cysgod, a'r gwrthddrychau eraill ar y darlun yn ymfychanu yn y pellder, ac yr ydym ninnau, fel yr apostolion ar fynydd y gweddnewidiad, "heb weled neb ond yr Iesu yn unig." Dengys hyn, anwyl ddarllenydd, bwysigrwydd byw-graffyddiaeth. Pe na buasai genym un hanes am Iesu Grist ond yr ysto-rïau a gynnwysir yn yr efengylau ammheuol (*Apocryphal Gospels*) y cyfeir-iwyd atynt—"Yr Efengyl yn ol Thomas," a'r "Efengyl yn ol Nicodemus,"

"Hanes Joseph y Saer," a "Hanes Mebyd y Prynwr," a'r cyffelyb ffoleddau—buasai pob meddwl pryderus am iachawdwriaeth yn rhwym o deimlo ammheuaeth am gymhwysder yr Iesu fel gwrthddrych ei ffydd a'i obaith; nid allasai adnabod Messias y prophwydi yn Iesu Grist yr ysgrifenwyr hyn; ond wrth ymgydnabyddu â'r efengylau canonaidd, gall deimlo eu tystiolaethau yn ddiysgog fel y creigiau, a'u ffeithiau yn gedyrn fel mynyddoedd Duw; gall roddi goglud ei enaid arnynt, ac nis gwaradwyddir ef byth.

Fe allai yr ystyria y darllenydd y sylwadau hyn yn afreidiol; addefwn ninnau yn rhwydd eu bod mewn rhan, ond nid yn gwbl; a'n hunig esgusawd drostynt ydyw, fod yr hyn a grybwyllasom, sef yr anhawsder a'r pwysigrwydd sydd yn nglŷn â'r gangen hon o lênyddiaeth, yn bethau ag y byddai yn fuddiol i'r dosbarth mwyaf lliosog o ysgrifenwyr cofiaint yn y cyhoeddiadau cyfnodol eu hystyried yn fwy; pe y gwnaent, yr ydym yn cwbl gredu y byddai eu cynnyrchion, rhagllaw, yn fwy tebyg i ymweliadau angelion—"*few, and far between,*" ac nid yn fwy tebyg iddynt yn unig yn eu hanamledd, ond hefyd yn eu teilyngdod o groesaw pan ddeuant.

Ond bellach at ein testun—*William Charles.* Yn gyntaf, rhoddwn yr ychydig a allasem gasglu o hanes ei fywyd; ac yn ganlynol, gwnawn rai dyfynion o'i lythyrau a'i bregethau, ynghyd âg ychydig nodiadau ar ei gymeriad fel pregethwr.

Ganwyd William Charles Hydref 1af, 1817, mewn lle o'r enw Tŷ Newydd, yn mhlwyf Gwalchmai, Môn. Ei rieni, John a Grace Charles, ydynt yn aros hyd yr awr hon. Ei daid, o du ei fam, oedd Hugh Jones, yr Hafod, Llangwyllog, yr hwn oedd ddiacon gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, ac a ennillodd iddo ei hun, yn y swydd hòno, "radd dda, a hyfder mawr yn ffydd Crist." Yr oedd hwn yn un o'r ychydig hyny o henuriaid a gynnysgaethwyd â gradd anghyffredin o gymhwysder i fugeilio eglwys Dduw. John Charles sydd weinidog gyda'r un cyfundeb, ac a berchir yn fawr gan ei holl gydnabyddion. Ei nodweddiad fel dyn, ydynt symlder a diniweidrwydd. Y mae mewn gwirionedd yn un o rai llariaidd y ddaëar. Mae twyll a dichell, a phob peth sydd yn ymylu ar hyny, yn annhraethol bell oddiwrtho. Nid oes ynom ammheuaeth y buasai Mab Duw yn dyweyd am dano yntau, fel am Nathanael, "Yn yr hwn nid oes dwyll." Ei hynodion fel pregethwr ydynt, llais mwyn a soniarus, traddodiad hapus a naturiol, rhwyddineb ymadrodd—weithiau i ormodedd—ac efengyleiddrwydd ysbryd. Mae pob dyn synwyrol yn sicr o deimlo wrth ei wrandaw, ei fod "yn ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd." Ni buasem yn cymeryd ein rhyddid i ddywedyd cymaint a hyn am yr hen weinidog, ac efe yn fyw, oni buasai, yn gyntaf, ei fod yn dwyn cysylltiad mor agos â gwrthddrych ein hysgrif, ac yn ail, ei fod yn rhy anadnabyddus i'w genedl. Y mae, ysywaeth, wedi cymeryd y gair hwnw, "*gwarchod gartref,*" yn arwyddair, ac yn rheol ar hyd ei fywyd, heb ystyried mai ar y gwragedd ieuainc yr argymhellodd Paul y ddyledswydd, ac nid ar weinidogion yr efengyl. Ar yr un pryd, nid oes ganddo ef yr un gwrthwynebiad i deithio, fel *pwnc,* ond yn unig fel *ymarferiad personol.* Mae yn foddlawn i bawb deithio ond John Charles.

Pan oddeutu tair blwydd oed, bu William yn glaf, ac yn agos i angeu. Un diwrnod, aeth ei dad at ochr ei gryd, lle y gorweddai ymron marw, yn ol pob ymddangosiad; ond, er ei fawr syndod, agorodd y plentyn ei lygaid, edrychodd ar ei dad, a dywedodd y darn pennill hwnw—

"Mae 'r Oen fu ar Galfaria—wrth fy modd."

Wedi hyny, gwellhaodd yn fuan. Pa un a oedd y plentyn yn ymwybodol o'r hyn a ddywedodd, nis gallwn benderfynu. Dywedir am Thomas Brown, yr athronydd Albanaidd, ei fod, pan ond blwyddyn yn henach na William Charles yr adeg hon, ar ei liniau o flaen y Bibl Teuluaidd, yn ceisio cysoni tystiolaethau yr efengylwyr am adgyfodiad Crist. Ymwybodol neu anymwybodol, wrth feddwl am yr arbenigrwydd a roddai i Grist a'r groes, a'r "bryn a ordeiniodd Duw," yn ei weinidogaeth wedi hyny, nis gallwn edrych ar y ffaith ei fod yn bloesg-siarad am danynt pan yn faban, heb raddau o ddyddordeb. Fe allai, a phwy a all ammheu, fod Crist yn cael ei ffurfio yn ei galon yn yr oedran ieuanc hwn. Magwyd ef yn eglwys Dduw, ac addysgwyd ef yn foreu yn mhethau Duw, a dangosodd yn fuan fod ganddo archwaeth atynt. Nis gallwn lai nag edrych ar ei gartref fel math o ysgol i'w gymhwyso i'r weinidogaeth. Mae dau a fagwyd yno, yn awr yn y weinidogaeth, a dau eraill, heblaw William, wedi huno; y naill oedd Hugh Charles, yr hwn oedd yn bregethwr da a chymeradwy; y llall oedd Thomas Charles, yr hwn, er nad wedi dechreu pregethu, a ymddangosai yn hynod addawol. Dangosodd William yn foreu duedd i bregethu. Byddai ganddo lleoedd penodol, ac amserau nodedig, bob dydd i bregethu; ac er ei fod, fel plant yn gyffredin, yn hoff o chwareu, eto, pan ddeuai yr amser, gwelid ef yn ymgilio oddiwrth ei gyfoedion at ei bleser penaf. Nid oedd yn boblogaidd y pryd hyn, oblegid, y rhan amlaf, efe ei hun fyddai y cwbl—y pregethwr a'r gynnulleidfa, blaenor y gân, a'r cyhoeddwr. Nid ymddengys yr ystyriai hyn fel rhan o chwareu, ond cysylltai ryw gysegredigaeth â'i wasanaeth plentynaidd. Pan deimlai yn lled chwareus, äi i'r cae i roddi gair o gynghor i'r lloi a'r ceffylau. A oedd yn ystyried y bodau hyn yn "ddeiliaid moddion moesol," nis gwyddom; ac a fyddai dyrchafiadau ei lais yn dylanwadu mewn rhyw fodd ar y dosbarth direswm o greaduriaid, nis gwyddom; ond hyn a wyddom, ddarfod iddo, mewn blynyddau diweddarach, daflu gemau o flaen creaduriaid a ystyrient eu hunain yn rhesymolion, na wnaethant nemawr fwy o ddefnydd o honynt nag a wnaethant hwythau. Elai trwy y gwasanaeth yn yr ystafell gartref, yn ol y ffurf arferedig yn y capel; canai, darllenai, gweddïai, a phregethai. Deallwn nad oedd yr adeg hon yn rhydd oddiwrth y pechod o efelychu. Nid dynwared llais nac ystumiau y pregethwr a wnai, ond ei bethau amgylchiadol. Wedi gweled botasau gan bregethwr, meddyliai yntau fod botasau yn *conditio sine qua non* i gyflawni ei weinidogaeth, ac ymaith âg ef i ymofyn am hen fotasau, yn y rhai y byddai, o leiaf, hanner ei ddyn oddiallan yn guddiedig. Os gwelai y pregethwr yn gwisgo *ysbectol*, mynai yntau un; ac nid un wirioneddol a fyddai, ond un ddynwaredol—*ysbectol* o bren neu wellt. Wedi clywed gŵr dyeithr o'r Deheudir yn darllen ei destun yn Seisneg, nid allai yntau feddwl pregethu, am amser wed'yn, heb wneyd yr un peth. Fel hyn, pan oedd ein diweddar gyfaill yn blentyn, ac, wrth gwrs, yn blentynaidd, yr oedd efelychu yn brofedigaeth iddo; ond pan dyfodd yn ddyn, pan ddaeth ei enaid i faint, pan ddaeth yn ymwybodol o'i alluoedd a'i adnoddau ei hun, taflodd y tegan hwn ymaith am byth, ar unwaith a'r *top* a'r *marbles*, gan ystyried y naill fel y llall yn annheilwng o urddas gŵr. Nid ymostyngai i ddynwared neb, ac nid oedd raid iddo wrth hyny, yn gymaint a'i fod yn feddiannol ar gymeriad ei hun; yr oedd yn berson yn pregethu ac yn meddwl, ac nid yn *beth* yn tori geiriau ac yn gwneyd swn; yn ddyn

ar ei ben ei hun, ac nid yn rhwym dragywyddol wrth y telpyn—dynolryw. Dywed un o'i berthynasau, fod ei bregethau y pryd hyny mor sylweddol ag ambell un a glywir o'r pulpud y dyddiau hyn. Dichon, meddwn ninnau, eu bod; ar yr un pryd, mae yn fwy na thebyg nad oeddynt yn ddim amgen nag a allesid ddysgwyl oddiwrth blentyn lled feddylgar. Byddai rhai yn beio y bachgen, ac eraill yn beio ei rïeni am ei oddef, meddent hwy, i gellwair â phethau sanctaidd. Gwnaed pob ymdrech i'w attal i hyny gan ei dad; ond nid oedd dim yn tycio; pregethu a fynai William. Yr oedd yn teimlo fod rhyw fath o anghenrheidrwydd arno i bregethu, er na fyddai ganddo neb i'w wrandaw. Un o nodweddau y meddwl difrifol a phenderfynol ydyw, *teimlad o anghenrhaid*. Am y gwammal a'r ansefydlog, nid oes yr un anghenrhaid yn perthyn i'w fywyd, ac am hyny, "mae fel y llong ar y cefnfor, heb raff, heb lyw, heb angor," yn hollol dan lywodraeth, ac wrth drugaredd, gwyntoedd amgylchiadau. Mae yn gwammalu, yn sefyll yn segur, ac yn edrych o'i amgylch yn marchnad bywyd, heb deimlo fod ganddo neges bwysig ynddi; ond am y gwir ddifrifol, mae yn ymsynio fod rhyw *raid* mawr yn ei fywyd. Gŵyr mai nid i chwareu y daeth i'r byd. Mae ganddo neges o bwys ar y ddaear, ac y mae yn *rhaid* iddo ei gwneyd. Teimla fod Duw wedi ei osod mewn goruchwyliaeth, a bod yn *rhaid* iddo ei chyflawni yn ffyddlawn. Gŵyr fod ganddo neges, a gŵyr pa beth yw; ac nid oes ond angeu a'i lluddia i'w chyflawni. Un fel hyn oedd y dyn Crist Iesu. Ei neges oedd yn llyncu ei holl feddwl, ni wyrodd fynyd oddiwrthi; yr oedd ei lygaid yn sefydlog ar y nod nes ei gyrhaedd. Un fel hyn oedd Paul, un fel hyn oedd Luther, un fel hyn oedd John Howard—nid allasai dim beri i'w feddwl haelfrydig wyro oddiwrth ei amcan. Dynion fel hyn oedd Wesley a Whitfield, Charles ac Elias; ac, i fesur mawr, yr oedd y nodwedd hwn yn amlwg yn William Charles. Pregethu Crist oedd pwnc mawr ei fywyd. Pan yn blentyn, yn llanc, yn efrydydd yn yr ysgol, ac yn wael ei iechyd, yr oedd ei enaid yn orlawn o ysbryd pregethu.

Pan oddeutu tair ar ddeg oed, ymaflodd pryder dwys yn ei feddwl ynghylch ei sefyllfa ysbrydol, pryd y ciliodd oddiwrth ei gyfeillion boreuaf; rhoes heibio bob math o chwareu, gadawodd ei arferiad o bregethu am dymmor, a newidiodd ei dymher o sirioldeb a digrifwch i ddwysder a sobrwydd. Wrth ganfod arwyddion eglur o dduwioldeb ynddo, cymhellwyd ef i weddïo yn gyhoeddus; a hysbysir ni fod ei ddawn a'i daerineb mewn gweddi, ynghyd â'r effeithiau dymunol fyddai yn canlyn, yn peri syndod trwy yr holl ardal. Pan yn bedair ar ddeg, derbyniwyd ef yn gyflawn aelod o'r eglwys yn Gwalchmai; a chyn pen y flwyddyn, cymhellwyd ef i ddechreu oedfaon, "pryd," meddai yr un gwr, "y byddai y gweddïwr a'r weddi yn taflu y pregethwr a'r bregeth yn fynych i'r cysgod." Yn y cyfamser, cafodd glefyd trwm, a bu yn wael am fisoedd, ac ni chyrhaeddodd byth mwy i'w iechyd a'i gryfder blaenorol. Wedi gwellhau ychydig, anfonwyd ef i'r ysgol i Fodedern, yr hon a gedwid gan y Parch. William Roberts, yn awr o Runcorn, dan arolygiaeth ofalus yr hwn y daeth ei feddwl i ddechreu ymgydnabyddu âg amryw o gangenau gwybodaeth. Ysgrifena Mr. Roberts am dano fel y canlyn:—"Bu William Charles gyda mi am oddeutu blwyddyn yn Bodedern, ac oddeutu blwyddyn a chwarter yn Caergybi. Pan y cyflwynwyd ef gyntaf i'm gofal gan ei dad, nid oedd ond bachgenyn; eithr deallais yn fuan ei fod, fel Timotheus 'yn gwybod

yr ysgrythyr lân,' a'i fod yn gyfranog o ffydd ddiffuant, yr hon a drigai yn ei dad a'i fam. Hawdd ydoedd casglu oddiwrth ei dymher fwynaidd, ei eiriau grasol, ei wyliadwriaeth cyson, a'r parchedig ofn a'i llywodraethai pan yn ymarfer â phethau cysegredig, fod egwyddorion rhinwedd a chrefydd wedi eu planu, ac wedi gwreiddio yn ngwinllan ei feddwl. Gwelid fod ynddo, fel yn Abïa, 'beth daioni tuag at Arglwydd Dduw Israel,' a'i fod 'yn ofni yr Arglwydd o'i febyd,' fel Obadïa. Eisteddai diniweidrwydd ar ei wedd, ymwthiai hynawsedd o'i lygaid, dyferai gwirionedd oddiar ei wefusau, gorphwysai gonestrwydd yn ei ddwylaw, a'i draed a gerddent yn ffordd tangnefedd, rhinwedd, a duwioldeb. Argyhoeddid pob meddwl fod y bachgen yn ymdrwsio oddifewn â gostyngeiddrwydd, a'i fod yn cael ei gymhwyso gan Ben yr Eglwys at wasanaeth y cysegr. Yn ei holl ysgogiadau a'i weithrediadau, yn ei letŷ ac yn yr ysgol, dangosai 'ymysgaroedd trugareddau;' ac er y cyfranogai yn helaeth o ddiniweidrwydd y golomen, eto nid oedd amddifad o gallineb y sarff. Gwyliai gyda'r dyfalwch mwyaf rhag archolli teimladau ei gydysgoleigion, ac ar yr un pryd, gofalai gyda deheurwydd hynod na roddai fantais nac achlysur iddynt ei fathru yntau. Pan y dygwyddai i un o'r ysgoleigion gyflawni rhyw drosedd a fyddai yn galw am gerydd, a phan yr appelid ato am y gwirionedd mewn perthynas i'r ymddygiad beius, adroddai y gwir gyda'r fath onestrwydd nes ennill serch a hyder ei athraw, ar un llaw, a chyda'r fath hynawsedd a thiriondeb, nes cynnyrchu teimlad caredigol, a chryfhau anwyldeb yn mynwes ei gydysgolor, ar y llaw arall. Dylanwadai ei ddullwedd o lefaru ar y cyfryw achlysuron gymaint fel y tynerid meddwl yr athraw, ac yr effeithid ymostyngiad yn agwedd yr ysgolor. Wynebpryd y troseddwr a argoelai obaith a llawenydd, pan ymddangosai William Charles fel dadleuydd drosto. Yr oedd mewn ffafr gyda'r holl blant. Ymgynnullent o'i amgylch, gwnaent unrhyw beth er ei foddhau, sychedent am ei gymeradwyaeth, a llwythent ef â'u hanrhegion. Ni welais neb erioed mewn cymaint o fri ymhlith ei gydysgoleigion ag ef. Lletyai ar y pryd yn nhŷ Thomas Parry, Tŷ main, Bodedern, yr hwn, pan sonid am William Charles yn ei glyw, a ysgydwai ei ben, gyda chymysgedd o ddifrifwch a gwên, gan ddywedyd, 'Bachgen hynod o dduwiol yw William.' Yma gallem sylwi, fod priodoliaethau ei gyfansoddiad yn dra manteisiol er arddangos rhinwedd a chrefydd. Llawer ydynt o dan anfantais o herwydd hyn. Arferai, hyd yn nod yr amser hwn, weddïo yn gyhoeddus, a thra grymus oedd y dylanwad cydfynedol â'i ymadroddion. Yr un ydoedd ei ymddygiad pan gyda mi yn Nghaergybi. Rhaid i mi gyfaddef, na welais erioed orphwylledd yn ei dymher, na chlywais eiriau masweddol na segur o'i enau, na welais anystyriaeth gwageddol yn ei ymddygiad, dim balchder na hunan-dybiaeth yn ei ddull na'i ymadroddion, dim twyll na dichell ynddo, dim i anmharu fy ymddiried ynddo fel cyfaill ffyddlawn a chywir. Diau ei fod yn ymwybodol o'i waeleddau ei hun, ond cuddiwyd hwy oddiwrthyf fi. Testunau ei fyfyriaeth tra gyda mi oeddynt, rhifyddiaeth, gramadeg Seisneg, daearyddiaeth, defnydd y mapiau a'r globau, hanesyddiaeth, cyfansoddiad Seisneg. Gwnaeth gryn gynnydd mewn gwybodaeth o'r cangenau uchod, ond nid cymaint a rhai eraill a fuont dan fy ngofal. Priodolwn hyny, nid i ddiffyg talentau ynddo, eithr i'w ymroddiad i waith y weinidogaeth, fel yr ymddangosai yn ei elfen pan yn cyfieithu llyfrau duwinyddol o'r Seisoneg i'r Cymraeg. Dywedodd wrthyf

unwaith ei fod yn benderfynol nas gallai ymenwogi mewn dysgeidiaeth, ond ei fod yn teimlo yn dra awyddus i gyrhaedd cymaint o ddysg ag a'i galluogai i ddefnyddio awduron Seisoneg, yr hyn a wnaeth yn effeithiol.

Y lle y dechreuodd bregethu gyntaf yn nghymydogaeth Caergybi oedd ysgoldŷ Penrhos Feilw, a'r modd y dygwyd hyny oddiamgylch oedd fel y canlyn:—Yr oeddid wedi cyhoeddi y Sabboth i mi fod i bregethu yno nos Fercher; a chan y teimlwn awydd cryf i'w galonogi yn ei amcan, hysbysais ef y dysgwyliwn iddo ddechreu y gwasanaeth. Nid oedd ei achos eto wedi ei gyflwyno i sylw Cyfarfod Misol y sir, gan hyny annogais ef i roddi pennill i'w ganu, yna gweddïo, ac yna darllen pennod, gan wneyd sylwadau arni fel yr elai ymlaen, a thraethu yn helaeth ar ryw adnod neillduol. Cydsyniodd â'm cais, a phregethodd yn dra melus, er syndod i bawb oedd yn bresennol, a chydag effeithiolrwydd hynod, ar y geiriau, 'Minnau ydwyf dlawd ac anghenus; eto yr Arglwydd a feddwl am danaf.'"

Buasai yn pregethu heblaw y tro a grybwyllwyd cyn ei dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol, a chyn bod yn llawn dwy ar bymtheg oed. Yr achlysur iddo bregethu y tro hwn, oedd, iddynt gael eu siomi am y pregethwr a ddysgwylient. Ei destun oedd *Diar.* xviii. 24; ac yr ydym yn deall fod y gynnulleidfa yn ymadael wedi ei mawr foddâu. Dechreuodd bregethu yn rheolaidd cyn bod yn llawn pedair mlwydd ar bymtheg oed. Symudodd i athrofa y Bala pan yn ugain oed. Cawn ychydig linellau ar hyn yn ei ddyddiadur, wedi eu hysgrifenu ganddo ef ei hun:—"Aethum i'r Bala pan yn ugain oed, bûm yno hyd yn dair ar hugain. Cefais addysg dda, a rhoddwyd fi ar ben y ffordd mewn llawer o bethau. Teimlwyf barch byth i'm hathrawon, Mr. Edwards a Mr. Charles. Priodais yn bedair ar hugain. Yr wyf yn awr yn naw ar hugain, wedi bod yn llafurio gyda'r gwaith am ddeng mlynedd. Cefais lawer o hyfrydwch yn pregethu Crist i bechaduriaid. Teimlais hyny yn foddion gras i mi fy hunan. Parhaodd fy iechyd yn wanaidd dros yr holl amser. Ystyriaf mai hyn oedd oreu i mi yn ngolwg fy Nhad nefol. Bûm yn mhob sir o'r Gogledd, dwywaith yn Nublin, dwywaith yn Liverpool a Manchester, a dwywaith yn y Deheudir; er hyny, yr wyf yn teimlo mai gwas anfuddiol ydwyf. Diwedd y flwyddyn 1845, cymerwyd fi yn waelach o lawer nag arferol, fel yr attaliwyd fy llafur trwy y flwyddyn 1846. Ni bûm yn pregethu ond pedair gwaith, eto ystyriaf y flwyddyn hòno mor uchel, ar ryw gyfrifon, ag un yn fy oes. Nis gallaf ddyddio amser fy nhröedigaeth; dygwyd y gwaith ymlaen yn raddol ynwyf; gwelais fwy o ddrwg pechod y flwyddyn ddiweddaf nag erioed. Daethum i garu crefydd ynddi ei hun; profais raddau o'r tangnefedd sydd uwchlaw pob deall. Daeth fy meddwl i fwynhau tawelwch. Diolch i Dduw am ei ymweliadau! Da yw i mi fy nghystuddio.—WILLIAM CHARLES."

Mae genym wrth law lythyr a anfonwyd ganddo, yn y cyfnod hwn o'i fywyd, at gyfaill iddo, Mr. John Thomas, Gwalchmai, yr hwn, ar y pryd, oedd yn glaf o'r clefyd y bu farw o hono. Tueddir ni i adysgrifenu y llythyr, am ei fod, o herwydd ei ragoriaethau, yn wir deilwng i'w roddi mewn cof a chadw, ac am ei fod yn ddarlun cywir o'r ysgrifenydd. Os ewyllysia y darllenydd gael drychfeddwl cywir pa fath un oedd William Charles, ni a allwn sicrhau iddo mai un fel y llythyr canlynol yn gymhwys yr ydoedd. Y mae yn bortread mor gywir o hono ag ydyw llythyrau Foster neu Cowper o honynt hwy.

"*Bodwrog, Tachwedd 22ain*, 1843.

"ANWYL FRAWD,—

"Yr ydwyf, yn benaf dim, yn dymuno i chwi lwyddo a bod yn iach, gan obeithio y gallaf ddweyd fel Ioan am Gaius, 'Fel y mae dy enaid yn llwyddo.' Ni a dybiwn mai gwael ei iechyd oedd ef, a gwanaidd o gorff, a'r olwg arno yn llwydaidd, eto ei enaid yn gryf, fel pren yn llawn ffrwyth, neu ardd gauedig, lle y deuai yr Anwylyd i gasglu ei fyrrh gyda 'i berarogl; a dymunai Ioan iechyd a llwyddiant ei gorff yn gyfatebol. Yr ydwyf yn barod i alw i'm cof, fel Paul am Timotheus, y ffydd ddiffuant sydd ynoch, yr hon a drigodd yn eich taid W. T., ac yn eich tad a'ch mam, a diammhau genyf ei bod ynoch chwithau hefyd; gan hyny, goddefwch gystudd, yn ol nerth Duw, yr hwn a'ch hachubodd, ac a'ch galwodd â galwedigaeth sanctaidd. Ymnerthwch yn y gras sydd yn Nghrist Iesu. Tynwch bob dydd ar *fank* rhad ras. Cewch yno wialen i hollti môr, a phren i bereiddio pob Mara; hyn a bair lynau yn Baca, ac a ddyry destun cân ar làn afonydd Babilon.

Pa le yr ydych, anwyl frawd? Mae eich lle yn wag yn y capel; ni chlywaf eich llais yn nghaniadau y dorf; pan eilw eich tad y llyfr, gan eich enwi chwi, nid oes neb yn ateb. Pa le yr ydych? Os dringaf i'r nefoedd, caf yno eich taid a'ch chwaer; a W. T., Pen yr aled, wedi eu *joinio* er boreu Sabboth,

'A'u holl gadwynau 'n chwilfriw mân,
A'u cân am Galfari;'

Ond pa le yr ydych *chwi*? Ai mewn pair cystudd? Ai yn Patmos, fel Ioan? A oes swmbwl yn y cnawd, fel Paul? Ai cloff ydych, fel Jacob? Bob tro y meddyliai Jacob am ei gloffni, cofiai y fendith a gafodd yn y tro. Paul, yntau, a redai at ddigon o ras dan boen y swmbwl. Gwaeddodd Ioan, '*Amen*,' pan oedd Iesu ar ganol dywedyd, 'Yr hwn wyf fyw, ac a fûm farw.' Patmos neu beidio, y mae ei *amen* i'w weled yn siriol ar ganol yr adnod, hyd heddyw. Peth anmhosibl mewn natur yw casglu grawnwin oddiar ddrain, neu ffigys oddiar ysgall; ond nid felly mewn gras; ceir yma bob peth yn cydweithio er daioni. Ceir bwyd allan o'r bwytâwr, a choron o'r groes! Byddai Paul yn son am y 'gadwyn hon' weithiau, ond yr oedd 'coron cyfiawnder' ganddo yn ei olwg. 'Nid yw dyoddefiadau yr amser presennol yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddadguddir i ni.' Teimlaf ar fy nghalon ddiolch y mynyd hwn; cydymaith i chwi mewn cystudd wyf finnau, fy anwyl frawd. Ond yn y ffwrn, a gaiff fy niolch gwan i daro yn eich diolch chwithau, nes bod yn *echo* yn byddaru Satan, ac yn peri iddo ffoi! O! anwyl gyfaill, mae genym Dduw a all ein llawenhau 'yn ol y dyddiau y cystuddiodd ni, a'r blynyddau y gwelsom ddrygfyd.' Trwy y carchar yr aeth Joseph i'r ail gerbyd; trwy y cawell brwyn y cyfododd Moses yn flaenor ar Israel; a 'thrwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid myned i deyrnas Dduw.' 'Caffed amynedd ei pherffaith waith.' Mae yn rhaid i ni wrth amynedd. Mae genych chwi lawer o ffynnonau ag y gellwch dynu dwfr cysur o honynt. Ystyriwch y lle yr ydych. Nid fel Abïa, mewn tŷ eilun-addolgar; nac fel Obedïa, mewn ofn cael ei ladd gan Ahab; nac fel Joseph, mewn Aipht, ymhell o dŷ ei dad; na, y mae eglwys yn eich tŷ chwi. Y rhai oedd felus genych gydgyfrinachu, a rhodio i dŷ Dduw ynghyd, ydynt dan eich cronglwyd. Nid oes neb o'ch brodyr am eich gwerthu; na neb o'ch cyfeillion yn gysurwyr gofidus i chwi, megys i Job, ond pawb yn siriol, a'u gweddi drosoch oll sydd er iachawdwriaeth. Fy meddwl i yw, nad yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw. Gosodwyd swp o ffigys wrth gornwyd Hesecia, ac efe a fu iach; gall Duw fendithio moddion er eich gwella chwithau. Na lwfrhewch, fe fydd eich cryfder yn heinif eto. Dichon y byddwch, weithiau, yn ofidus eich meddwl (fel y gwn i yn brofiadol) wrth weled eraill yn iach a heinif, a chwithau yn rhwym. Yn hyn na ddigalonwch; os rhaid i chwi fod mewn anialwch am ychydig eto, cyn cyrhaedd Canaan iechyd, gwnewch yn fawr o'r manna a'r graig; eich craig yw Crist, a'r dwfr sydd fywiol. Os yn Babilon, agorwch eich ffenestri tua Jerusalem; ïe, mae yn werth cofio y deml sanctaidd o fol pysgodyn. Ceir dwfr o bydew Bethlehem, trwy bibellau y gair, i'r gwely

cystudd. Y mae potelau angeu y groes yn cynnal yn awr y brofedigaeth. Ymgysurwch âg afalau yr addewidion, gan gofio mai 'yn eu holl gystudd hwynt, Efe a gystuddiwyd.' O Iesu anwyl!—da genyf roddi ei enw ar bapyr. Pa le y mae fy nghaethiwed i yn y *frest*, a'ch poen chwithau yn yr aelod, yn ymyl dyoddefiadau Crist? Maent wedi eu colli o bell! A wnawn ni mwy ond caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb? Gellir dywedyd am danaf fi fel y dywedodd Paul am Epaphroditus, 'Yn wir, efe a fu glaf, ac yn agos i angeu; ond Duw a drugarhaodd wrtho ef' am beth amser. Eithr nid wyf yn ystyried fy hun ond ar fin fy medd; eto, diolchwn am gael byw, yn enwedig byw i wneuthur rhywbeth dros Grist. Dyma y fraint fwyaf yn y byd! O, am fod yn ffyddlawn! Tynwch chwithau eich iechyd o'r un fan. Mae gan yr Iesu lawer i'w ddyweyd wrth glefydau eto, ac y mae yn anrhydedd genyf gael ymddiried ynddo. Er ei fod yn y nefoedd o ran ei ddynoliaeth, mae ei awdurdod ar bob cnawd ac ar bob peth.

Dysgwyliaf eich gweled yn iach yn fuan. Cymerwch galon; os yn y carchar yr ydych, mae gan Dduw angelion a fedrant fyned yno, a thori eadwynau ei blentyn, i'w ollwng yn rhydd, nes y bydd ei frodyr yn synu ei weled wedi dyfod atynt eilwaith. Yr oedd gan Ioan Fedyddiwr genadau yn myned o'r carchar at Grist, ac felly yr oedd yn cael clywed oddiwrtho yno. Anfonwch chwithau eich gweddi ato yn fynych, a chwi a gewch glywed oddiwrtho yn ol;—un heb ei fath ydyw! Cenwch weithiau; fe allai yr ä seiliau y carchar i siglo hanner nos! I ba beth y soniaf am *garchar*? Duw a gyffyrddodd â ni, a hyny yn ysgafn, '*fel na 'n damnier gyda'r byd*.' Diolch iddo! Pa le y mae y gwynt garw? Mae wedi ei attal. Trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth—'tynu ymaith ei bechod ef.' Ceir Iesu yn myned y ffordd yma weithiau; gwaeddwn ninnau, 'Trugarha wrthym; ie, yn fwy o lawer, Trugarha wrthym!' Pwy a ŵyr nad yw yn sefyll i wrandaw ein cri, ac y cawn ninnau foliannu Duw wedi ein gwneyd yn iach, ac—

'Ni ganwn wrth gofio y boreu,
Na welir arnom glwy'.'

Cymerwch hyn oddiwrthyf, anwyl frawd, fel arwydd o'm teimlad trosoch chwi a'ch anwyl deulu. Syrthiodd hyn arnaf yn ddisymwth. Ni chafodd fy meddwl sefyll dim mewn rhagfyfyrdod, o herwydd hyny nid oes ond ychydig hufen yn fy llythyr. Nyddais yn fras neu braff iawn, gan y brys oedd arnaf i fyned i'r *society*. Os pentwr o esgyrn y cyfrifwch fy llythyr, torwch ambell un o honynt, i edrych a oes mêr ynddynt. Pe gwybuaswn y buasai rhyw hanesion yn eich dyddanu yn fwy, rhoddaswn hwy yn rhwydd; ond am fy mod yn cymeryd, oddiar fy nheimlad fy hun, mai dyma rediad eich meddwl chwithau, sefais ychydig ar y *line* hon. Gan ddymuno o'm calon i Dduw eich digoni chwi â hir ddyddiau, a dangos i chwi ei iachawdwriaeth, y terfynaf.

Ydwyf, yr eiddoch,
W. Charles."

Yr un a briododd oedd Miss Eleanor Edwards, Bodwrog, yr hon a fu yn dyner ac anwyl o hono hyd ddiwedd ei oes. Bu ganddynt dri o blant, o ba rai yr ieuangaf yn unig sydd yn fyw. Mae y weddw a'r amddifad yn awr yn yr Amerig. Boed bendith "Tad yr amddifad a Barnwr y gweddwon" arnynt yno, a bydded y mab mor ddefnyddiol yn nhir y gorllewin ag oedd ei dad yn Nghymru. O herwydd ei wendid, bu William Charles, fel y gwelwyd eisoes, dros lawer o fisoedd, am y tair blynedd diweddaf o'i oes, yn analluog i bregethu; ond ambell adeg, yn yr yspaid hwn, adfeddiannai raddau o nerth, a phregethai yn lled fynych yn Gwalchmai a'r lleoedd cylchynol. Nid allai, y pryd hwn, gerdded i'r capel, eto pregethai yn gryf; a hysbysir ni (a phwy a all ammheu am fynyd?) yr hir gofir am y pregethau hyn. Y gwir yw, nid oedd modd eu hanghofio. Dyn Duw yn pregethu! Mae ei ymadroddion yn rhwym o gyrhaedd y galon a'r gyd-

wybod, ac os cyrhaeddant yno, nid ar frys yr änt dros gof. Dyn Duw yn addfedu i ogoniant; yn llefaru yn ngolwg barn a thragywyddoldeb; yn cyfarch dynion marwol oddiar hiniog y byd anweledig; yn ymadroddi am Grist ar fin ei weled fel y mae! Onid oes dylanwad yn ei leferydd? Onid yw y dyn yn diflannu o'r golwg, a'r Duwdod yn dyfod i'r amlwg yn ymadroddion y cyfryw? Dywedir y byddai ei gyfarchiadau yn y cyfarfod eglwysig, yr adegau hyn, yn peri effeithiau grymus. Gwelwyd y gynnulleidfa yn fynych, yn fuan wedi iddo ddechreu siarad, yn un mewn dagrau a gorfoledd. Dywedai y meddyliau mwyaf tlws a tharawiadol, gyda'r llais pereiddiaf, a'i wyneb, ar y pryd, yn amlygu fod ei enaid addfed yn ddarostyngedig i'r teimladau mwyaf dwysion. Buasai yn annaturiol i un yn "llefaru felly" beidio cynnyrchu effeithiau dymunol ar y gwrandawyr. Dichon hefyd fod eu hofnau na chaent weled ei wyneb mwy yn tueddu i ddwyshau yr effeithiau. Y Sabboth diweddaf o'r flwyddyn 1848, pregethodd, am y waith olaf, oddiwrth *Salm* lxv. 11. Yr oedd yn rhy wan i bregethu y Sabboth cyntaf o'r flwyddyn newydd, ond daeth i'r capel y nos—y tro diweddaf am byth! Boreu y Sadwrn canlynol, Ionawr y 13eg, hunodd yn yr Iesu, wedi dywedyd ychydig fynydau o'r blaen, "*Yn yr ymdrech galed——pob peth yn dda.*" Fel hyn y bu fyw, ac y bu farw, un o'r anwylaf a pherffeithiaf o ddynion.

Wrth daflu ail olwg ar oes ein diweddar gyfaill, gorfodir ni i ddyfod i'r penderfyniad ei fod yn *hynod mewn duwioldeb.* Yr ydym yn dywedyd hyn, nid am yr arferir ei ddyweyd braidd yn mhob cofiant, ond am y byddai yn annheg peidio. Yr oedd William Charles, nid yn unig yn dduwiol, ond yn *dduwiol iawn.* Yr oedd ei grefydd o'r fath ddyfnaf a dwysaf. Os oedd rhywbeth yn fwy arbenig na'i gilydd yn ei gymeriad, dyma ydoedd; a hyn a ystyriwn fel y prif achos o effeithiolrwydd a llwyddiant ei weinidogaeth. Yr oedd y *dyn* ynddo, fel yr awgrymwyd eisoes, yn dra manteisiol i'r *cristion.* Yn mysg y miliynau ydynt yn dwyn yr enw urddasol *dyn*, dichon mai llai na feddylid ydynt yn llonaid y gair. Mae safon y natur ddynol yn dra uchel, a phed elai holl blant Adda yn un orymdaith dano, mae yn ddiammhau y newidiai y nifer fwyaf eu barnau am danynt eu hunain. Hwy a synent mor fychain ydynt wrth y safon. Nis gwyddom, ac nid ydym yn tybied y gŵyr ein darllenwyr, ond am un i fyny âg ef—yn gyflawn ddyn, yn llenwi yr enw yn mhob ystyr. Fel nad oes ymhlith holl gyfrolau y byd ond un ag y gellir ei galw *y llyfr*, felly nid oes yn mysg aneirif bersonau y ddynoliaeth ond un ag y gellir ei alw *y dyn.* Pe gallai ein dychymyg greu dyn perffaith—a phaham nas gall? mae dyn perffaith yn awr yn bod mewn gwirionedd, a phaham nas gall fod mewn dychymyg?—un heb arbenigrwydd fyddai, un nas gellid canfod neillduolion ynddo, am y byddai yn amddifad o neillduolion. Ei arbenigrwydd fyddai bod heb arbenigrwydd, yr hyn fyddai ei berffeithrwydd. Os oes rhyw allu neu deimlad yn hynod ddarnodol a llawn yn y dyn, arwydda hyny fod ei gymeriad yn amddifad o gyfartaledd; ac fel y mae personau yn dynesu at safon y ddynoliaeth, ac yn llwyddiannus, i raddau, mewn sylweddoli ynddynt eu hunain y dychymygol o ddyn, mae y pantiau sydd yn eu cymeriadau yn cael eu cyfodi, a'r bryniau yn cael eu gostwng, yr ysgwyddiadau yn cael eu naddu ymaith, neu o leiaf, yn ymddangos felly, o herwydd fod y manau diffygiol yn cael eu dwyn i fwy o

gyfraddiad â hwynt. Mae y meddwl, yr hwn mewn gwirionedd ydyw y dyn, yr un modd a'r corff, yn myned yn fwy lluniaidd a chyfartal wrth fyned rhagddo at berffeithrwydd. Un fel hyn oedd William Charles i raddau helaeth. Yr oedd yn un o'r dynion mwyaf hardd a chyflawn: naill ai yr oedd felly yn naturiol, neu cafodd ei naddu a'i gaboli yn ieuanc gan ras yr efengyl. Pan ymddangosodd gyntaf i Israel, yr oedd yn greadur lluniaidd, dianaf—heb ddim yn ormod na dim yn fychan ynddo. Dywedir am un o brif bregethwyr Lloegr, yr hwn sydd er's blyneddau yn gorphwys oddiwrth ei lafur, y buasai yn sicr o fod yn ornestwr (*duellist*) pe na buasai yn gristion, gan faint tanbeidrwydd ei dymher, ac uchelfrydedd cynhenid ei natur. Ond beiddiwn unrhyw ddyn i ddyfalu pa beth a fuasai William Charles, pe na buasai yn gristion. Ni ddeuai dim i'r golwg yn ei ymddygiad, yn ei ymddyddan, neu yn ei dymher, ag a roddai fantais i neb feddwl pa fath bechadur a fuasai pe na buasai yn sant. Diammhau fod ganddo yntau, fel holl saint Duw, ei "bechod parod i'w amgylchu," a'i fod ef ei hun yn ymwybodol o gynhyrfiadau natur lygredig mewn rhyw ddulliau neillduol; ond o herwydd ei agosrwydd at Dduw, o herwydd duwioldeb gwastadol ei ysbryd, cafodd yr anrhydedd o fyw am flyneddau yn y byd, ac yn y diwedd ddianc o hono, heb i neb ond efe ei hun, a'i Arglwydd, wybod pa beth oedd: ac yr oedd hon yn anrhydedd nad ystyriwn yn ail i'r eiddo Enoc, "yr hwn a symudwyd heb weled marwolaeth." Mynych y sonir am yr ysmotiau sydd ar wyneb yr haul; ond mae yn rhaid i ni gyfaddef, a thrwy hyny ddangos ein hanwybodaeth, na wyddom nemawr am yr ysmotiau hyny: mae ei ddysgleirdeb mor danbeidiol fel nas gallwn eu canfod, ac mae ein llygaid mor weiniaid fel nad awn i'r boen o chwilio am danynt; yr un modd, yr oedd y fath ddysgleirdeb gwastadol yn nghymeriad William Charles, fel ag i wneyd y brychau, os oedd ynddo rai o gwbl, yn hollol anghanfyddadwy.

Nid oedd ynddo yr un nodwedd, neu yr oedd pob peth ynddo felly. Yr oedd yn gall ac yn ddiniwed, ac nis gwyddom yn mha un o'r ansoddion hyn yr oedd fwyaf arbenig. Pe buasai yn symlyn, ac yn gwbl amddifad o synwyr, buasai yn anhawdd iddo fod yn fwy diniwed; a phe buasai heb y radd leiaf o ddiniweidrwydd a symledd calon, ni fuasai ei gallineb a'i ochelgarwch yn fwy: yr oedd mor ochelgar a phe buasai yn byw yn nghanol gelynion, ac mor rydd a chyfeillgar a phe buasai pawb yn "Israeliaid yn wir." Hynodai mewn anwyldeb, addfwynder, a gostyngeiddrwydd; ond nid oedd ei feddwl yn amddifad o annibyniaeth. Yr oedd bob amser yn siriol, ond byth yn ysmala; yn wastad yn ddifrifol, ond byth yn ffugio y pruddglwyf; meddiannai y teimladau mwyaf bywiog, a'r serchiadau mwyaf tanllyd, ond llywodraethid ef, nid gan nwyd, ond gan reswm; nid gan deimlad, ond gan egwyddor; nid gan gynhyrfiad o un math, ond gan gydwybodolrwydd i'w Farnwr, i'w grefydd, ac i'w gyd-ddynion.

Os oedd rhywbeth yn fwy arbenig na'i gilydd yn ei grefydd, ni a dybiwn mai dyma ydoedd—*anwyldeb tawel a dwfn at y Gwaredwr.* Yr oedd cariad—elfen fawr duwioldeb—wedi treiddio ei holl natur, ac wedi dwyn ei holl deimladau mewn ufudd-dod iddi. Os eiddigeddai wrth rai o dduwiolion y Bibl, mae yn debyg mai wrth y rhai a anrhydeddwyd â chyfeillach a chwmni Duw yn y cnawd yr eiddigeddai fwyaf,—y rhai fuont yn gydymaith â'r Arglwydd Iesu yr holl amser yr aeth i mewn ac allan yn eu plith; ac os oedd un o'r rhai hyny yn wrthddrych ei eiddigedd rhagor y

lleill, "y dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu" ydoedd. Y fraint o eistedd wrth ochr yr Iesu, a phwyso ar ei fynwes, a fuasai yn chwennychu yn anad un o freintiau y dynion breintiedig hyny. Deallwn mai hoff lyfrau gan William Charles oedd traethodau Dr. Owen ar "Ddirgelwch" a "Gogoniant Person Crist;" ac y mae yn bur hawdd rhoddi cyfrif am hyny: yr oedd yr ireidd-dra, yr eneiniad, a'r naws efengylaidd sydd ynddynt hwy, yn cyd-daro â'i archwaeth efengylaidd yntau; wrth eu darllen, yr oedd ei ysbryd ef yn cydymdeimlo ac yn cymdeithasu âg ysbryd cyffelyb; y naill yn meddwl mor uchel a'r llall am yr Arglwydd Crist, a'r ddau, erbyn hyn, "yn ei weled fel y mae," ac yn sugno eu dedwyddwch o'i bresennoldeb.

Yr ydym yn teimlo yn lled betrusgar wrth gynnyg rhoddi desgrifiad o William Charles fel pregethwr. Teimlwn yn hawdd ffurfio drychfeddwl am dano fel y cyfryw, ond mae cyfleu y drychfeddwl hwnw, yr ydym yn ofni, yn waith na fedrwn oddiwrtho.

Perthynai i'r dosbarth hwnw o bregethwyr sydd yn annesgrifiadwy. Yr oedd ynddo y *rhywbeth* hwnw nas gellir rhoddi darnodiad o hono—y rhinwedd dirgelaidd sydd i'w adnabod a'i deimlo yn fwy nag i'w ddarlunio; sydd, fel y goleuni, yn felus, hyfryd, ac effeithiol, ac yn gyfrwng gweledigaid i lygad y meddwl, tra y mae ei hunan yn rhy bur ac ysbrydol i'w weled; y peth hwnw sydd, yn fwy nag un rhinwedd arall, yn gwneyd y pregethwr yn fawr a defnyddiol; sydd yn fywyd ac enaid gwir areithyddiaeth; sydd yn beiddio, ac yn ymddyrchafu uwchlaw, beirniadaeth, ac yn rhy urddasol i gymeryd ei gadwyno i lawr gan reolau peiriannyddol yr areithydd—teimla ei fod yn freiniol, a myn fod yn rhydd; mae y fath nas gellir ei wneyd, na'i ffugio, na'i ddynwared; mae yn rhagori cymaint ar ddeheurwydd a medrusrwydd ag y mae ysbryd yn rhagori ar y corff; mae yn gymaint uwchlaw yr ansoddion hyn yn y pregethwr ag ydyw y gwir awen uwchlaw y gallu cynghaneddol yn y bardd; mae yn rhywbeth cyfansoddedig o athrylith wreiddiol yn y dyn, o deimlad dwfn a difrifwch diffuant yn y cristion, ac o'r "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw" yn y pregethwr; mae yn gynnyrch natur a gras, ac felly, mewn rhan yn gynhenid, ac mewn rhan yn gyrhaeddedig. Pe gofynid pa beth yw, nis gallem ddyweyd, mwy nag y gallasai Pedr ddarnodi y "peth hwn" a deimlid ar ddydd y Pentecost. Yr ydym yn ei adnabod wrth ei effeithiau a'i weithrediadau, ac y mae y fath hynodrwydd ynddo, fel nas gallwn gamgymeryd dim arall yn ei le. Teimlwyd ef gan ein tadau wrth wrandaw ar Daniel Rowlands, a Robert Roberts, o Glynnog, ac eraill; ac adnabuwyd ef genym ninnau yn ngweinidogaeth rhai o'u holynwyr. Yn mhregethiad Robert Hall, parai i gynnulleidfa gyfan gyfodi ar eu traed fel un gŵr, neu fel catrawd o filwyr parod i ryfel. Teimlid ef yn mhregethau John Elias, pan fyddai John Elias ei hun yn eu hareithio. Mae yn beth cyffelyb mewn areithyddiaeth i'r Shecina yn y tabernacl. Gall rhai o allanolion y bregeth fod fel yr eiddo y babell, yn "flew geifr, yn grwyn hyrddod a chrwyn daearfoch;" gall nad yw y llais yn swynol, yr ymddangosiad yn fanteisiol, yr ysgogiadau a'r munudiau yn brydferth a rheolaidd, y cyfansoddiad yn drefnus, a'r broddegau wedi eu gorphen a'u caboli; ond os ydyw y peth byw, effeithiol, annesgrifiadwy hwnw,—os ydyw y Shecina yn y bregeth, mae yn annhraethol ragorach na phe buasai drwyddi yn gyfansoddiad wedi ei gwau—goddefer i ni yr ymadrodd—"o sidan glas a phorphor ac

ysgarlad," os yn amddifad o'r gogoniant hwn. Fel y rhoddasem y flaenoriaeth i'r babell seml, ddiaddurn oddiallan, *gyda'r* dysgleirdeb dwyfol yn un o'i hystafelloedd, hyd yn nod ar deml ysplenydd Solomon, *hebddo,* yr un modd, ni a ddewisem bregeth gyda'r peth hwn, er yn meddu ar anmherffeithderau, o flaen y cyfansoddiad perffaith, difai, os yn amddifad o hono. Nid rhaid i mi ddywedyd fod graddau helaeth o hyn yn William Charles. Mae pawb a'i clywsant yn sicr o ddeall pa beth a feddyliwn. Yr oedd y teimlad a'r effaith cydfynedol â'i bregethau yn beth nas gallwn roddi yr un cyfrif boddlonol am danynt, a gadael allan y dwyfol o'i weinidogaeth. Yr oedd ynddo lawer o gymhwysderau mewn cydgyfarfyddiad ag a dueddent i argraffu y nodwedd o effeithiolrwydd ar ei weinidogaeth. Yr oedd hyd yn nod ei ymddangosiad serchus, ac ar yr un pryd, difrifol, yn dwyn pob calon i'w hoffi, fel y byddai ganddo y fantais o fod yn anwylddyn y gynnulleidfa cyn dechreu ei chyfarch. Yr oedd ei holl ymddygiadau yn yr areithfa yn gyfryw ag a weddent i ddyn marwol wrth gyfarch dynion marwol. Yr oedd pereidd-dra a thônyddiaeth ei lais yn wasanaethgar i foddio tymherau a swyno teimladau ei wrandawyr; gofalai am fod pob ymadrodd a brawddeg yn gyfeiriol at ei amcan, tra y cadwai ei amcan yn guddiedig oddiwrth y gynnulleidfa. Swynai hwynt yn ddiarwybod, ac heb un arwydd o ymdrech ynddo yntau, oddieithr, fe allai, ychydig fynydau cyn diwedd y bregeth. Yr oedd prydferthwch ei feddyliau a hapusrwydd ei egluriadau, a'r teimlad a redai trwy ei holl ymadroddion, efengyleidd-dra ei fater a'i ysbryd, a'r gwlith nefol a fyddai yn disgyn, yn cydeffeithio i greu teimladau yn mynwesau y gwrandawyr, fel y byddai ganddo, y rhan fynychaf, feistrolaeth drwyadl ar gynnulleidfa gyfan. Yr oedd effeithiolrwydd, nid yn beth yn dygwydd weithiau gydag ef, ond yn *nodwedd* yn ei weinidogaeth, ac yn ei ddyrchafu fel pregethwr uwchlaw eraill o'i frodyr oeddynt yn feddiannol ar lawer o gymhwysderau llai hanfodol i'r weinidogaeth, nad allasai ef hòni yr un hawl ynddynt.

Yr ydym yn hyderus na chamsyniem, pe dywedem mai dyn cyffredin oedd William Charles. A oedd ei feddwl yn feddiannol ar ansoddion ag a hawlient iddo y cyfenwad *mawr*, sydd ammheus. Nid oedd ei wybodaeth yn helaeth ac amrywiol, ac nid oedd cylch ei ddarlleniad yn eang. Nid ydym yn barnu fod ei alluoedd deallawl yn hynodi mewn grym, manylwch, neu amgyrhaeddiad; dichon nad oedd yn y pethau hyn ymhell uwchlaw y cyffredin o ddynion ymchwilgar a deallus. O ran teithi ei feddwl, ni ddysgwyliasem iddo wneyd cynnydd anghyffredin mewn gwybodaeth ieithyddol, neu wyddorol, nac, hyd yn nod, yn y cangenau hyny ag y mae yn fwyaf anghenrheidiol i weinidog eu meistroli; megys llênyddiaeth ysgrythyrol, duwinyddiaeth, hanesiaeth eglwysig, athroniaeth y meddwl, a'r cyffelyb; ni chanfyddem ddim olion o'r rhai hyn yn ei bregethau; er eu bod yn gyfansoddiadau destlus a chyflawn, nid arddangosent lawer o ymchwiliad manwl a phwysig; er y byddai y priodoldeb mwyaf yn ei sylwadau ar ddyfnion bethau yr efengyl, nid ymddengys fod ei feddwl wedi ei gynnysgaethu â'r craffder sydd yn ofynedig i wneyd y duwinydd dwfn. Yr oedd yn feddiannol ar ddigon o farn, a synwyr cyffredin, i'w gadw rhag rhuthro yn rhyfygus i dywyllwch y dyfodol, ac i hylldremu ar y dirgelion sydd yn nghadw mewn prophwydoliaeth, y rhai ni feddyliodd Duw i neb allu eu hegluro ond yr esboniwr mawr, anffaeledig—*amser*—a digon o chwaeth i'w gadw rhag syrthio i'r amryfusedd o roddi deongliadau ffol ac

anmhwrpasol ar ymadroddion Duw, ond nid digon o fanylwch a nerth meddwl i ennill iddo ei hunan radd uchel fel esboniwr; mewn gair, a benthyca dull yr hen dduwinyddion o lefaru yn nacaol, nid yn yr ansoddion hyny yr oedd ei ragoriaeth yn gynnwysedig—nid fel duwinydd dwfn, nac esboniwr manwl, nac ymchwilydd treiddgar, yr oedd cuddiad ei gryfder; nid yn ei ddeall y trigai ei nerth, ond yn ei galon, ei deimlad, a'i ddychymyg; yr oedd ei galon yn llawn o dân yn llosgi, a'i deimlad yn dwym, a'i ddychymyg yn dlws, fel y deuai y meddyliau mwyaf cyffredin oddiwrtho yn llawn bywyd a gwres, ac wedi eu gwisgo â phrydferthwch, ac nid yn dalpiau meirwon, oerion, a diaddurn. Yr oedd yn fwy o'r meddyliwr nag o'r ymchwilydd—o'r bardd nag o'r athronydd. Meddai fwy o gydymdeimlad â'r tlws a'r tyner, nag â'r mawr a'r dwfn. Tebygai yn fwy i'r plentyn, yn ymddifyru yn y ddôl, ac yn casglu y blodau tlysion, nag i'r dyn sydd yn y maes gerllaw, yn cloddio i'r dwfn am y mŵn gwerthfawr. Ymddangosai rhai o'i feddylddrychau, pan fyddai ef yn eu dyweyd, yn bur debyg i gyffyrddiadau gwir athrylith. Onid oeddynt yn *rhy* debyg i fod yn ddim amgen? Oni fyddai rhyw ddelw ar rai o'i ddywediadau nas gallasai talent yn unig eu hargraffu? Os ydyw gwreiddiolder yn un o nodweddion athrylith, yr oedd yn William Charles athrylith. Mae yn wir nad oedd yn feddiannol ar y math hwnw o wreiddiolder, neu y radd uchel hòno o athrylith, ag sydd yn darganfod tiriogaethau newyddion; ond meddai ar yr hyn sydd yn amaethu a diwyllio hen diriogaethau, fel ag i'w gwneyd i ymddangos yn dra gwahanol i'r hyn oeddynt o'r blaen. Os nad allasai lusgo i oleuni egwyddorion a orweddasent yn guddiedig am oesoedd a chenedlaethau, fel ag i'n dwyn i synu at nerth ei fraich, efe a wisgai hen egwyddorion â gwisg mor dlws, fel ag y rhyfeddem at hylawder ei fysedd; golchai wynebau hen feddylddrychau, dyosgai hwynt o'u cyffredinrwydd, a gwisgai hwynt "â newid dillad," fel ag y byddem yn barod i ddyweyd, O! mor brydferth ydych yn eich dillad newydd, oddiwrth yr hyn oeddych yn yr hen!

Ar yr un pryd, nid ydym yn ystyried dullwedd William Charles o bregethu yn rhydd oddiwrth anmherffeithiau. Yr oedd yn rhy gyfyngedig at un amcan, sef cyffroi y teimlad. Ni thueddai ei bregethau i roddi yr oll o'r dyn ar waith. Ar brydiau, boddhëid y tymherau, a chynhyrfid y teimladau, tra na byddai y deall yn cael ei gyffroi i ddirnad a meddwl. Nid oedd y nodwedd o *ddysgu* yn ddigon arbenig yn ei weinidogaeth; pe buasai, gallesid ei restru ymhlith y cedyrn—y cewri; buasai yn seren o'r maintioli mwyaf; ond fel yr oedd, yn ddim na neb ond efe ei hun, yr oedd yn un o'r ser *dysgleiriaf* a ymddangosodd yn ffurfafen gweinidogaeth Cymru. Dichon hefyd ei fod yn rhy dueddol i arferyd gormod o egluriadau a chymhariaethau; defnyddiai hwynt pryd na byddai ei fater yn galw am danynt, a dygai hwynt ymlaen yn fwy er prydferthwch nag er eglurhad; cymerai hwynt oll o natur neu o'r ysgrythyr. Pan ymaflai mewn rhyw bwnc, olrheiniai ef trwy yr holl Fibl, a dygai ffeithiau hanesyddol llyfr Duw i'w eglurhau yn y dull mwyaf hapus. Nid allwn lai nag edrych ar y nodwedd hwn yn ei ddefnyddiad o ffugyrau yn ffortunus; y mae eu benthyca o natur a'r ysgrythyr yn llawer mwy pwrpasol, wrth gyfarch cynnulleidfa gyffredin, na phe cymerid hwynt o fysg y gwybodau eraill, yn gymaint ag mai dyma y ddau lyfr ag y mae y nifer fwyaf o wrandawyr yn fwyaf cyfarwydd â hwynt. Pe cymerid ffugr neu egluriad o un o'r gwydd-

orion, byddai yn rhaid cael amser i egluro yr hyn a fwriadwyd i egluro peth arall, a thueddai newydd-deb a dyeithrwch y gyffelybiaeth i ddwyn y meddwl yn fwy arni hi nag ar y prif fater; ond wrth eu benthyca o feusydd cyffredin ac adnabyddus, y maent ar unwaith yn eglurhau y mater, ac yn peri fod y cymhwysiad yn fwy grymus ac argraffiadol.

Ni a roddwn ger bron ein darllenwyr y dyfyniad canlynol o bregeth ar y testun, "Y gwirionedd, megys y mae yn yr Iesu," yr hwn sydd gystal cynddrych o'i ddawn a'i ddullwedd a dim a welsom:—

"Mewn golwg gyffredinol ar yr holl Fibl, mae yn dwyn perthynas â'r Iesu. Pell ydwyf hefyd oddiwrth ddwyn Crist i mewn ar bob achlysur yn yr ysgrythyrau, a dywedyd ei fod i'w gael yn mhob Salm a phob adnod, ac hefyd o gymeryd pob peth yn gysgod o hono ag y mae y dychymyg poethlyd yn canfod rhyw debygolrwydd ynddo; eto wrth sylwi ar ei rediad cyffredinol, y mae yn arwain ato. Ysgrifenydd buan am dano oedd Moses; dwyn tystiolaeth iddo yr oedd y prophwydi; ac wedi dyfod trwy ei hanes gan yr efengylwyr, a thraethu am dano gan yr apostolion, clöir y llyfr i fyny gydag 'Amen, yn wir, tyred Arglwydd Iesu.' Mae hanesiaeth y gwirionedd yn yr Iesu yn berarogl. Wrth edrych ar hanesiaeth y Bibl, braidd nad oes rhai yn petruso am ddyben yr Ysbryd Glân yn rhoddi cymaint—yr holl ddygwyddiadau yn amser Moses, yr enwau yn y Cronicl, a'r chwildroadau yn y Breninoedd; ond 'yn yr Iesu' deuwn o hyd i'r dyben—mae y cyfan yn berarogl ynddo ef. Mae edrych ar linell yr achau yn rhedeg trwy hanesiaeth y Bibl i'w chanolbwynt yn yr Iesu, yn ddigon i swyno ein meddwl pruddglwyfus. Wedi cael mai had Abraham a fyddai y Ceidwad, rhaid oedd edrych filoedd o flyneddau am ei ymddangosiad; a phwy na feddyliasai y buasai y gwaed wedi ei gymysgu, yr achau wedi colli yn llwyr, ac anhawsder i adnabod y Ceidwad pan ddeuai; ond yn lle hyny, cawn ei bod yn rhedeg yn union trwy newyn Canaan, caethiwed yr Aipht, gorthrymderau yr anialwch, a dygwyddiadau gwlad yr addewid—rhanu y freniniaeth unwaith, a symudiad y freniniaeth yn Israel o'r naill deulu i'r llall wyth o weitbiau, eto cawn hi yn bur yn Juda, gan mai oddiyno yr oedd y Messia i ddyfod. Yn nechreu Cronicl, cyfarfyddwn â'r achau am dros dair mil o flyneddau, a rhedodd y gwaed yn bur nes ei gael yn y 'Bachgen a aned i ni' yn Bethlehem Ephrata, a hyny mor amlwg, fel y mae Matthew yn olrhain achau Joseph yn gywir hyd Abraham, gan edrych arnynt fel y boreu oleuni o Abraham hyd Dafydd, ac yn ei *meridian* oddiyno hyd y caethgludiad i Babilon, yna yn *declinio* yn raddol nes cyrhaedd teulu Joseph y saer; a Luc, yntau, a rydd achau Mair am bedair mil o flyneddau, gan dawelu y meddwl am darddiad y Messia oddiwrth Dduw. Y mae yr holl hanes yn gwisgo tynerwch yn yr Iesu. Mae dychryn y cwymp yn darfod yn swn Had y wraig yn Genesis. Ni a ddarllenwn hanes Abraham eto, fel pe na b'ai genym un dyben ond cael gweled yr addewid am Grist. Talwn *gompliment* i Melchisedec am ei fendithio er mwyn ei had. Beth oedd Esau ond halogedig pan werthai ei enedigaeth-fraint? ond yr oedd yn hyny beth cysegredig. Coffa da am Moses am ddewis dirmyg Crist o flaen trysorau yr Aipht. Ni a gymerwn ein homer i gasglu y manna yn yr anialwch, gan gofio am 'fara y bywyd.' Safwn yn ochr y graig yn Horeb, er mwyn iddi adsain ein llais yn swnio, 'A'r graig oedd Grist.' Fe fydd cyff Jesse byth mewn bri o herwydd y blaguryn a ddaeth allan o hono. Ni a newidiwn Jerusalem am Bethlehem Juda, oblegid o honi hi y daeth tywysog i ni. Mae ein meddwl am redeg i'w ganlyn o Bethlehem i'w weled yn cymeryd y mynydd yn bulpud, glan y ffynnon yn orphwysfa, yr ardd yn dŷ gweddi, a'r oruwch-ystafell yn gysegr—ond o'r cwbl,

'Pen Calfaria, nac aed hwnw byth o'n cof.'

2. Mae prophwydoliaethau y gwirionedd wedi eu cyflawni yn yr Iesu. Rhyw fyrdwn yn hanes ei fywyd ydyw, 'fel y cyflawnid yr ysgrythyr.' Yr oedd portread wedi ei dynu gan y prophwydi, yr oedd *outlines* bywyd hardd i'w gweled yn yr Hen Destament; ac er yr anrhydeddid y byd â dynion enwog o oes i oes,

nid oedd neb yn cyfateb i'r darlun hwnw; ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, nid rhyfedd i'r llu nefol ganu;—dyma Fachgen wedi ei eni o forwyn, fel y dywedodd Esaias; yn Bethlehem Ephrata, fel y dywedodd Mica; bellach, rhaid cael doethion i'w addoli, fel y cyflawnid yr ysgrythyr. Dechreuodd fyw gan gyflawni yr ysgrythyr. Wrth ddringo grisiau ei oes, yr oedd rhyw ysgrythyr yn cael ei chyflawni yn barhaus. Pan y ffôdd i'r Aipht, cyflawnid yr ysgrythyr; marchogodd i Jerusalem yn ol y brophwydoliaeth. Pan ddywedodd, 'Y mae syched arnaf,' atebai i'r hyn a ddywedwyd gan y prophwyd; ac hyd yn nod wrth ddisgyn i'r bedd, cyflawnid yr ysgrythyr; cyfododd y trydydd dydd yn ol yr ysgrythyrau."

Bellach, terfynwn. Y mae rhan farwol y "dysgybl anwyl" hwn yn gorwedd yn monwent capel Gwalchmai. Heddwch i'w lwch hyd ddydd brawd! Bydded i eglwysi Cymru attolygu ar Arglwydd y cynauaf aufon eto weithwyr i'w gynauaf.

---

# DAMHEGION ESOP.

GAN NICANDER.

[PARHAD.]

## IX.

### Y DYN A'R EPPA.

Mewn gwig yngogledd Asia
  Ryw fore, meddant hwy,
Neu yngwîg fawr Hercynia,—
  Ni waeth pa 'r un o'r ddwy,—
Cyfarfu Dyn oedd estron
  Ag Eppa yn y coed;
Ac aeth y ddau 'n gymdeithion
  Coedwigol mwyna' 'rioed.

Ryw ddiwrnod, fel yr oedd y ddau,
Y Dyn a'r Eppa, 'n bwytta cnau,
A llus, a mefus gwylltion, yn foreufwyd,
A hithau 'n oer, a'r Dyn yn teimlo anwyd,
  Fe welai 'r Eppa 'r Dyn
    Yn chwythu ar ei fysedd:
  Meddyliau ynddo 'i hun
    Fod hynny 'n orchwyl rhyfedd.
"I beth y mae hynyna da, fy nghyfaill,"
  Medd yr Eppa, dan synnu:—
"Yr wyf fi 'n gwneud yn union fel bydd eraill,
  "Pan fo 'n oer,—i'w cynhesu,"
Ebe 'r Dyn, gan edrych yn gall:
"Ho, ho; felly 'n siwr," ebe 'r llall.

Os cawsant *frecwast* diwres,
'Roedd raid cael ciniaw cynnes;
Hwy wnaethant rual blawd a dwr,—
'D wy' ddim yn siwr,—neu bottes.

Dechreuasant ei fwytta fe 'n union
Yn chwilboeth o lygad y crochon:

A'r Dyn, rhag llosgi ei sefnig
A'r ciniaw brwd berwedig,
Yn chwythu 'n ddi-dawl
Ar y grual,—neu 'r cawl;—
Pa un ai grual ynte cawl oedd gantho,
Nid ydyw 'r hynafiaethwŷr yn cyttuno.
P'r un bynnag, sylwai 'r Eppa,
A thybiai mai mwy 'smala
Mwy annirnadwy, a mwy òd a rhyfedd,
Oedd chwythu 'r pottes nag oedd chwythu 'r bysedd.
"Pa'm Ddyn, yr wyt ti 'n chwythu ar dy bottes?
"Mae eisoes, i'm chwaeth i, 'n llawn ddigon cynnes:
"Ai gwaith synhwyrol doeth,
"Mewn difri',
"Yw chwythu pottes poeth,
"I'w boethi?"—
"Pw! nid i'w boethi, (paid a bod yn hurtyn,)
"'Rwy'n chwythu arno, ond i'w oeri dippyn."—
"Pa beth! ragrithiwr! 'rwyf fi 'n darfod bellach
"Am byth â thi a'th ddeublyg ffals gyfeillach:
"Tydi, sy 'n newid fel y gwynt a'r lloer,
"Gan chwythu weithiau 'n gynnes weithiau 'n oer,
"Dos, hel dy bac; 'rwyf weithian yn dy ddeall;
"Dos hwnt o'm golwg i ryw goedwig arall."

## X.

### Y FÈN WICHLYD.

Nid y rhai sy 'n tuchan fwyaf,
Sydd bob amser druenusaf.

Ar hyd ffordd drom
Gan laid a thom
'Roedd chwe ych gynt yn tynnu Mèn;
Ac er bod llwyth
Ddigon i wyth,
Tynnent hi 'n ddistaw, heb na chŵyn na sen.
A'r Fèn ei hun yn cadw swn o hyd,
Yn gwichian ac yn tuchan llawer byd,
Y gwaelod rhwth a'r ochrau,
A'r echel, a'r carfanau.
"Ffei 'honot, soppen!" ebe 'r gyrrwr wrthi,
"Fe fyddai 'n ganwaith harddach i ti dewi;
"Yr ychen sy'n *slafio*,
"A thithau sy'n cwyno!"

## XI.

### Y CI A'R CYSGOD.

Lladrattodd Ci amaethydd
Ryw fore teg neu gilydd
Ddryll o gig oddi ar ystôl
Oedd o'r tu ol i'r cigydd.

Myn'd dros afonig lyfnwedd
A'r dernyn rhwng ei ddannedd,
A gwel'd ei gysgod yn y lli,
Y cig a'r Ci 'n gyfunwedd.

Meddyliodd yn ei galon
Mai sylwedd oedd e 'n union;
Ac at y cysgod rhuthrai 'n ddig,
A cholli 'r cig i'r afon.

Ac yna cwyno 'n enbyd
Ei fod e' mor wirionllyd
A gwerthu sylwedd lluniaeth blith
Am siom a rhith newynllyd.

---

Pan fydd dy raib diddarfod
Am gyfoeth daear isod,
A'th chwant yn brysur, meddwl di
Am chwedl y Ci a'r Cysgod.

Fe welwyd aur cybydd-dod,
O herwydd gwangcio gormod,
Yn aml yn rhedeg gyd â'r lli',
'N ol chwedl y Ci a'r Cysgod.

## XII.

### Y BLAIDD A'R OEN.

'R oedd unwaith Oenig
Ar fin afonig
Ymhell oddiwrth ei mam,
Yn yfed dïod loywlan
A redai ar y graian,
Yn unig wrthi ei hunan
Heb ofni trais na cham.
Yr oedd ei mam hi wedi ei rhybuddio
Fod perygl yfed yn yr afon honno,
Rhag ofn y Blaidd yr haerai rhai ei weled
Er's mis neu ddau gerllaw y ffrwd yn gwylied.
Ond yn ei bywiog hoen
Anghofio wnaeth yr Oen
Y cyngor.
Ni chafodd, druan! am ei gwaith
Na rhybudd byth na chyngor chwaith
Yn rhagor.

Encyd o ffordd i fynu 'r afon,
Yfai 'r Blaidd; a gwelai 'n union
Yr Oenig o draw
Yn yfed islaw.
Yn chwyrn fe redodd atti,
Gan ddweyd yn ffyrnig wrthi,
"Y fulan! sut y meiddi
"Di gythryblu 'r dwfr wy'n yfed?—"
"Yn wir, Syr bach, nis gallaf weled,"
Ebe hithau, mewn dychryndod,
"Sut yr wyf yn maeddu 'ch dïod,
"Gan mai i lawr oddiwrthych chwi
"Mae 'r dwfr yn rhedeg attaf fi.
"Boed hyny fel y byddo,"
Medd yntau, dan ffyrnigo,

"'Rwy 'n cofio 'n burion itti
"Y llynedd fy nifenwi,
"A'm galw 'n '*sgrwb ysgeler;*
"Yn awr cei deimlo 'm digter."
"O bobol anwyl!" ebe 'r Oen, dan welwi,
"Gŵyr pawb fy mod y llynedd heb fy ngeni,
"Ni byddaf drimis oed cyn Mai, rhad arnoch;
"Oh! na ddo 'n wir, Syr, ni ddifenwais mo'noch."
"Wel, difenwodd dy fam
"Neu dy dad fi, ar gam;
"A'r unrhyw beth yw hynny,
"'Rwyt tithau 'n un o'r teulu;
"O herwydd pa ham
"Rwy 'n penderfynu 'th lyncu."
Ac ar y gair, mewn llidiog wŷn creulonder
Fe larpiai 'r Blaidd yr Oenig bach yn swpper.

Er mor werthfawr, er mor ddedwydd
Ydyw meddu diniweidrwydd,
Chwedl y Blaidd a'r Oen a'n dysga
Nad yw 'n nawdd yn erbyn traha.

## XIII.

### Y LLEW A'R LLYGODEN.

Yngwrês y dydd yn Affric bau
'Roedd Llew yn hepian yn ei ffau.
Ac fel yr oedd y bwystfil mawr yn gorwedd,
Rhedai Llygoden bach ar draws ei lechwedd,
Ac a'i deffrôes;
Yntau a droes,
Ac yn ei grafangc daliodd hi ar ei ffo,—
Ni 's gwyddai 'n iawn beth oedd,—a rhuodd "Bo!"
A phan oedd am ei llyngcu
Fe'i clywai hi 'n llefaru,
Gan ddadleu yn grynedig dros ei heinioes
Ag oedd yn fwy na hanner marw eisoes.

"Ti frenin llwyn a choedwig,
"Galarus yw fy nghŵyn,
"Fod immi 'th aflonyddu
"Drwy redeg dros dy drwyn.
"Yn wir, ni 's gwyddwn amcan
"Beth ydoedd dan fy nhroed;
"Ni fyn'swn er fy mywyd
"Dramgwyddo Llew eriôed.

"O gollwng fi at fy nghywion,
"Sy 'n eiddil yn fy nyth:
"Ni byddai lladd llygoden
"Yn glod i'th ddewrder byth:
"A phe bait yn fy mwytta,
"(Ond O! na fwytta fi,)
"Ni byddwn chwarter tammaid
"I dorri 'th newyn di."

Dan wenu fe agorai 'r Llew ei grafangc
Ac fe adawodd i'r beth fechan ddïangc.

Ryw ddiwrnod cyn hir,
Os yw 'r hanes yn wir,
Fe ddaliwyd y Rhüwr
Yn hoenyn yr heliwr.
Cylchynai y maglau
Ei ben a'i balfeisiau:
Po mwyaf 'roedd e' 'n gwingo,
Yn dynnach aent am dano.
Mewn cyflwr mor gaethiwus
Fe ruai 'r Llew 'n echrydus:
Adnabu 'r Llygoden
Lais ei chymwynaswr:
Aeth ato fel mellten,
Gwelodd sut ei gyflwr:
Dattododd â'i dannedd
Bwythau 'r prif hoenynnau;
Ac felly o'r diwedd
Daeth y Llew o'r maglau.
Wrth gerdded ymaith, meddai wrtho 'i hunan,
"Nid oes greadur yn y byd mor egwan
"Nas gall fod ar ei law, ryw dro neu gilydd,
"Ad-dalu 'n ol yn llawn i'w gymmwynasydd."

## XIV.

### Y CI A'R CEILIOG A'R CADNAW.

Aeth Ci a Cheiliog unwaith yn gymdeithion
I rodio 'r gwledydd ac i wel'd y byd.
Yngwyll y nos, gan daith y dydd yn flinion,
Aethant i goedwig i orphwyso 'nghyd.
Y naill i frigyn un o'r coed esgynodd,
A'r llall i warchod wrth y bôn gorweddodd.

Pan ydoedd gwawr y bore 'n dechreu gwenu,
Dechreuai 'r Ceiliog ganu, fel arferol;
A'r adar a'r gwylltfilod oll yn synnu
Pwy oedd fel hyn yn canu mor blygeiniol.
Wrth glywed, tybiodd Cadnaw coch newynllyd
Fod yma gyfle iddo gael boreubryd:

Daeth at y pren yn llechlyd, ar ei falais,
Gan annerch y Caniadydd fel y canlyn:—
"Tydi 'r perorydd mwyna' 'rióed a glywais,
"Mae llais dy fawl yn wych i'r nef yn esgyn.
"Disgyn yn awr i ganu th ber arwyrain,
"Gael inni lawlaw gyd-gantori plygain."

"Mae 'n dda," medd yntau, "gan fy nghalon weled
"Dy fod o'r diwedd wedi troi 'n Eglwyswr;
"Ond er mwyn rheol, gael i eraill glywed,
"Rhaid canu'r gloch am chwarter awr, f' anwylwr.
"Wrth fôn y pren mae 'r clochydd eto 'n cysgu:
"Dos, deffro ef, ac erfyn arno ganu."

Er 's meityn iawn y Clochydd oedd yn effro,
A'i fryd ar gospi brad a rhagrith Madyn;
A phan y daeth yn ddigon agos atto,
Fe'i rhuthrodd ac a'i lladdodd mewn munudyn.—

A gloddio bwll i neb, mewn bradus amcan,
Fe syrth, ond odid, yn y pwll ei hunan.

## XV.

### YR EWIG GLAF.

Bu Ewig gynt yn cwyno,
Heb fod yn hanner iach;
Rhyw nychu 'r oedd a gwywo,
O fesur tippyn bach.
Er mwyn cael porfa dawel,
Aeth i weirglodd-dir glas,
Lle 'r oedd yr irwellt maethlon,
Yn beraidd iawn ei flas.

'Roedd yma fangre lonydd
Ynghysgod coed a dail,
I bori brigau 'r glaswellt,
A gorphwys bob yn ail.
Hi welai 'mhen rhyw ddeuddydd
Ei bod hi 'n cael llesâd;
Yr oedd hi 'n dechreu cerdded
A phori mewn mwynhâd.

Ond daeth yr holl ewigod
O agos ac o bell,
O wir serchowgrwydd atti,
I weled oedd hi 'n well:
Daeth llawer carw corniog
A iwrch a hydd o'r coed,
I edrych oll am dani
Yn gwmni mwyna 'rioed.

Yr oedd yr holl ymwelwyr,
(A phwy all weled bai?)
Yn pori bawb ei dippyn,
A'r borfa 'n myn'd yn llai,
Nes gwnaed y weirglodd irlas
Yn noeth a llom a llwyd;
A'r Ewig, o'u car'digrwydd,
Fu farw o eisiau bwyd.

## XVI.

### Y CRANGC A'I FAB.

Mi welais Grangc carfaglog,
Efe a'i fab ewinog,
Yn rhodio ar fin y traeth,
Gan gyd-ymgomio 'n ffraeth
Am helynt y ceimychiaid
A'r coccos mân a'r gwichiaid,
A'r tywod a'r clai,
A'r llanw a'r trai,
A'r modd i ddal llymrïaid,
A berdys,
Rhwng deufys;

Yr ydoedd eu rhodiad di-rwysg
Ill dau, fel y gwyddoch, yn wysg
Eu hystlys.
Yr oedd y tad er's meityn
Yn edrych ar yr hogyn
Yn llusgo 'i *gorpws* melyn
Ar hyd y traeth i'w ddilyn,
Ar osgo, fel pe 'n feddwyn
Neu fel pe 'n gloff bryf coppyn ;
Troes atto braidd yn sydyn,
A'i annerch fel y canlyn :
"Fy machgen i, pam
"'Rwyt ti 'n cerdded yn gam ?
"Tyr'd, cerdda rhagot ar dy union syth,
"Neu ni chyrhaeddi ben dy siwrnai byth."
"Yn wir, ar f'union syth," medd yntau, "'r af,
"Os gwnewch chwi ddangos immi sut y gwnaf :
"Ond cerdded yn gam
"Byddwch chwi a 'mam
"Bob amser eriôed
"Hefo 'ch deg troed :
"Pan welwyf chwi 'n ymlwybro 'n union,
"Mi wna 'r un fath o 'wyllys calon."

Cemni eraill a ganfyddwn,
Ond ein cemni 'n hun ni's gwelwn.—
Dyna ystyr cynta 'r Ddammeg ;
Mae un ystyr etto 'n chwaneg :—
Wrth i ti addysgu 'th blentyn,
Gwell yw siampl na gorchymyn.

## XVII.

### Y DYFRGI UCHELFRYD A'R ERYR.

Ar lan rhyw afon (nid wy'n cofio 'i henw),
'Roedd Dyfrgi ieuangc ffol yn synfyfyrio,
Gan gwyno 'i wael sefyllfa 'n arw 'n arw,
Heb ddim i'w wneyd ond hela pysg a nofio,
Yn lle bod weithiau 'n 'hedeg yn yr wybren,
'Run fath a'r fran, a'r hebog, a'r golommen.

Aeth at yr Eryr, yn ei anfoddlonrwydd,
Ryw fore teg, ac a ddywedodd wrtho,
"'Rwyf wedi blino ar fy myd, fy arglwydd,
"O dwll i dwll, o ffrwd i ffrwd yn crwydro :
"Dymunwn 'hedeg yn yr awyr weithiau,
"Fel chwi, ymhell uwch law y byd a'i bethau."

Attebai 'r Eryr iddo 'n fwyn a thadol,
Nad oedd dim modd i ddyfrgi deithio 'r wybren,
Fod deddfau anian yn gwahardd yn hollol
I neb wneyd hyny byth ond perchen aden.
Cynghorai ef i fod rhagllaw yn foddlon
I fyw 'n ol nattur ynghorbyllau 'r afon.

"Gwn, gyd â'ch cennad, syr, amgenach pethau,"
Medd yntau 'n ffrostus, "gwn y medrwn hedeg
"Pe cawn yr awyr unwaith dan fy ngwadnau,
"Ac unwaith gychwyn ; nid wy'n ceisio chwaneg :

"Os ewch â mi i fynu 'r wybren anterth,
"Cewch bysg yr afon gennyf am eich trafferth."

"O'r goreu," medd yr Eryr, "cei'th ddymuniad;
"Mi wnaf fy ngorau i foddhâu cymmydog;
"Ond rhaid i ti gymmeryd y canlyniad:
"Yr ŷm ni 'n awr yn cychwyn;—bydd wagelog!"
Felly fe'i cym'rodd gerfydd croen ei gefn
Ddeg canllath fry i'r awyr deneu lefn.

"Wel, rŵan, wyt ti 'n barod?" medd yr Eryr;
"O ydwyf, syr; yn awr gollyngwch fi:"
"Pan rifwyf dri," medd yntau, "yn yr awyr,
"Mi a'th ollyngaf; rŵan—un—dau—tri!"
I lawr â'r Dyfrgi 'n syth;—ac ar y cerrig
Wrth drengu, teimlai gosp yr uchelfrydig.

---

## LLYFRYDDIAETH Y CYMRY.

Yr ydys yn ymgeisio at ddosranu ein herthyglau yn ol rhyw gyfnodau yn ein hamgylchiadau gwladol neu grefyddol; ac yr ydys yn anwesu y meddwl i ni lwyddo yn lled dda yn nosraniad ein gwaith, hyd yn hyn. Yr hyn sy'n hynodi ein cyfnod presennol yw cryfhad Methodistiaeth, yn yr Eglwys Sefydledig, ac allan o honi. Yr oedd "hi eto yn dywyll" yn nechreu ein herthygl ddiweddaf; ac "yn dyddhau" ar hyd y cyfnod hwnw; ac yn awr, gallwn ddyweyd fod "yr haul wedi codi." Diweddasom o'r blaen yn rhif 7, 1763; ond daethom ar draws rhai llyfrau wedi hyny, a gyhoeddwyd yn y flwyddyn hòno, y rhai a chwanegwn yma. Cofier mai y flwyddyn ydoedd

1763.

8. "Helaethrwydd o Ras i'r Pennaf o Bechaduriaid, Mewn cywir Hanes o Fywyd a Marwolaeth John Bunyan. Neu Fyrr Ddadcuddiad o ragorol Drugaredd Duw yn Nghrist iddo ef, &c. Wedi ei gyfieithu o'r newydd yn ol y nawfed Argraphiad yn Saesonaeg. Caerfyrddin, Argraphwyd yn Heol Awst, ac ar werth yno gan R. Tomos a J. Ross. 1763. Prîs Swllt."

Am y cyfieithiad a'r argraffiad cyntaf, gwel rhif 6, 1737.

9. "Llythyr oddiwrth Gymanfa O Weinidogion At amryw Eglwysi y Perthynant iddynt. Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ev. Powell, yn Heol-y-Prior, dros y Parchedig Mr. Timothy Thomas. 1763. ☞ Ac yr wyf yn gobeithio y bydd i bwy bynnag o Barchedig gyfeillion Mr. T. Thomas, ag a fo ag un peth ganddynt i'w Argraphu, adel i mi ei Gwasanaethwr gostyngedig Evan Powell, gael yr anrhydedd o'u gwasanaethu."

1764.

1. "Bucheddau 'r Apostolion a'r Efengylwyr. Mwythig." 12plyg.

Ail argraffiad, gwel rhif 9, 1704.

2. "Cyd Gordiad Neu Dremiad ar y Testament Newydd, Lle y gwelir ar ba wirionedd mae 'r Efengylwyr ar Apostolion yn llefaru, ar cwbl yn rhedeg yn ol yr Egwyddor—A. B. C. y deng air deddf ac Hymn am Waredigaeth Pechadur Trwy Iesu Grist. Tros Dafydd Lewis, Caerfyrddin."

Math o lawlyfr neu *common-place book* ydyw.

3. "Tair Pregeth am Dragywyddoldeb yn nghyd a'r budd a'r Fantais o edrych ar Bethau tragywyddol. A bregethwyd yn saesoneg gan y Parchedig Mr. Job Orton. Ac yn awr a gyfleithwyd yn gymraeg trwy ganiatad yr Awdwr, gan W. Jones. Yr ail Argraphiad. Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Cotton, a J. Eddowes, 1764."

4. "Anghyfreithlondeb bwyta Gwaed. Wedi ei amlygu Trwy olwg ar yr ystyriaeth yr oedd y Cenhedloedd Cristionogol o'r dechreuad, yn cynnal eu rhydddid yn Nghrist oddiwrth jau deddf Moses. Gan Mr. John Glass. At ba un y chwanegwyd, rhai o feddyliau Dr. Delany ar yr ystyriaeth. Wedi i'u Gyhoeddi yn gymraeg gan J. Popkin. Caerfyrddin Argraffwyd."

5. "Rhybydd ofnadwy i blant anraslon: yn rhoddi cyflawn a thrymllyd hanes o un William Johnson. Gwr ieuangc ynghylch pump ar hugain oed, yr hwn a anwyd yn Ninas Lincoln, ac a Grogwyd ar y Pedwaredd dydd o Fawrth 1763, am echryslawn fwrdrad a wnaeth efe ar ei Dad a'i Fam a'r forwyn, Gan yspeilio 'r Tŷ ai roddi ar dân, ynghyd a'i dreial, a'i Gyfaddefiad, ai farn yw grogi ai sybedi, eu ymadroddion marwolaeth, a'i gyngor i bobl ieuangc, Gweddi a phregeth ar yr unrhyw achos, Gan y Parch. Dr. Wilkinson, allan o Psalm xxxvii. 22. Argraffwyd yn y Mwythig."

6. "Golwg ar Deurnas Crist. Neu Grist yn bob peth, ac ymhob peth. Sef caniad mewn dull o Agoriad ar Col. iii. 11, 1 Cor. xv. 25. Yr ail argraffiad, wedi ei ddiwygio o amryw feiau a chwedi ychwanegu llawer o bethau ato, nad oedd yn yr argraffiad cyntaf. Gan William Williams. Caerfyrddin; Argraffwyd gan J. Ross, oddieithr y 24 tu dalen cyntaf o Gorph y Llyfr."

Gwel rhif 7, 1756. Y mae yr hysbysiaeth a ganlyn yn gysylltiedig â'r uchod:—
"Theomemphus ☞ Am fod gwerth swm fawr o lyfrau o bryd i bryd wedi sefyll ar ddwylo 'r Awdwr, mae efe yn meddwl peidio printio rhagor o'r llyfr hwn nag a debygo a ellir werthu yn fuan, am hyny y sawl sydd am dano danfonant ei henwau a swllt o arian subscription i'r Awdwr ei hun, neu i ryw rai o'i ffryns ef, y rhai yw rhyw ddynion gonest geirwir ag a dalo iddo yr hyn a dderbyniont pwy bynag a font. A swllt fydd pris y llyfr heb ei feindio i'r rhain, ond i'r lleill maen bur debyg y cyst ef fwy, ac o bosib nas gellir ei werthu ef am 15 ceiniog, ond nis gwyddus yn jawn am hyn am nas gwyr yr Awdwr pa faint yr ymhelaetha tan ei law ef wrth ei ail sgrifenu."

Yr oedd bardd Pant-y-celyn yn deall pa fodd i fasnachu yn gystal a chann; a da pe buasai llawer bardd a chyhoeddydd llyfrau ar ei ol wedi dilyn ei esiampl ef.

7. "Diferion Gwybodaeth, &c. &c. A draddodwyd gan Dafydd Jones, o Drefrhyw, C. C. Argraffwyd yn Llundain gan William Roberts, ac a werthir Ynghymru gan Dafydd Jones o Drefrhyw." Ugain tudalen, 12 plyg.

Diwedd y rhagymadrodd a ddywed fel hyn—"Annerch wael oddiwrth dy Garwr. Llundain, Mawrth 31, 1764." Ac yn niwedd y llyfr y mae "Diwedd y Rhan gyntaf;" eithr ni welsom yr un arall.

8. "Bywyd a Marwolaeth Theomemphus o'i Enedigaeth i'w Fedd. Gan W. Williams. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross. 1764."

9. "Llyfr ar Arddodiad Dwylaw. Gan Timothy Thomas, Aberduar."

10. "Moliant i Dduw; Neu ychydig nifer o Hymnau. Wedi eu cyfansoddi, a'u gwneyd yn gyhoeddus; mewn difrifol ddymuniad o'u bod yn fuddiol i ddynion, ac er clôd i Dduw, trwy Iesu Grist. Gan Timothy Thomas. Caerfyrddin: Argraffwyd gan Evan Powell, yn Heol-y-Prior. 1764."

Cynnwysa y llyfr uchod 126 o hymnau, neu yn hytrach caniadau, ar 108 o dudalenau, heblaw 12 tudal. yn rhagymadrodd, &c. Ar gefn y gwyneb-ddalen, y mae y cynghor buddiol a ganlyn.—"N. B. Dylai pob dŷn ddarllain y llythyr neu 'r rhagymadrodd a fyddo o flaen pob llyfr cyn darllain y llyfr." Gwel hefyd rhif 1 a 2, 1757; a rhif 8, 1759.

11. ¶ "Cariad Brawdol. Gan Timothy Thomas, Aberduar."

Gwel uchod.

"Golwg o Ben Nebo ar Wlad yr Addewid; mewn casgliad o Hymnau, am

gwymp dyn yn yr Adda cyntaf, a'i gyfodiad yn yr Ail. Yr ail argraphiad. At ba un y chwanegwyd Hymnau ac Odlau newyddion, ar amryw Fesurau, i'r Pererinion, sy'n Teithio o Ddinas Diystriw i'r Gaersalem newydd. Gan Morgan Rhys. Argraphwyd yn Nghaerfyrddin: Gan Rhys Tomas, 1764. Lle gellir cael Argraphu pob math o Lyfrau, am bris gweddaidd." 84 tudal. 12plyg.

13. "Y Pedwerydd Ran o Ganiadau Sion: Neu Hymnau ac Odlau Ysbrydol, Gan John Thomas. At yr hyn y chwanegwyd, CAN i Iengctyd, ar ddymuniad rhai Pobl Ivaingc, gan yr un Awdwr. Bristol: Argraphwyd gan E. Farley. 1764. Pris 4d." 60 tudal. 12plyg.

Gwel rhif 12, 1762.

14. "Y Perl Gwerthfawr; neu Benau o Wybodaeth Iachus, i Bechadur am ffordd y Bywyd, &c. Wedi ei gyfieuthu i'r Cymraeg, er lles i'r Cymru. Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, Printiwr a Gwerthwr Llyfrau. M,DCC,LXIV." 44 tudal. 18plyg.

Y mae y rhagymadrodd gan "David James, Edward Parry, Thomas Edwards—Henllan May 29, 1764."

15. ¶ "Myfyrdo-dau Duwiol i'n Cymhwyso Erbyn Angau. Argraphwyd yn y Mwŷthig gan Stafford Prŷs Gwerthwr Llyfrau." 58 tudal. 18plyg.

16. "Specimen of the Poetry of the Ancients Welsh Bards translated into English, with Explanatory Notes. By Evan Evans."

E. E. y Prydydd Hir. 4plyg. Gwel hefyd rhif 9, 1772, a rhif 2, 1776.

17. "Origin of Languages and Nations. By Row. Jones, Esqr. of the Inner Temple. London. 1764.

Mr. Rowland Jones ydoedd gyfreithiwr yn byw yn Llundain. Ewythr ydoedd i Rowland Jones, Ysw., Broom hall, neu 'r Weirglodd fawr, ger Pwllheli. Y mae yn ceisio dangos mai Cymraeg yw gwreiddiau yr holl ieithoedd—Groeg, Lladin, a Hebraeg.

18. "Hymnau Newyddion, Nad oedd yn un o'r Ddau Argraffiad Cyntaf. Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yr unig Argraphydd yn y Parthau hyn, a ddugwyd i fynu yn rheolaidd i'r Gelfyddyd honno. Lle gellir cael Argraphu mob math o Lyfrau ar Lythyren dda, am brîs gweddaidd. 1764."

19. "Crwydriad y Dychymmyg i Fyd yr Ysbrydoedd, Neu Fyfyrdodau ar Farwolaeth y Parchedig Mr. Lewis Lewis, Gweinidog Eglwys Loegr, Yr hwn a ymadawodd o'r Bŷd, Meh. 9. 1764. Gan William Williams. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, tros yr Awdwr, 1764."

20. "Dwy Farwnad, Un ar ol Mr. Thomas Lewis, o Drefela yn Llan-gwm. Y llall ar ol Mrs. Rachel Harrys; gwraig Mr. Harrys, o Bont-y-pool; yn Sir Fynwe. Yr hon gyfnewidiwyd y Dŷdd cyntaf o Awst; yn y Flwyddyn 1763, yn y 25 o'i Hoed: Ac a gladdwyd yn Llangyby; Lle hefyd y claddesid ei Mâb William. Argraphwyd yn Nghaerfyrddin; Gan Rhys Tomas. M,DCC,LXIV."

1765.

1. "Y Rhedegwr Ysbrydol: Neu Bortreiad o'r Dyn ag sydd yn rhedeg i'r Nefoedd; yn nghyd a Llythyr at bob Dynion Diog a Diofal; Carchar fyfyrdodau 'sgrifenwyd 1665. Gan John Bunyan. O Gyfieithiad Mr. Samuel Wilson. Caerfyrddin; Argraffwyd gan J. Ross, 1765."

Ailargraffiad; gwel rhif 2, 1787.

2. "Cyssondeb Y Pedair Efengyl: Gyd ag agoriad byrr, A Nodau Athrawus, Ar yr hyn a dybir dywyllaf ac anhawsaf ynddynt. Yn y blaen y mae hefyd Ragdraethawd buddiol yn arwain at y Cyssondeb, gan osod allan Hanes y wir Grefydd a'i llewyrchiad fwy fwy trwy bob oes er dechreuad y Byd. Chwanegwyd hefyd Rif res yr amseroedd. Gan John Evans, Athraw yn y Celfyddydau. Argraffedig yn Mristo gan E. Farley, 1765."

Methasom yn hollol a chael dim hanes am yr awdwr enwog uchod, yn amgen na'i fod yn frodor o Sir Aberteifi, o gyffiniau Llanarth. Yr oedd gweinidog o'r enw John Evans yn gweinidogaethu yn eglwys y plwyf hwnw, yn y dyddiau hyny; canys gwelsom ei enw fel y cyfryw ymhlith derbynwyr llyfr Cymraeg o'r oes hòno; ac y mae ei enw am Bregethau Ifan Brydydd Hir, fel hyn,—"Rev. John Evans, M. A., Author of the '*Harmony of Gospels.*'" Efe a gyfieithodd hefyd y "Deddfau Cristionogol," gan Esgob Gastrel; gwel rhif 2. 1778. Cyfieithwyd hefyd "Ymarferiadau a Myfyrdodau Sacramentaidd" Dr. Earle, gan un Ioan Efans, 1735; ond gall fod hyny yn rhy foreu i'w briodoli i'r awdwr a gyfieithodd waith Gastrel. Dyma y cynnygiad cyntaf i roddi i'r Cymry esboniad rheolaidd ar unrhyw ranau o'r ysgrythyrau, bymtheng mlynedd cyn i sylwadau Mr. Peter Williams ddyfod allan y waith gyntaf. Byddai ailgyhoeddi y llyfr hwn yn wasanaeth gwir ganmoladwy, gan ei fod yn werth ei feddu.

3. "Annerch difrifol a charedig at y bobl a elwir Methodistiaid. Argraffwyd yn Llundain."

4. "Pechadur Jerusalem yn gadwedig: Neu Newydd da i'r gwaelaf o Ddynion; a chynnorthwy i'r Eneidiau anobeithiol; gan ddangos y mynneu Iesu Grist gynnig Trugaredd yn gyntaf i'r Gwaelaf o Bechaduriaid, &c. Scrifenwyd yn Saesoneg, gan John Bunyan, Awdwr Taith y Pereryn; A gyfieithwyd i'r Cymraeg gan Benja. Meredith. Caerlleon, Argraphwyd yn y Flwyddyn 1765, gan W. Read a Thos. Huley, ag a werthir gan Lewis Jones, tan gauad am Swllt i'r Cynnorthwywŷr, ag i'r Wlâd am Bumtheg Ceiniog."

Ailargraphiad; gwel rhif 4. 1721.

5. "Eucharistea, Neu Draethawd am Sacrament Swpper yr Arglwydd, a Scrifenwyd gyntaf yn Lladin mewn Prydyddiaeth, gan y Dysgedig Hugo Grotius. Newydd ei Gyfieithu i'r Gymraeg, gan Mr. David Jones, o lanwenog, at ba un y chwanegwyd Agoriad byrr o'r Salm 37, yn nghyd â Gweddi y Tywysog Eugene. Caerfyrddin, Argraffwyd."

6. ¶ "Pelydr a thywyniad ysprydol, neu Bwysi o Fyrr: sef Dewisol, a chyssirlawn fyfyrdodau, yn adfywio, goleuo, a llonni 'r Enaid. Wedi ei ail Breintio yn Saesonaeg yr 11eg fl. o ddedwyddol Deurnasiad y Brenin William y Trydydd. Imprimat Jos. Caryl, Mwythig."

Argraffiad newydd, mae yn debyg, o rhif 5, 1740.

7. "Llythyrau Mr. Samuel Pike a Mr. Robert Sandeman mewn perthynas j'r llythyrau ar Theron ac Aspasio. Hefyd, rhai meddyliau ar Gristianogrwydd. Mewn llythyr at Gyfaill. Gan Awdwr y Llythyrau ar Theron ac Aspasio, at yr hyn y'chwanegwyd, Troedigaeth Jonathan yr Iuddew, fel pe mynegasid ganddo ei hun. Ynghyd â rhan o'r Diweddglo j'r Llythyrau ar Theron ac Aspasio. Wedi eu cyhoeddi yn Gymraeg gan John Popkin. Caerfyrddin, Argraphwyd."

8. "Yr Ymadroddiad, neu Bapurun. A gyfieithwyd i helpu 'r Cymru allan o'r hunan a'r drygioni. At ba un y chwanegwyd yn gyntaf y Disgybl a'r Athraw o newydd. Ac yn drydydd Gwyddor uchod, &c. Gan Morgan Llwyd. Wedi ei ddiwygio yn ofalus gan Ifan Thomas, Argraffydd. Mwythig, Argraffwyd gan W. Williams, tros Richard Jones o Ddyffryn Clwyd. M,DCC,LXV." 62 tudal. 32plyg.

Gwel rhif 1, 1657, a rhif 8, 1757. Cynnwysa hwn y tri a enwir ar wahân yn 1657, sef y 1, 2, a'r 3, y flwyddyn hòno.

9. "Marwnad Robert Davies, Gŵr Duwiol o Blwyf Machen. Yn Shir Fynwau. Yr hwn a fu Farw y Bumed ar Ygain, o Fis Awst, 1763, &c. Gan Evan Thomas. M,DCC,LXV."

10. "Bugeilgerdd. Gan Edward Richard, Ystrad Meurig."

Ganwyd ef yn Ystrad Meurig, sir Aberteifi, yn 1714, a bu farw yn 1777, yn 63 oed. Efe ydoedd sylfaenwr ysgol Ystrad Meurig. Y mae cofiant rhagorol am dano yn yr "Haul," am Tachwedd, 1848.

11. "Atteb i Lyfr Mr. Thomas ar Arddodiad Dwylaw."

Gwel rhif 9, 1764. Dadl oedd hon a ffynai y pryd hyn yn nghorff y Bedyddwyr, ac a ddygid ymlaen gyda brwdfrydedd niweidiol i'r achos mewn llawer o fanau yn y Deheubarth.

12. "Drych i ddwfr Cleifion, I'w cynnorthwyo i ddeall Achos, Natur, a Chanlyniadau eu Clefydau, &c. At yr hyn y chwanegwyd, rhai Dyfr-arwyddion o Waith Hên Feddygon Myddfai; y rhai o herwydd eu gwerthfawrowgrwydd, a gadwyd o law i law mewn ysgrifen 534 o Flynyddau, &c. Caerfyrddin; Argraphwyd gan Ioan Ross, tros Dafydd Efan, o Ffynnon-nedd, gerllaw Bont ar Gothi, ac ar werth ganddo yn ei dŷ ei hun, ac yn yr Argraph-Dŷ yn Heol Awst. 1765. [Pris Dwy Geiniog.]"

13. "Ymofyniad Byrr pa un a ydyw y ddwy ddefod o Arddodiad dwylaw ar Bersonau Bedyddiedig fel y cyfryw yn Ordinhad o Grist. Bristol, Argraphwyd gan S. Farley. M,DCC,LXV."

1766.

1. "Crist yn y cymmylau yn dyfod i'r Farn, sef Pregeth ar ymddattodiad pob peth. Lle y danghosir ail ddyfodiad Crist i'r Farn, hefyd, y treial a'r barnedigaeth echryslon a Gyhoeddir yn erbyn yr holl Bechaduriaid anychweledig. Ynghyd a gwynfydedig a gogoneddus Gyflwr Pob un a edifarhaodd, ac a ddewisodd Grist o flaen dim. Argraphwyd yn y Mwythig gan W. Williams, tros Evan Ellis, 1766."

2. "Gogoneddus Ddirgelwch Trugaredd Duw; Neu werthfawr feddyginiaeth i Eneidiau lluddedig, wedi ei osod allan mewn Traethawd, lle 'r agorir dau ddirgelwch mawr. i. Dirgelwch rhad ras Datguddiedig yn yr Efengyl. ii. Dirgelwch yr Efengyl yn gynnwysedig yn y Gyfraith. Fe brofir hefyd ynddo, fod y Gyfraith Frehinol yn rheol o ufudd-dod Efangylaidd, &c. Yn Saesonaeg gan John Brisco, Gweinidog yr Efengyl yn Thomas, Southwark. Argraffwyd yn Llundain yn 1647. Yn Gymraeg gan J. M., Caerfyrddin, Argraffwyd."

3. "Ffarwel Weledig, Croesaw anweledig bethau; neu rai Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen. Yr ail Ran. Gan Wm. Williams. Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr, gan J. Ross. 1766."

4. "Rhai meddyliau am Berson Crist. Wedi eu gymeryd allan o waith Mr. John Glass. Vol. ii. tu dalen 1—5. Hefyd, Llythyr oddiwrth S. Pike at R. Sandeman. Gyd â Chyffes S. Pike, o flaen yr Eglwys yn St. Martin 's le Grand, yn Llundain, a wnaed Rhagfyr 22, 1765. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin."

5. "Ocheneidiau o Uffern: Neu Riddfanau Enaid damnedig. Yn dangos cyflwr galarus y Damnedigion, mewn ffyddlon Esponiad ar Ddammeg y Gwr Goludog a Lazarus, Luc xvi. 19 i'r 31. Fe ddichon hefyd jawn wasanaethu fel Gair o Rybudd i Bechaduriaid, hên ac jeuaingc, trwy Ffydd yn Iesu Grist, i ochlyd y lle poenus hwnw. Ynghyd â Datcuddiad o ddefnyddioldeb yr Scrythyrau, fel ein diogel gyfarwyddyd i ochelyd Poenau Uffern. Gan John Bunyan. Newydd ei gyfieithu i'r Cymraeg yn ol yr Argraphiad Saesoneg, tan Olygiad y Parchedig Mr. Samuel Wilson, 1737. Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan J. Ross, Prîs Swllt wedi ei rwymo, 8 geiniog heb hyny, gyd ag Elw rhesymmol i'r rhai a bryno amryw ynghyd. M,DCC,LXVI."

6. "Ocheneidiau o Uffern, wedi eu rhoddi mewn Pregeth oddiwrth Ddammeg Difas a Lazarus. Gan ddifeunydd Parchedig. A Chyfieithiad J. T. Caerlleon, Argraffwyd gan Thos. Huxley, yn agos i Eastgate, neu Borth y Dwyrain."

Hynod oedd i ddau waith ar "Ddammeg y Goludog a Lasarus," o'r un enw, gael eu cyhoeddi yn yr un flwyddyn, gan wahanol argraffwyr; ac eto nid yr un awduriaeth ydynt, er yr un enw.

7. "Achos Babanod yn cael ei amddiffyn. Gan Edward Hitchin. Cyfieithwyd o'r ail Argraffiad yn Saesoneg, ac a gyhoeddwyd gan Aelodau o Gymdeithas a gyfarfyddai yn y Shop, Plwyf Cilmaenllwyd, yn Sir Gaerfyrddin. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin gan J. Ross."

8. "Drych y Cristion, neu Gadwedigol Ffydd, wedi ei Datguddio mewn ymddiddan, &c. Dublin, Argraffwyd gan S. Powell a'i Fab. MDCCLXVI."

Cynnwysa hwn yr holl fân-lyfrau hyny—"Carwr a'r Cymro," &c., yn 1677. Cyhoeddwyd hwynt y tro hwn dan olygiad Sion Rhobert Lewis, yr almanaciwr, tybygid.

9. "Adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist wedi ei brofi, mewn Pregeth, a bregethwyd ar Ddydd Sul y Pasg. Gan y diweddar Barchedig Mr. Samuel o Langar. Argraffwyd tros William James."

Ni ddywedir yn mha le, er yr ymddengys oddiwrth y rhestr o lyfrau eraill yn ei diwedd mai gan S. Prys, Mwythig.

10. "Mona Antiqua Restaurata. An Archæological Discourse on the Antiquities, natural and historical, of the isle of Anglesey, The Ancient Seat of the British Druids, &c., &c. By Henry Rowlands, Vicar of Llaniden, in the Isle of Anglesey. The second edition, Corrected and Improved. London: Printed for J. Knox, near Southamton street, in the Strand. MDCCLVI."

Gwel rhif 3, 1723.

11. "Yr Aberth Cymeradwy, neu Ragoriaeth Calon Ddrylliog. Yn dangos Natur, Arwyddion, ac Effeithiau priodol Yspryd Drylliedig. Gan John Bunyan. Printiedig Ynghaerfyrddin."

12. Anfeidrol Werthfawrogrwydd Enaid Dyn, ac anrhaethadwy ffolineb y dyn a fo diofal am dano: Ynghyd ag Annogaeth ddifrifol i bechaduriaid droi at Dduw, a derbyn jechydwriaeth i'w Heneidiau. Gan Evan Thomas, argraphydd. Caerlleon, Argraphwyd."

13. "Hymnau, neu Ganiadau er mawl a Gogoniant i Dduw. Yn cynnwys ocheneidiau, griddfanau, ymdrechiadau, a buddugoliaethau y Pererinion, wrth ymdeithio tua'r bywyd. Gan John Roberts. Argraphwyd yn Nghaerlleon.

Hen almanaciwr Caergybi eto.

14. "Ymddiddan rhwng yr Iesu a'r Publican, yr hyn sydd er addysg a chysur i'r Cristion gwan. Trydydd argraffiad. Caerlleon."

15. "Helaethrwydd o Ras i'r Penaf o Bechaduriaid. Sef cywir hanes o Fywyd a Marwolaeth John Bunyan. O gyfieithiad Evan Thomas. Caerfyrddin, argraffwyd."

Gwel rhif 6, 1737, a rhif 8, 1763.

16. "Cydymaith Diddan. Yn ddwy ran. Y rhan gyntaf sydd yn cynnwys crynodeb o Araithyddiaeth yr hen Frutaniaid yn mysgu Brythonaeg i'w gilydd. Yr ail ran yn adrodd mewn euraid odlau di-rif, afiethus ddifyrrwch Brodorion Cymry. Quæ audisti vide, &c. Digon o Grwth a Thelyn, medd yr hen Gyrys o Iâl, 1216. Gan Dafydd Jones o Drefriw, C.C. Caerlleon, argraffwyd gan Elizabeth Adams, &c."

17. "Myfyrdodau difrifol ar y pedwar peth diweddaf; sef, Angeu, Barn, Nef, ac Uffern. Gan John Bunyan. Caerfyrddin, argraffwyd."

18. "Esponiad Byrr ar Gatecism yr Eglwys, sef Holiadau ac Atebion ysgrythyrol ynghylch Egwyddorion a Dyledswyddau 'r Grefydd Grist'nogol. Yn bum rhan. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Person Llanddowror, yn sir Gaerfyrddin. Y drydedd argraffiad. Llundain, argraffwyd gan J. a W. Olifer, ym Martholomew Clôs, gerllaw Smithfield ollewinol."

Gwel rhif 1, 1743, a rhif 2, 1749.

19. "Canwyll y Cymry, sef gwaith Mr. Rees Prichard, gynt Ficer Llandyfri, Y trydydd argraffiad ar ddeg. Argraphwyd yn Mwythig gan Stafford Prys. 1766."

Gwel rhif 1646; a rhif 6, 1672; rhif 2, 1681; rhif 9, 1700; a rhif 1, 1721.

20. "Salmau Dafydd, wedi eu cyfansoddi yn ol iaith y Testament Newydd. A'u cymhwyso i stat ac Addoliad Crist'nogol. Yn Saesneg gan I. Watts, D.D.

Ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan D. Jones o Lanwrda, gynt o Gayo. Yr ail argraphiad, gyda diwygiad o lawer o feiau. At bu un y chwanegwyd 12 o Salmau newyddion. Llanymddyfri, argraphwyd gan Rys Tomas. MDCCLXVI."

Gwel rhif 2, 1753, yr hwn a ddylasai fod yn 1752.

21. ¶ "Amddiffyniad i Lyfr cyntaf Mr. Thomas ar Arddodiad Dwylaw."

Gwel rhif 9, 1764, a rhif 12 a 14, 1765.

22. ¶ "Pregeth ar Arddodiad Dwylaw, gan Mr. W. Williams, Aberteifi."

Gweinidog i'r Bedyddwyr yn Ebenezer, sir Benfro, ac Aberteifi, ydoedd Williams. Yr oedd yn ŵr cyfrifol yn y wlad hòno, yn Ynad yr Heddwch, ac yn weinidog Anghydffurfiol.

23. "Y Catecism Byrraf. A gyflwynwyd gan y Gymanfa o Ddifynyddion, yn Westminster, i'r ddau dŷ o Barliament, a chwedi ei gymeradwyo ganthynt. Yn cynnwys Egwyddorion y Grefydd Grist'nogol, ynghyd â Phrofiadau Ysgrythyrol. Caerfyrddin, argraffwyd."

24. "Hanes Llwyddiant yr Efengyl, a rhyfeddol waith Duw ar Eneidiau pobl yn *North America;* mewn Llythyr oddiwrth y Parchedig Mr. Briel o *East Hamton,* at y Parchedig Mr. Barton. At yr hyn y chwanegwyd Cân am Werthfawrawgrwydd y Bibl. Gan William Williams. Caerfyrddin, argraffwyd tros yr awdwr, gan J. Ross. 1766."

25. "Rhwymyn Perffeithrwyth Parhaus, &c. Gan Timothy Thomas."

Cynnwys y llyfr hwn 112 o dudalenau.

26. "Gwaedd yn Nghymru yn wyneb pob Cydwybod. Gan Morgan Lloyd o Wynedd. At yr hyn y rhagchwanegwyd ei Lythyr i'r Cymru cariadus. Ynghyd a Hanes ei Fywyd ysbrydol a ysgrifenwyd ganddo ei hun. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Ross, yn Heol Awst. 1766. [Pris dwy geiniog.]"

Ailargraffiad. Gwel 1727, a rhif 1, 1750. Golygwyd hwn gan y Parch. T. Williams, Mynydd bach.

1767.

1. "Crocodil, Afon yr Aipht, Wedi ei weled ar fynydd Seion, sef Oenfigen wedi ei olrhain trwy 'r Byd a'r Eglwys. Gan W. Williams. Caerfyrddin, argraphwyd dros yr awdwr gan J. Ross. 1767."

2. "Yr Aberth Cymeradwy; neu Ragoriaeth Calon Ddrylliog. Yn dangos Natur, Arwyddion, ac Effeithiau priodol Ysbryd Drylliedig. Gan y Gwas Enwog hwnw o eiddo Crist, Mr. John Bunyan. Caerfyrddin: argraffwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. MDCCLXVII. [Pris chwe' cheiniog.]"

3. "Atteb i Lyfr Mr. Edward Hitchin, a elwir, Achos Babanod yn cael ei ddadleu, ei eglurhau, a'i amddiffyn, &c. Gan y diweddar Barchedig Mr. Samuel Ewer, o Heamstead, ger llaw Llundain. Wedi ei gyfieithu gan Josuah Thomas. Caerfyrddin, argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst, 1767. [Pris swllt.]"

Gwel am lyfr Mr. Hitchin, rhif. 7, 1776.

4. "Hymnau; neu Ganiadau, er Mawl a Gogoniant i Dduw. Yn cynnwys Ocheneidiau, Gryddfanau, Ymdrechiadau, a Byddygoliaethau, y Pererinion; wrth ymdeithio tua'r Bywyd. Gan John Roberts. Caerlleon: argraphwyd gan J. Harvie. M,DCC,LXVII."

5. "Tyred a Chroesaw at Iesu Grist. Sef Ymddiddan rhwng yr Iesu a'r Publican. Yr hyn sydd er addysg a chysur i'r Cristion gwan. Y trydydd argraphiad. Caerlleon: argraphwyd gan Ioan Harfie, tros Peter Morris. 1767."

6. ¶ "Annogaeth i Bobl Ieuangc cyn dyfod i'w Conffirmio. Gan y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol. Pris 2d."

7. "Helaethrwydd o Ras i'r Pennaf o Bechaduriaid—sef cywir Hanes o Fywyd a Marwolaeth Ioan Bunian: neu fyrr Ddatcuddiad o Ragorol Drugaredd Duw iddo êf. Yn enwedigol, yn ei gymmeryd êf o'r dommen, a'i ddychwelyd

i Ffydd ei Fendigedig Fab, Iesu Grist. Lle dangosir hefyd yn neillduol, pa olwg ar, a pha ofid am bechod a gafodd; hefyd, pa amrywiol Brofedigaethau a'i cyfarfu, a pha fodd y dygodd Duw ef trwyddynt oll. Wedi ei gyfieithu o newydd gan Ifan Thomas, argraffydd. Caerlleon: argraphwyd gan Ioan Harfie, tros Pedr Morris o Lanrwst. 1767. [Pris swllt.]"

Y mae llythyr Ifan Thomas at y darllenydd yn ei ddechreu. Y mae yn llyfr bychan tlws o 162 tudal. 18 plyg. Gwel hefyd rhif 6, 1737; rhif 8, 1763; a rhif 15, 1766.

8. "Rhyfeddod y Rhyfeddodau, neu Gair a wnaethpwyd yn Gnawd. Wedi ei osod allan mewn Càn Dduwiol. Gan William Robert. Aelod o'r Eglwys sy'n ymgynnull gerllaw y Felin foel, ymhlwyf Llanelli, yn sir Gaerfyrddin. Llanymddyfri: argraphwyd gan Rees Thomas. 1767.

9. "Remains of Iaphet, being Historical Enquiries into the Affinity and Origin of the European Languages. By James Persons, M.D. Member of the College of Physicians, and fellow of the Royal and Antiquary Societies of London. London: printed for the Author. M,DCC,LXVII."

10. "Agoriad Athrawiaeth y Ddau Gyfammod, dan yr enwau Deddf a Gras; yn dangos Natur pob un o honynt, pa beth ydynt fel ag y maent yn ddau Gyfammod: Hefyd, pwy, a pha beth yw Cyflyrau y rhai sydd dan bob un o honynt, &c. Gan y gwas enwog hwnw o eiddo Crist, Mr. John Bunyan. Caerfyrddin: argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst, 1767. [Pris swllt.]"

11. "Myfyrdodau Difrifol ar y Pedwar Peth diweddaf: sef Angau, Barn, Nef, ac Uffern. Gan y gwas enwog hwnw o eiddo Crist, Mr. John Bunyan. Caerfyrddin: argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. M,DCC,LXVII."

12. "Barnedigaethau ofnadwy Duw ar Blant Creulawn, drwg ac anufudd i'w Rhieni. Wedi ei gyfieithu i'r Cymry. Gan Ifan Thomas. Caerfyrddin: argraphwyd gan I. Ross, tros Lewis Jones. 1767."

13. "Rhybudd teg mewn pryd da; sef Dadlau Pechaduriaid gwedi eu gostegu trwy fuddugoliaeth y gwirionedd. Mewn Ymddiddanion rhwng Gweinidog o Eglwys Loegr, ag amryw Bechaduriaid, sef Meddwyn, Tafarnwr, Bragwr, Coegddigrifwr, Cerddwr, Dawnsiwr, Tyngwr, Celwyddwr, a'r Twyllwr. Gan Rhys Rhydderch. Caerlleon: argraffwyd gan Ioan Harfie, tros P. Morys. 1767."

1768.

1. "Cyfarwyddyd i weddio (a drefnwyd i Esgobaeth Baddon). Gan y Gwir Barchedig Dad yn Nuw, Thos. Kenn, D.D. Llundain."

Cyhoeddwyd hwn ar draul y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol; a gwerthid am 5c. i'r aelodau.

2. ¶ "Trefn am Dduwioldeb ar Ddydd yr Arglwydd, cymmwysedig i'r rhai gwaelaf eu deall. Gan Wm. Asheton, D.D., Person Beckenham, yn-nghent, a gyfieithiwyd gan R. Lloyd, Person Hurnant. Argraffwyd yn y Mwythig."

Ailargraffiad, tybygid, o rhif 4, 1698.

2. "Oes Lyfr. Yn dair rhan. Yn cynnwys i. Côf Lyfr ysgrythyrol. ii. Am Frenhinoedd y Bruttaniaid, a Thywysogion Cymru. iii. Am Frenhinoedd a Brenhinesau Lloegr er y Congcwest, i deyrnasiad Sior iii. Yn rhoddi hanes am y pethau mwyaf rhyfeddol a ddigwyddodd yn eu Teurnasiad hwynt; sef Rhyfeloedd, Pla, &c. Gan Thomas Williams. Argraffwyd gan I. Ross, yng-Nghaerfyrddin. M,DCC,LXVIII. [Pris chwe' cheiniog.]

Ailargraffiad. Gwel rhif 4, 1724. Y mae y rhagymadrodd wedi ei amseru—" O'm llyfrgell ar y Mynydd bach, yn Llandeilo fawr, Awst 18, 1768.

4. "Y Credadyn Bucheddol. Neu fannau Credo 'r Apostolion. Wedi eu gosod allan yn gymmwys i hyweddu pob un i Fuchedd Dduwiol a Christianogol. Yn ddwy ran. A ysgrifenwyd yn Saisneg. Gan y Parchedig Mr. John Kettlewell, Ficar Coles-Hill, yn sir Warwic, ynghylch y flwyddyn 1680.

Ac a gyfieithwyd o'r trydydd argraffiad Seisnig, gan Risiart ap Robert, Athraw ysgol Llanrhaiadr yng Nghinmerch, yn sir Ddinbych, yn y flwyddyn 1763. Llundain: argraphwyd gan Sion a William Olifer, yn Bartholomew-close. M,DCC,LXVIII."

5. ¶ "Catechism o'r Ysgrythyr, yn nhrefn Gwyr y Gymmanfa, a 'sgrifenwyd gan y Parch. Mathew Henry. Yn Gymraeg i ddangos i'r Cymro un-jaith, i. Y Pethau a ddylau efe gredu. ii. Y dyledswyddau a ddylau ei cyflawni tuag at Duw a dynion. iii. Y Cyfryngau neu'r Moddion a ddylau efe eu Harfer. iv. Y Pethau a ddylai efe ei Gofyn gan Dduw mewn Gweddi, a hynny allan o air Duw ei hun. Wedi ei Gyfieithu gan Iago ab Dewi. Yr ail argraffiad Yng-nghaerfyrddin."

6. "Taith y Pererin, y drydedd ran, Tan Rith Breuddwyd, &c. Gan John Bunyan. O gyfieithiad John Edwards ynglyn Ceiriog, o'r 27 argraffiad yn Saesnaeg. Printiedig Ynghaerfyrddin."

Gwel rhif 2, 1688; a rhif 1, 1699; a'r rhif nesaf.

7. ¶ "Taith y Pererin, gan John Bunyan. Yr ail Ran. O gyfieithiad John Edwards o Glynn Ceiriog. Mwythig."

Gwel rhif 6 uchod. Dylasai hwn fod ychydig yn gynnarach; ond gan nad oeddym sicr o'r amseriad, cyfleuasom ef yma.

8. "Rhifyddeg, Neu Arithmetic: Mewn Trefu hawdd ac eglur, &c. Gyda chyfarwyddyd i gael arwynebiad, ac Eang-fesur amryw luniau, megis Tiroedd, muriau Tai, a'u pennau, Llofftydd, Byrddau, Gwydr, Planciau, Coed ysgwar a chrynion, Llestri a Llongau, &c. Gan John Roberts o Fôn. Dublin argraffwyd."

Y John Roberts uchod ydoedd Sion Rhobert Lewis, yr almanaciwr.

9. "Y Ffigisbren anffrwythlon: Neu farn a chwymp y Proffeswr Diffrwyth. Yn dangos Y dichon Dydd Gras Ddarfod arno yn hir cyn darfyddo ei fywyd. Hefyd yr arwyddion wrth ba rai y gellir adnabod y cyfryw drueiniaid marwol. Gan y Gwas enwog hwnnw o eiddo Crist, Mr. John Bunyan. Wedi ei gyfieithu o Ail-Lyfr unplyg yr Awdwr, a argraffwyd yn Llundain 1737, tan olygiad y Parch. Mr. Samuel Wilson. Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth gan J. Ross, 1768. [Pris Pedair Ceiniog]."

10. "Ymddiddan rhwng yr Arglwydd Iesu Grist ar Phariseaid hunan-gyfiawn, yr hwn sydd yn pwyso ar ei weithredoedd ei hun. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol Awst, tros Peter Morris, yn y Flwyddyn 1768." 12 tudal. 12plyg.

11. "Hanes Bywyd a Marwolaeth Tri Wyr o Sodom a'r Aipht, y fan hefyd y croeshoeliwyd ein Harglwydd ni, sef *Afaritus*, yr Awyddus; *Prodigalus*, yr Afradlon; a *Fidelius*, y Cristion. Mewn dull o ymddiddan rhwng Cantator y Bardd a Phen-Cantator, yr Holiedydd. At ba un y chwanegwyd Marwnad i bob un o'r Tri, &c. Gan Wm. Williams. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, tros yr Awdur. M.DCC.LXVIII."

12. "Nodau 'Sgrythyrol y Gwir Gristion, ynghyd â rhai Diferion o Laeth a Mel. Wedi ei gyfieithu o'r Saesonaeg. Hefyd Gwaedd ar Fynydd Seion, yn Gwahodd Proffeswyr Crefydd o bob barn at eu Dyledswydd o herwydd y derfysg bresenol sy'n y Durnas hon. Gan J. T. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Ross, 1768."

13 ¶ "Llythyr at Holl Drigolion Cymru: a Elwŷr y Tair Ysgol i'r Nefoedd. Wedi ei sylfaenu ar y Tair Egwyddorion, neu Sylfaenau yr Efengyl, ac a gynhwysir tan y pennau hyn, Bywyd Rhesymmol, Ffydd Rhesymmol, Gobaith Rhesymmol. Oddiwrth eu Brawd Thomas Edwards, Gweinidog o Eglwys Loegr fwy na Dêg mlynedd ar hugain mewn urddau. At ba un y chwanegir Tair Pregeth: Un ar yr Ail Enedigaeth, neu'r Enedigaeth Newydd. Un ar y Sacrament, ac un ar Iechydwriaeth a Dedwyddwch Tragwyddol trwy Grist. A ffordd gyfleus i arfer Boreuol a Phrydnhawnol Weddi mewn Teuluoedd. Argraffwyd Ynghaerlleon gan Read a Huxley."

14. "Gweledigaethau y Bardd Cwsg. Y Rhan Gyntaf. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan J. Eddowes. MDCCLXVIII."

Gwel rhif 6, 1703, a rhif 6, 1725.

15. "An Historical Account of the British or Welsh Versions and Editions of the Bible. With an Appendix containing the Dedications prefixed to the first Impressions. By Thomas Llewelyn, LL.D. Pro Patria. London. Printed by Richard Hett, &c. MDCCLVIII." 8vo.

16. "Llyfr y Weddi Gyffredin. Llundain: printiedig gan Mark Basket, printiwrs i Arddercheccaf Fawrhydi 'r Brenin. M,DCC,LXVIII." Unplyg.

17. "Llythyr oddiwrth Gymanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi i ba rai maent yn perthyn. Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. 1768."

1769.

1. "Camni yn y Coelbren; neu Datguddiad o'r modd y mae Pen-arglwyddiaeth Duw yn trefnu Cystuddiau Dynion, yn nghyd a'r modd y Dylai Crist'nogion ymddwyn tanynt. Gwedi ei osod allan mewn Pregethau. Gan y diweddar Barch. Thos. Boston. Gweinidog yr Efengyl yn Etric yn yr Alban. Newydd ei Gyfieithu yn Gymraeg. Dros Thos. Davies o sir Benfro. Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Ross. 1769. 78 o dudal."

2. "Duwioldeb Rhydychain: Neu Hanes Cyflawn a Diduedd am chwech o ysgolheigion a fwriwyd allan o Neuadd-golegol St. Edmund, yn Rhydychain, Gyda Llythyr Cyflwyniad at yr Anrhydeddus Iarll Litchfield, Canghellor y Brif ysgol honno. Gan Athraw 'r Celfyddydau o Brif ysgol Rhydychain. Caerfyrddin, Argraffwyd, ac ar werth gan Ioan Ross, tros Mr. Ioan Tomas o Lanfihangel, gerllaw y Gelli Aur. M,DCC,LXIX.

3. "Dirgelwch Babel Fawr, Mam-Butain yr holl Ddear; Neu Gywir hanes o lawer o Greulonderau, a Chyfeiliornadau Eulunaddolgar Eglwys Rhufain; Wedi ei nodi allan o'r awdwyr Gorau, er lles i'r Cymru. Gan John Hughes, o Drefaes, yn Llŷn. Argraffwyd yn Llanymddyfri.

4. "Cyfaill i'r Cymro; neu Lyfr o Ddiddanwch Cymhwysol, er dowys Dyn ar Ffordd o Hyfrydwch: yn Ganeuon, a Charolau, ac Englynion, hawdd yw deuall, o waith Prydyddion sir y Flint, a sir Ddimbech. O gasgliad W. Hope, o Dre Fostyn. Caerlleon: Argraphwyd gan W. Read a F. Huxley yn y flwyddyn 1769; ag ar werth gan W. Hope, yn Sir y Flint."

5. "Cynghr Gweinidog o'r wlad i'w Blwyfolion, yn enwedig i'r rhai ieuaingc o honynt. Yn dangos Beth a ddylent gredi a gwneuthur fel y b'ont gadwedig. Argraffwyd yn Llundain i'r Gymdeithas er cynnyrchu gwybodaeth Crist'nogol. MDCCLXIX." 78 o dudal.

6. "Ffarwel Weledig, groesaw Anweledig Bethau: Neu rai Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen. Y Drydedd Ran. Gan William Williams. Llanymddyfri: argraphwyd tros yr Awdwr gan Rys Tomas. M,DCC,LXIX." 12plyg. 84 tudal.

7. "Y Bibl Cyssegr-lan, &c. Llundain: argraffwyd gan Mark Basket."

Ar draul y Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristionogol y cyhoeddwyd yr argraffiad hwn. Cafodd Dr. T. Llewelyn, Bedyddiwr o sir Fynwy, gan y gymdeithas argraffu rhai miloedd yn ychwaneg na'u bwriad ar y cyntaf, er mwyn cyflawni diffygion yr Ymneillduwyr. Yr oedd yr argraffiad ynghylch ugain mil o lyfrau.[1] Rhoddodd un, Mrs. Marlow, o Lanllieni, gant ac ugain o Feiblau yr argraffiad hwn i'r Bedyddwyr—i'w rhoddi ar eu pulpudau yr oeddynt, y rhan fwyaf. Dywed y diweddar Barch. Evan Evans (Ifan Brydydd Hir), mewn "Rhybudd i'r Darllenydd," yn ei "Angchwanegiad," yn niwedd llyfr ii. o'i "Gasgliad o Bregethau," fel hyn am yr argraffiad hwn:—"Ond i mae bai arall sydd waeth na'r cwbl a grybwyllwyd uchod, [sef yn lle *ynghyngor, ynghynnulleidfa, yngolwg*, ysgrifennu, *yng nghyngor, yng nghynnulleidfa, yng ngolwg*], ag sydd yn argraphiadau diweddaf y Bibl Cyssegr-lân drwy newidio ag anffurio enwau dynion a lleoedd drwy holl gorph yr ysgrythur lân, gan daflu y llythyren *Ch* gymraeg allan o'r geiriau hynny, lle ir oedd y Groegiaid a'r Hebreaid yn arfer y llythyr *Chi* a *Chaph* Hebräeg, ag arfer *C* yn ei lle, megys yn y geiriau canlynol: *Acis, Nebucodonosor, Aristarcus, Tycicus, Acaia;* yn lle *Achis, Nebuchodonosor,*

[1] Dywedir yn y "Dysgedydd," Gor. 1828, tudal. 194, mai deng mil oeddynt.

*Aristarchus, Tychichus*, ag *Achaia*. Chwith iawn a fyddai ysgrifenny y geiriau canlynol *Llywarch, Cynfarch* yn Gymraeg, yn y wedd llygredig hon—*Llywarc, Cynfarc*. Nid llai chwithig ynteu, i'r sawl a ddeallont y iaith wreiddiol, yw troi 'Αχις, Νεβυχοδόνοσορ, 'Αριστάρχῳ, Τυχικος, 'Αχάια, yn *Acis, Nebucodonosor, Aristarcus, Tycicus* ag *Acaia*, o ran fod y Saeson yn eu llafaru felly, a'n heglwyswyr seisnigaidd ninnau yn eu dilyn yn eu llygredig lafariad.

"Nid wyf yn dywedyd hyn er gwarthruddo neb, o herwydd nad eill neb ond a allo. I mae gennyf fi a phob gwir Gymro ddyladwy barch a chariad i'r sawl a olygasant yr argraphiadau diweddar y Bibl Cyssegrlân yn Gymraeg, o herwydd eu bod yn deall iaith ein gwlâd yn odidog Ond da i gwnaethent hwy yn y peth hwn yn fy marn i, ag i bawb a ddelo ar eu hol hwynt, i olygu argraphiad yr yscrythur lân, ddilyn argraph neu ddull yscrifenniad y dyscedig a'r parchedig Escob, Rissiart Parry, a'r Doctor Davies o Fallwyd yn argraphiadau y Bibl Cyssegrlân, a ddaethant allan yn y flwyddyn 1620 a 1630; gwŷr a oeddynt yn deall iaith eu gwlâd yn rhagorol, a chanddynt gariad i'w gwlâd a'u hiaith, ag i eneidiau dynion. Nid fel y gormesiaid seisnigaidd yn ein dyddiau drwg ni, y rhai ni fedrant, ac ni fynnant, wneuthur yr hyn a weddai i Fugeiliaid ffyddlon. Duw yn ei drugaredd a symmudo ymmaith ei farnedigaethau oddiarnom, ag a ganiattao ini gannwyllbren ei air sanctaidd yn ein iaith ein hunain, ac escobion a fedront ysgrifennu, pregethu a darllen Cymraeg. Amen."

8. "Historical and Critical Remarks on the British Tongue and its Connection with other Languages, Founded on its State in the Welsh Bible, By Thomas Llewelyn, Ll.D. London, printed for J. Bukland, in Paternoster row, &c. M.D.CC.LXIX. [Price Two Shillings.]"

9. "Offeiriad gryft wedi ymddiffyn. Pregeth yn achos bwrw allan chwe' gŵr ieuang boneddigaidd o Brif-ysgol Rhydychen. Am Weddio, Darllen ac Ysbonio yr Ysgrythyrau. Wedi ei gostyngedig anrhegu i Mr. Prif Ganghellor a Penaethiaid y Tai. Gan eu gostyngedig Wasanaethwr, Y SHAVER, &c. Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg. Dublin: argraphwyd gan S. Powell, in Dame street, opposite to Downes's street. M,DCC,LXIX."

10. "Galarnad ar Farwolaeth Mr. W. Read: o Bont y Moel, yn ymmyl Pont y Pool: Physygwr, Meddyg, ac Apothecary: Yr hwn a ymadawodd a'r byd yn mis mawrth, 19, 1769, yn y 53 o'i oed. Ac a adawodd ar ol Wraig a gyfenwid Mary, a dwy Ferched, Mary ac Anne, ac etifeddiaeth luosog iddynt. Ynghyd a Llythyr wedi ei ddychymygu o Fyd yr Ysbrydoedd at ei wraig a'i ddwy ferched. A Hymn hefyd wedi ei chyfansoddi ar awr o Gystudd a Gwendid. Gan W. Williams. Argraphwyd yn Llanymddyfri, gan R. Thomas. 1769."

11. "Marwnad ar Farwolaeth y Parchedig Timothy Thomas, yr hwn a ymadawodd â'r byd, Tachwedd 12, 1768. Caerfyrddin, argraffwyd tros yr Awdwr, gan J. Ross, yn Heol Awst, 1769."

Y T. T. uchod ydoedd weinidog ymhlith y Bedyddwyr, brawd i awdwr "Hanes y Bedyddwyr," a brawd arall, Zecharias Thomas, ydoedd awdwr y farwnad.

1770.

1. "Y Beibl Sanctaidd: sef yr Hen Destament a'r Newydd, gyda Nodau a Sylwiadau ar bob Pennod. Caerfyrddin, argraphwyd dros y Parch. Peter Williams. 1770."

Dyma y waith gyntaf i'r Bibl gael ei argraffu yn Nghymru. Rhoddodd Mr. Richard Morris ddau fap i'w harddu, fel y gwnaeth Mr. W. Jones â Biblau y blyneddau 1746 a 1752. Argraffwyd 8,000 o honynt, a gwerthid hwynt am 1*p.*, yn rhwym; ac felly yn isel iawn. Nid Peter Williams oedd y cyntaf i esbonio yr Ysgrythyrau yn Gymraeg; canys yr oedd "Cysondeb y Pedair Efengyl, gan John Evans, Athraw yn y Celfyddydau" yn cynnwys nodau byrion ar adnodau, yn gyhoeddedig er y flwyddyn 1765. Ond rhaid addef mai P. W. oedd y cyntaf a wnaeth "sylwadau ar bob pennod." Yr ydym yn tybio mai sylwadau Ostervald a ddilynodd ef fwyaf, yr hwn oedd Almaenwr (*German*).

2. "Trysorfa Gwybodaeth. Neu Eurgrawn Gymraeg. Caerfyrddin argraphwyd."

Dywed y Dr. T. Rees, ddarfod i'r "Eurgrawn" hwn gael ei gynllunio a'i gario

ymlaen ar ei draul ei hun, gan ei dad ef, y Parch. Josiah Rees, o'r Gelli Gron, yn sir Forganwg, yr hwn le a ddaethai trwy bryniad yn eiddo i'w fab, sef Mr. Owen Rees, gynt llyfrwerthydd enwog yn Paternoster-row, Llundain."[1]

3. "Tyred a Groesaw at Iesu Grist. Neu Draethawd eglur a buddiol, ar Ioan vi. 37. Yn dangos Achos, Gwirionedd, a dull dyfodiad Pechadur at Iesu Grist, &c. Yn Saesonaeg gan John Bunyan, ag yn Gymraeg gan Iago ab Dewi. Yn awr dan olygiad y Parch. Mr. Samuel Wilson. Caerfyrddin, Argraphwyd."

4. "Teml Solomon wedi ei hysbrydoli; Neu oleuni 'r Efengyl wedi ei gyrchu allan o'r Deml yn Jerusalem, i'n harwain yn hawsach i mewn i Ogoniant Gwirioneddau y Testament Newydd. Gan John Bunyan. Argraffwyd Ynghaerfyrddin."

5. "Cydymaith i'r Allor. Gwedi ei gyfieithu i'r Cymraeg, gan L. E. Argraffwyd yn y Mwythig, gan Stafford Prys"

Gwel rhif 3, 1715; rhif 4, 1753; a rhif 11, 1762.

6. ¶ "Cywydd Llyntegid, sef y Prydydd yn cyffelybu Tonnau 'r Llyn i Dragwyddoldeb."

7. "Seion yn ei galar, neu Hymnau o fawl i Dduw a'r Oen. Argraphwŷd yn y Flwyddyn, 1770."

8. "Ymddiffyn Cristionogol: sef Copy o Lythyr at wr urddasol, a anfonodd ei was i aflonyddu addoliad Crefyddol ar ddydd yr Arglwydd. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, dros Dafydd Lewis. 1770."

9. "Dedwyddol ymadawiad y cyfiawn, Neu Marwnad y Parchedig Mr. William Evans, Gweinidog yr efengyl, o blwyf Llan-Giwc, yn Sir Forganwg, yr hwn a ymadawodd a'r byd presenol Ebrill 24, yn y flwyddyn 1770, yn 54 oed, yr hwn oedd ddiwid a llafyrus a defnyddiol, &c. Gan Dafydd William. Pontfaen: Argraffwyd tros yr Awdwr yn y flwyddyn MDCCLXX."

10. "Marwnad ar y Parchedig Mr. G. Whitfield, Chaplain i'r Wir Anrhydeddus Iarlles Huntington; yr hwn a fu farw y degfed ar hugain o Fedi, 1770. Yn Newbury, yn Lloegr Newydd. Gan W. Williams. Ynghyd a Llythyr Capten Jacobson, o Boston, ar Achos ei Farwolaeth. Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr gan I. Ross. M,DCC,LXX."

11. "Marwnad ar y Parchedig Mr. H. Davies, Chaplain i'r Wir Anrhydeddus Countess Walsingham, yr hwn a fu farw y 13 o Ionawr, 1770, yn y 53 flwyddyn o'i oed.—An English Elegy on the Rev. Mr. H. Davies, Chaplain to the Right Hon. Countess of Walsingham, who departed this life January 13th, 1770, in the 53d year of his age, who was likewise a pastor of four large Congregations in Pembrokeshire. By Mr. W. Williams. Llanymddyfri: Argraphwyd gan R. Thomas tros yr Awdwr. 1770."

12. "Marwnad, neu Goffadwriaith o ddedwydd farwolaeth rhai o Weinidogion ffyddlon yr Efengyl; a ymadawodd â'r byd hwn yn ddiweddar, yn Neheudir Cymru: sef y Parchedig Mr. Howel Davies, yn Sir Benfro, Mr. William Richard, yn Sir Aberteifi; a Mr. Sion Parry, yn Sir Gaerfyrddin, ynghyd ag amryw eraill o'r Saint fu yn cyd-addoli Duw gyda rhai o honom yn y Byd presenol, sydd heddyw yn holl-iach yn y Byd tragywyddol. Gan Morgan Rhys. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross. 1770."

13. "Llythyrau William Erbury a Morgan Llwyd, gan Thomas Meredith."

Gŵr o ger llaw y Drefnewydd, yn sir Drefaldwyn, ydoedd T. Meredith.

14. "Pigiadau dewisol o waith y Prydyddion o'r amrywiol oesoedd. Gan Rice Jones, o'r Blaenau, yn Sir Feirionydd."

Yr oedd Mr. Jones yn un o'r prydyddion enwocaf yn Nghymru yn ei amser. Argraffwyd ei waith yn y ganrif bresennol. Ei fai oedd ei ysgafnder.

[1] "*Historical Description of Glamorganshire—Beauties of England and Wales.*"

15. "Difyrwch i'r Pererinion o fawl i'r Oen, &c. Gan David Jones o Lanwrda. Caerfyrddin, Argraphwyd, tros yr Awdwr, gan John Ross. M,DCC,LXX."

Hymnau yn dyfod allan yn rhanau oedd yr uchod, a gwyneb-ddalen y drydedd ran ydyw; gwel rhif 6, 1763.

16. "Y Seren Foreu, neu Ganwyll y Cymry. Gan Rhys Pritchard, A. M., Gynt Ficar Llanymddyfri. At yr hyn y chwanegwyd ynghylch 359 o Benillion a gymerwyd allan o Scrifen-Law yr Awdwr ei hun, pa un nas cyhoeddwyd yn yr Argraphiadau Cyntaf. A gyhoeddwyd ac a Argraphwyd yn Llanymddyfri gan R. Tomas. [Pris 3s. 6c. bound.] M,DCC,LXX."

Gwel rhif 1, 1646; rhif 6, 1672; rhif 2, 1681; rhif 9, 1700; rhif 1, 1721; a rhif 19, 1766.

17. "Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu. Llanymddyfri: Argraphwyd gan Rys Tomas, 1770."

18. "Defnyddiol Hymnau i Breswylwyr y Graig. Gan Morris Griffiths, gerllaw Hwlffordd. Trefecca, Argraphwyd dros yr Awdwr. M,DCC,LXX."

19. "Llyfr y Weddi Gyffredin." 8plyg.

1771.

1. "Gweledigaethau Dirnadwy; neu Ddehongliad i'r Breuddwydion o amryw ystyriaethau, wedi eu casglu allan (gan mwyaf) o Scrifeniadau gwerthfawr yr hên Gymry. Caerfyrddin."

2. "Gloria in Excelsis. Neu Hymnau o fawl i Dduw a'r Oen. Y rhan gyntaf. Gan Wm. Williams. Llanymddyfri."

3. "Hunan-Adnabyddiaeth: neu Draethawd yn dangos Natur a mantais y cyfryw Wybodaeth Bwysfawr, a'r ffordd i'w chyrhaeddyd; ynghymmysg ag amryw o ystyriaethau ar y Natur Ddynol. Argraphwyd dros y Cyfieithydd, gan J. Ross. 1771. [Pris Swllt.]"

Cyhoeddwyd argraffiad a chyfieithiad newydd o hono ychydig o flyneddau yn ol yn Nghaernarfon; a hysbysir argraffiad arall o hono yn bresennol.

4. "Canwyll y Cymry, gan Rees Prichard."

Gwel rhif 1, 1644; rhif 6, 1672; rhif 2, 1681; rhif 9, 1700; rhif 1, 1721; a rhif 19, 1766.

5. "Welch and English Dictionary, gan W. Evans."

6. "Gweinidog wedi marw yn llefaru eto, sef cynnhwysiad dwy Bregeth a bregethwyd Tachwedd 11, 1770, ar farwolaeth y Parchedig Gô. Whitfield, A. M., gynt o Goleg Penbro yn Rhydychen, Chaplaen yr Anrhydeddus Iarlles Huntington. Gan y Parch. Mr. David Edwards. O gyfieithiad Peter Williams. Argraphwyd yn Nghaerfyrddin."

7. "Trysorfa Auraidd i Blant Duw, trysor y rhai sydd yn y Nefoedd; yn cynnwys Testynau dewisedig o'r Bibl, a Sylwiadau ysbrydol a phrofiadol, am bob dydd yn y flwyddyn. Ysgrifenwyd gan C. H. V. Bogatsky. Ynghyd a Hymnau a ddewiswyd at bob un o honynt, o waith y Dr. Watts. Trefecca, Argraffwyd dros y Cyfieithydd, yn y flwyddyn 1771."

Y cyfieithydd a'r cyhoeddydd ydoedd y Parch. John Thomas, gynt gweinidog yr Ymneillduwyr yn Rhaiadrŵy, Cae bach, &c., yn sir Faesyfed. Un o'r llyfrau defosiynol goreu a gyhoeddwyd ydyw. Y mae yn llyfr trwchus—tros dri chant a hanner o dudalenau, ac yn agor yn ei dalcen, fel llyfr tônau.

8. "Llewyrchiadau Gras o dan yr hên Oruchwyliaeth, mewn Hymnau ar Destynau ysgrythyrol. Hefyd Lloffion o Hymnau 'r Dr. Watts, yn perthyn i'r llyfr Trysorfa Auraidd, &c. Gan J. T. Trefecca; Argraphwyd dros yr Awdwr. M DCC LXXI."

9. "Pregeth ar Farwolaeth y Parch. G. Whitfield, A. M. Gyda pheth o hanes ei fywyd. Gan J. Wesley, A. M., Cyfaill (gynt) o Brif-Ysgol Lincoln, yn Rhyd-

ychen, a Chapelwr y wir anrhydeddus Iarlles Waddelog Buchan. Pontfaen, Argraphwyd gan Rhys Thomas, tros y cyfieithydd Henry Lloyd, 1771."

Yr Henry Lloyd uchod ydoedd bregethwr cynnorthwyol gyda Mr. Wesley, ac yn byw yn nghymydogaeth Caerphili, yn Morganwg. Y mae peth crybwylliad am dano yn *"Atmore's Methodist's Memorial."*

10. "The Circles of Gomer, or an Essay towards an Investigation and Instruction, &c. By Row. Jones, Esqr. London, sold by S. Crowther, in Pater noster Row, &c. 1771."

Y Row. Jones uchod ydoedd perchenog y Weirglodd-Fawr *(Broom Hall)*, ger Pwllheli, yn sir Gaernarfon. Ceisio profi y mae, yn y traethawd uchod, mai y Celtaeg yw gwraidd holl ieithoedd Ewrop.

11. "Rhai Rheolau a Chyfarwyddiadau a gynnygwyd er cynnyddu Cyfeillach Grefyddol yn mhlith Cristionogion, &c. O waith y Parchedig Mr. Lewis Rees. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross. 1771."

12. "A Dissertation on the Welsh Language, pointing out its Antiquity, Copiousness, Grammatical Perfection, with Remarks on its Poetry, and other articles not foreign to the subject. By John Walters, Rector of Landough, Glamorganshire. Cowbridge, Printed to the Author, by R. and D. Thomas. M,DCC,LXXI."

13. "Taith y Pererin, tan gyffelybiaeth Breuddwyd, &c. Wedi ei gydmaru oll yn ffyddlon â'r argraphiad goreu yn Saesoneg, a'i ddiwygio o amryw feiau anafus; ynghyd a Rhagymadrodd a Diweddglo yr Awdwr, y rhai na buont erioed o'r blaen yn Gymraeg. Caerfyrddin, argraffwyd ac ar werth gan I. Ross, yn Heol Awst. Ar werth hefyd gan Mr. Allen, yn Hwlffordd, a Mr. W. Jones, yn y Bala, 1771. [Pris naw ceiniog, gyda elw da i brynwyr amryw.]"

Y mae rhagymadrodd, neu "Gair at y Darllenydd" yn ei ragflaenu, gan yr argraffydd, yn hysbysu pa gyfnewidiadau a gwelliadau a wnaed yn yr argraffiad hwn, ac yn sicrhau ei fod y goreu a ddaeth allan hyd yn hyny.

14. "The Welshman's Candle: or the divine Poems of Mr. Rees Prichard, sometime Vicar of Landovery, in Carmarthenshire Now first translated into English verse. By the Rev. William Evans, Vicar of Lawhaden. Carmarthen, printed by J. Ross. M,DCC,LXXI."

15. "Pregeth a bregethwyd gan y Parchedig Mr. George Whithefield, yn y Tabernacl yn Llundain, Awst 30, 1769, ar ei ymadawiad i Georgia. Cyfieithiwyd gan y Parchedig Mr. John Rowlands. Llanymddyfri, argraphwyd gan Rhys Thomas, M,DCC,LXXI."

Y mae yn ei ddiwedd ychydig o hanes marwolaeth Mr. Hervey.

16. "Pob Dyn yn Physygwr ei hun. Yn Ddwy Ran. Yn cynnwys i. Arwyddion y rhan fwyaf o glefydau ag y mae Dyn yn ddarostyngedig iddynt, ynghyd â Chynghorion rhagddynt, a gasglwyd o waith prif Physygwyr eu hoesoedd. Gan Dr. Theobald, ac a gyhoeddwyd yn Saesneg trwy orchymyn ei ddiweddar Uchelradd William, Diwc o Cumberland; at yr hyn y chwanegwyd amryw Gynghorion at yr un rhyw glefydau, allan o 'sgrifeniadau hen Awdwr profedig. ii. Yn cynwys Cynghorion rhag y rhan fwyaf o glefydau ag y mae Ceffylau, Ychen, Gwartheg, Lloi, Wyn, a Moch yn ddarostyngedig iddynt. Gwedi eu casglu allan o waith Awdwyr profedig. Y cwbl yn cynwys pethau isel bris a hawdd eu cael. Ynghyd a Thabl at bob Rhan. Tra chymmwys ac angenrheidiol ym mhob Teulu ac i bob Trafaeliwr. Newydd ei gyfiaethu i'r Gymraeg, Caerfyrddin, Argraphwyd ac a werthir gan I. Ross. 1771. Pris chwe cheiniog heb ei rwymo."

17. "Cynghorion Tad i'w Fab. Yn rhoddi iddo gyfarwyddiad pa fodd i ymddwyn ei hunan yn y Byd presennol. Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan J. Ross; ac ar werth hefyd gan y Parch. Mr. Tomas Wiliam, Mynydd bach. M,DCC,LXXI. [Pris Tair Ceiniog.]"

18. "Taith y Pererin. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan J. Eddowes, 1771."

Gwel rhif 12, uchod. Mynych y canfyddasom ddau argraffiad yn yr un flwyddyn o'r hen lyfrau, un yn y Deheudir, a'r llall yn y Mwythig i'r Gogledd.

19. "Marwnad y Parch. Mr. Morgan Jones o Blwyf Blaen-Gwent, Gweinidog yr Eglwys Ymgynnulledig yn y Neuadd, yn mhlwyf Pant teg, Sir Fynwy, yr hwn a ymadawodd a'r fuchedd hon Ionawr 11, 1771. Yn y 55 flwyddyn o'i oedran. Argraphwyd yn y Bont Faen, gan R. Thomas. 1771."

20. "Y Catecism; hynny yw, Athrawiaeth i'w dysgu gan bob un, cyn ei ddwyn i'w Conffirmio gan yr Esgob. Gyda ag Ysgrythyrol Testynau perthynasol. Argraphwyd yn Llundain yn y flwyddyn M,DCC,LXXI."

1772.

1. "Eglwys yn y Tŷ: neu Bregeth am Grefydd-deuluaidd. Gan y Parch. Mathew Henry. At ba un y chwanegwyd Pregeth arall yn atteb yr Esgusodion yn erbyn Crefydd-deuluaidd. Gan y Parch. Job Orton. O Gyfieithiad Samuel Philips. Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Eddowes. M,DCC,LXXII."

2. "Pum Pregeth ar y Testynau canlynol: Luc xxiii. 42; Rhad râs yn wir. Rhuf. viii. 28; Happusrwydd y Duwiol. Dat. iii. 20; Llais y Durtur. Judas 9; Trech yw'r Gostyngedig na'r Balch. 1 Pedr ii. 2; Llaeth ysbrydol. At ba rai y chwanegwyd amryw o Hymnau. Gan y Parch. Mr. Daniel Rowlands, Gweinidog yr Eglwys Newydd, gerllaw Llangeitho. Caerfyrddin, Argraphwyd tros T. Davies, gerllaw Hwlffordd, yn Sir Benfro, gan I. Ross, 1772. [Pris Swllt.]"

3. "Tair Pregeth a bregethwyd yn yr Egwys Newydd gerllaw Llangeitho. i. Newydd da i'r Cenedloedd; *Math.* ii. 8, 9. ii. Crist oll yn oll; *Heb.* i. 9. iii. Cerydd a Chariad Brawdol; *Math.* xviii. 12. Gan y Parchedig Mr. Daniel Rowlands. Caerfyrddin, argraphwyd tros T. Davies, gerllaw Hwlffwrdd, yn sir Benfro, gan J. Ross. 1772. [Pris chwe' cheiniog.]"

Ymddengys fod yr hen Fethodistiaid, neu y Diwygwyr Methodistaidd Eglwysig, yn hwyrfrydig i gael eu hystyried yn amgen nag Eglwyswyr, er eu diarddel o'r Eglwys. Pan adeiladwyd capel i'r Methodistiaid yn ymyl Llangeitho, wedi cauad Rowlands allan o'r Eglwys, ymddengys na fynent alw y lle addoliad hwnw yn gapel na thŷ cwrdd, rhag cael eu hystyried yn Ymneillduwyr, eithr yr "Eglwys Newydd, gerllaw Llangeitho."

4. "Pregeth ar yr achlysur o Chwythiad arswydus Powdwr gwn yn Nghaerlleon gawr. Gan Jos. Jenkins o Wrexham, M.A. Cyfieithwyd gan Benjamin Evans o Lanuchlyn. Gwrexham: argraffwyd gan R. Marsh."

5. "Llyfr y Weddi Gyffredin. Argraffwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys.

6. "Gloria in Excelsis, neu Hymnau o fawl i Dduw a'r Oen. Gan W. Williams. Yr ailargraffiad. Caerfyrddin; argraphwyd gan J. Ross. 1772."

7. "Gorfoledd y Cristion, mewn Pregeth allan o'r *Gal.* vi. 14. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Gurad yn Neheubarth. Allan o Saesonaeg y Parchedig J. Hervey, Periglor Weston Flavell, yn sir Northamton. At ba un y chwanegwyd Pregeth arall gan y Cyfieithydd; 1 *Pedr* i. 15. Trefecca: argraffwyd dros y Cyfieithydd. M,DCC,LXXII."

8. "Caniadau ar amryw Destynau. Wedi eu cyfansoddi ar fesur Cerdd. Gan Sion Llewelyn, o Goed y Cymmer, yn y Faenor, sir Frycheiniog, &c. Yr ail argraffiad, gyda diwygiad o amryw feiau: at ba un y chwanegwyd rhai Caniadau newyddion. Aberhonddu; argraffwyd gan E. Evans, yn y Coleg, 1772. [Pris chwe' cheiniog]."

Gof oedd Sion Llewelyn wrth ei alwedigaeth. Yr oedd yn aelod o'r hen eglwys o Ymneillduwyr Henaduriaethol, ac un o'r rhai cyntaf i wyro yn ei farn at yr hyn a darfynodd yr hyn ydynt yn bresennol, sef Sosiniaid.

9. "The love of our Country."

Barddoniaeth Seisnig, gan y Parch. Evan Evans (y "Prydydd Hir"). Gwel rhif 16, 1764; a rhif 2, 1776.

10. "Dwy Bregeth ar *Ezec.* xxxiii. 11, &c. Gan Ioan Walter, Person Llandochen, Pont y Fon. Argraffwyd gan R. Tomos. M,DCC,LXXII."

11. "Golwg ar Weinidogaeth Epaphras, &c. Neu Farwnad y Parchedig Mr. Lewis Jones, gynt Gweinidog yr Efengyl yn Llanedi, yn sir Gaerfyrddin, a chwedi hyny yn y Cas newydd, Pen y bont, yn sir Forganwg, lle y bu yn llafurio yn y weinidogaeth yn ddiwyd ac yn llwyddiannus, defnyddiol ac offerynol; yn llaw 'r Hollalluog i ddwyn llawer o Eneidiau o'r Tywyllwch i'w ryfeddol Oleuni ef. Cafodd ei symmud gan Ragluniaeth Duw wedi hyny o le a elwir Rhosan, yn Lloegr, hyd nes galwodd ei Arglwydd am dano i dderbyn ei Wobr yn y flwyddyn 1772. A gyfansoddwyd gan Dafydd William. Caerfyrddin, argraphwyd tros yr awdwr gan I. Ross, gerllaw yr Eglwys. 1772."

12. "Catecism neu Hyfforddiad Byrr yn Egwyddorion y Grefydd Grist'nogol; er lleshâd Ieuengctid Cymru, &c. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross. 1772."

Ailargraffiad o rhif 3, 1759.

13. "Hanes Bywyd a Marwolaeth y Parchedig Mr. Fafasor Powel, y gweinidog a'r milwr dewrwych hwnw o eiddo Iesu Grist, &c. Ynghyd a rhai Hymnau melus. Caerfyrddin, argraffwyd, ac ar werth gan J. Ross, yn Heol y Prior. M,DCC,LXXII."

Cyfieithiad yw y llyfr hwn o un a gyhoeddwyd yn Seisneg. Y cyfieithydd oedd un D. Risiart.

1773.

1. "Diddanwch i'w Feddiannydd, neu Ganiadau Defosiynol, &c. Gan Hugh Hughes o Fôn, Dublin, argraffwyd gan S. Powell, tros Gwilim ap Griffith."

2. Y Deddfau Cristionogol, neu Ddidwyll Air Duw. Sef Ffydd a Dyledswyddau Cristion yn gyfan ac yn gryno, &c. Gan y Gwir Barchedig Dad yn Nuw, Francis Gastrel, yr hwn yn ddiweddar oedd Esgob Caerlleon. Ac wedi ei osod allan yn Gymraeg, yn ol y cyfieithiad cyffredin, gan John Evans, A.M. Caerfyrddin, argraffwyd dros yr awdwr gan J. Ross, gerllaw 'r Eglwys. 1773."

3. "Rhybŷdd Cyfr-drist j'r diofal a'r difraw: Neu gywir hanes am gyfiawn farn Duw, a oddiweddodd ystafelliad o ynfydion anystyriol yn ninas Caerlleon; y rhai ar ganol eu dyfurwch a chwythwyd i'r awyr gan Bowdwr Gwnn, a'r Tŷ lle yr oeddynt a wnaed yn gyd wastad a'r llawr. At yr hyn y chwanegwyd Pregeth oddiwrth y geiriau hyny, Eithr, o nŷd edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr un modd, *Luc* xiii. 3. Gan y Parch Evan Evans, Curat [Tywyn]. Argraffedig Ynghaerfyrddin gan J. Ross, yn Heol-y-Prior, ger llaw yr Eglwys. 1773. [Pris dwy geiniog]."

4. "Udgorn dydd Gras, ac udgorn dydd Barn. Pregeth ar yr achlysur o'r Daeargryn a fû yr eilfed dydd ar hugain o Ebrill, 1773, mewn amryw fannau o Ogledd Cymru. Wedi ei chymmeryd allan o *Math.* xxiv. 7. 'A Daeargrynfaau mewn manau.' Gan y Parchedig Mr. John Morgan, gynt Curat Lledrod a Gwnnws yn swydd Ceredigion, ond yn bresenol curat Llanberis, yn swydd Gaernarfon. Ac yr hyn y chwanegwyd Cerdd, ar yr un achosion gan Evan James, gwerthwr lyfr hwn. Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Eddowes. 1773."

Ymddengys mai gwr o Lanfachreth yn Meirionydd oedd Evan James.

5. "Gorchestion Beirdd Cymru, neu Flodau Godidawgrwydd Awen, &c. O Gasgliad Rhys Jones o'r Tyddyn mawr yn y Briniach ym mhlwyf Llanfachreth yn swydd Feirion. Argraffwyd yn y Mwythig." 4plyg.

6. ¶ "Deddfau Moesoldeb. Wedi ei gyfieithu gan Hugh ab Hugh."

Nid ydys yn gwybod amseriad hwn; ond y cyfieithwr oedd yr un a "Dial Ahaz," Gwel rhif 12 isod.

7. "Ffordd y Bywyd wedi ei datguddio, a ffordd Marwolaeth wedi eglurhau, &c. Gan Charles Marshal. A gyfieithiwyd i'r Cymraeg er mwyn y Cymry. Aragraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. M,DCC,LXXII."

8. "Egwyddorion o'r Gwirionedd, neu y pethau ynghylch athrawiaeth ac addoliad, &c. Gan John Crook. A gyfieithiwyd i'r Cymraeg gan John Lewis. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. M,DCC,LXXIII."

Gwaith Cwaceraidd yw yr uchod.

9. "Welch Piety: Or a Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas, 1772, to Michaelmas, 1773. London Printed."

Rhoddwyd 200 o'r uchod yn anrheg i'r Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristionogol, gan Sir John Thornold, Barwnig, yr hwn oedd yn gefnogwr mawr i ymdrechiadau y Parch. Griffith Jones, gyda'r Ysgolion Symudol.

10. "Sylfaen Buchedd Sanctaidd, neu 'r ffordd trwy ba un y daeth llawer o rai ag oeddynt yn Baganiaid i fod yn Grist'nogion enwog, &c. Gan Hugh Turford. Caerfyrddin: argraffwyd gan John Ross. 1773."

11. "Mynegeir Ysgrythyrol, &c. Gan y Parchedig Peter Williams. Caerfyrddin, argraphwyd tros yr awdwr, gan John Ross, yn Heol y Prior, gerllaw yr Eglwys. M,DCC,LXXVII."

12. "Deial Ahaz, wedi ei hysbrydoli. Gan Wr-llug o'r Wlad; Wedi ei olygu a'i ddiwygio gan y Parch. P. Williams, gweinidog yr Efengyl. A gyfieithwyd i'r Cymraeg gan Hugh ab Hugh. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross, yn Heol y Prior. MDCCLXXIII."

Yr awdwr oedd un Dafydd Tuccer, gwneuthurwr deialau. Hugh ab Hugh oedd Hugh Hughes, y Bardd Coch, o Lwydiarth Esgob, yn Môn. Bu farw Ebrill 6, 1776, yn 83 mlwydd oed.[1]

13. "Manteision ac Anfanteision y cyflwr Priodasol, fel yr ydys ynddo gyda dynion crefyddol neu ddigrefydd, &c. Gan y Parchedig a'r Enwog Mr. J. Johnson o Liverpool. Wedi ei gyfieithu i'r Cymraeg gan Gwilym Rhysiart. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, ger llaw yr Eglwys. 1773."

Y mae y rhagymadrodd "At y Darllenydd" yn arwyddedig gan "Gwilym Rhysiart, Pencoed yn ymyl Meidrim, y 27 o Fawrth, 1773."

14. "Caniadau, y rhai sydd ar y Môr o Wydr, &c. I Frenhin y Saint, &c. Y pedwerydd argraphiad, gyda chwanegiad o Hymnau newyddion nad oeddynt yn yr un o'r argraphiadau o'r blaen. Gan W. Williams. Aberhonddu, argraphwyd tros yr awdwr gan E. Evans, yn y Coleg. Lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau ar lythyren dda, am bris gweddol. M,DCC,LXXIII."

15. "A genuine History of the Britons asserted against Mr. Macpherson. By the Rev. Mr. Whitaker, author of the History of Manchester. 1773." 8vo.

16. "Golwg o ben Nebo ar Wlad yr addewid, mewn casgliad o bigion o Hymnau, ar Gwymp Dyn yn yr Adda cyntaf, a'i Gyfodiad yn yr ail Adda. Wedi eu trefnu a'u diwygio allan o'r ail argraffiad, ynghyd a rhai Caniadau Newyddion, na buont argraffedig o'r blaen. Gan Morgan Rhys. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. 1773."

Gwel rhif 2, 1764.

17. "Pregeth ar Zech i. 5. Gan H. Evans, A. M."

Yr Evans hwn ydoedd weinidog y Bedyddwyr yn Broadmead, Bristol, a mab i'r Parch. Caleb Evans, gweinidog y Bedyddwyr yn y Bontnewydd-ar-Wy, sir Faesyfed, yr hwn oedd fab i'r Dr. Caleb Evans, o Fristol. Pregethwyd y bregeth uchod mewn cymanfa, ar farwolaeth Mr. D. Thomas, gweinidog Cilfywyr, sir Benfro, yr hwn oedd i bregethu yn y gymanfa, ond a fu farw yn ddisymwth. Cyhoeddwyd y bregeth yn yr iaith Seisneg hefyd.[2]

18. "Pregeth ar Ymffrost yn Nghroes Crist. Newydd ei chyfieithu i'r Cymraeg. Trefecca: argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXIII."

19. "Iawn Ddefnydd o Farnedigaethau Duw. Pregeth ar achos o chwythad dychrynllyd y Powdr Gwnn yng Nghaerlleon: trwy yr hwn y cafodd Torf o

[1] "Williams' Dictionary of Eminent Welshmen."
[2] "Hanes y Bedyddwyr."

bobl, ymgynhulledig mewn *Poppet shew*, eu chwythu i'r awyr ; fel y lladdwyd llawer, ac y briwyd eraill, Tachwedd 5ed, 1772. Wedi ei chyhoeddi drwy ddeisyfiad. Gan Joseph Jenkin, A. M. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-y-Prior, gerllaw yr Eglwys, 1773. [Pris dwy geiniog]."

20. "Golwg ar y Madewiad y Cyfiawn. Ar ddull Gweledigaeth, neu farwnad Mary John, Merch Lewlin John, o Lantrisant, yn sir Forganwg, yr hon a gafodd y fraint gan yr Arglwydd, o effeithiol alwad i'w Hyfryd winllan yn 12 mlwydd oed cafodd ei Derbyn. Yn Aelod o'r Gymdeithas wythnosol hyny a gedwir yn mysg y Bobl dwymon Hyny a elwir Methodists, yn Hardd yn ei Bywyd a'i Rhodiad yn wresog yn ei Hysbryd yn ddiwid mewn gweddi a haul Duw yn tewynu ar ei phabell nes daeth yr hyfryd Alwad, arni i dderbyn ei choron a gorphen ei gyrfa yn 14 oed, yn mis Gorphen, haf 6 dydd yn y flwyddyn, 1773. A gyfansoddwyd gan Dafydd William. Bruste : Argraphwyd dros yr Awdwr, gan T. Co—." [Congl y ddalen wedi tori].

21. "Cynneddfau a Dyledswyddau Gwladwyr, &c. Mewn Pregeth a bregethwyd mewn Cymmanfa o Weinidogion a Chenadon o amryw Eglwysydd Cymru, gwedi cyfarfod yn Bethesda, yn sir Fonwy, ar y 9fed o Fehefin 1773. Gan Hugh Evans, M. A. Bristol, Argraphwyd gan William Perie. 1773."

22. "History of Gwydyr Family, &c. By Sir John Wynne."

23. "Geirlyfr Ysgrythyrol : neu Egwyddorion yn dangos arwyddoccad y rhan fwyaf o Eiriau, ac ymadroddion caled, a Naturiaethau Creaduriaid, a gynnhwysir yn yr Hen Destament a'r Newydd, &c. Wedi ei dalfyru gan mwyaf o Eirlyfr y Parch. Mr. Wilson, gan John Roberts. Argraffwyd yn Nulyn, gan S. Powell. M.DCC.LXXIII."

Yr awdwr uchod ydoedd "Shôn Rhobert Lewys" o Fôn; a chan ein bod wedi cyfarfod â'i enw yn fynych, ac mai y llyfr uchod ydoedd y mwyaf a rhagorolaf o'i holl gyfansoddiadau, ac hefyd y cynnygiad cyntaf i fendithio ein cenedl â Geirlyfr Ysgrythyrol yn eu hiaith, byddai yn briodol rhoddi ychydig o hanes yr awdwr. Yr oeddym wedi llawn fwriadu gwneyd hyny yma : ond wrth ail edrych dros y defnyddiau sydd wrth ein llaw, gwelsom yr elai yn rhy faith i'w roddi rhwng ein rhestr-lyfrau ; ac y gallwn roddi "Almanaciwr Caergybi" wrtho ei hun.

24. "Can y Pererinion Cystyddiedig ar eu taith tu a Seion : neu ychydig o Emynau profiadol, er mawl i Dduw, a Chynnydd i'r Cristion. Gan D. Morys, gerllaw Lledrod. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior, gerllaw yr Eglwys. M,DCC,LXXIII."

Y D. Morys hwn ydoedd Mr. Dafydd Morris o'r Tŵr Gwyn, a thad y Parch. Ebenezer Morris. Yr hymn gyntaf yw hôno sy'n dechreu—

"Mae brodyr imi aeth ymlaen,
Yn holliach a chytun ;
Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un."

25. "Marwnad ar Farwolaeth Howell Harris, Esq., o Drefecca, yr hwn a ymadawodd o'r Byd, yr 21 o fis Gorphenhâd, 1773. Gan Henry Lloyd. Trefecca, Argraphwyd dros yr Awdwr. M,DCC,LXXIII."

1774.

1. "Gwybodaeth ac Ymarfer o'r Grefydd Gristionogol—neu gynhygiad i athrawiaethu i'r Indiaid, &c. Gan Thos. Wilson, D. D., Esgob Sodor a Manaw. O gyfieithiad Dafydd Ellis, Curad Derwen yn swydd Ddinbych. Llundain, Argraphwyd i J. Rivington, 1774."

Cyhoeddwyd hwn ar draul y "Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristionogol," a gwerthid ef am 1s. 9c.

2. "Llythyr Richard Davies, D. D., Esgob Tŷ Ddewi, at y Cymry. Y trydydd argraffiad. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-Prior. M,DCC,LXXIV."

Gwel rhif. 2, 1567. Y Parch. Peter Williams a gyhoeddodd yr argraffiad hwn.

3. "Cydymaith i'r Hwsmon, neu lyfr yn cynnwys ynddo Fyfyrdodau ar bedwar Tymmor y flwyddyn—ac ar amryw achosion ereill; ynghyd ac amryw Ganiadau ac Englynion cymmysg i bob Myfyrdod, i adfywio 'r gwaith, a dyfyru 'r Darllenydd. Gan Hugh Jones gynt o Faesglasau. Llundain: Printiedig gan T. Davies, Heol St. Ioan, Maes y Gof. Yn y flwyddyn MDCCLXXIV." 8 plyg.

Buasem yn ymdrechu casglu ychydig o hanes y pererin teilwng o Faesglasau, oni buasai fod ei nai, Mr. Hugh Jones (Erfyl) o Gaerlleon, yn bwriadu cymeryd y gwaith mewn llaw, yn ol yr hyn a ddywedodd wrthym, pan ymofynasom âg ef am ychydig gofion am ei ewythr.

4. "Pererindod Ysbrydol o'r Aipht i Ganaan, tan rith breuddwyd, &c. O gasgliad y Pererin allan o warth hunan-ymholiad, yn Nyffryn ystyriaeth. Gan John Bunyan. Caerfyrddin, Argraffwyd tros y Parch. D. Jones, o Bont-y-pwl."

Ailargraffiad: gwel rhif 1, 1758.

5. "Pregeth a bregethwyd yn Eglwys Plwyf Llangynyw, yn sîr Drefaldwyn, ar farwolaeth Mr. John Nightingale, ar ddydd Sul, Gorphenaf 10, 1774. Mwythig."

6. ¶ "Crisianowgrwydd Catholic, neu Draethawd Byrr tuag at leihau rhif gwrthddadlau yn mhlith Crist'nogion; yn bur addas i'r dyddiau presennol, yn enwedig ymhlith y Plwyfolion hynny, lle i mae 'r Methodistiaid, neu Hoffwyr Crefydd y Goleuni Newydd yn cael cynhwysiad. Gan Arch Esgob dysgedig. Mwythig."

7. "Aurora Borealis, neu y Goleuni yn y Gogledd, fel arwydd o lwyddiant yr Efengyl yn y dyddiau diweddaf, &c. Gan Wm. Williams Yr ail argraffiad. Aberhonddu, Argraphwyd dros yr Awdwr gan E. Evans. 1774."

8. "Rheolau Bywyd Dynol, a gyfieithwyd o 'Sgrifen yr Indiad, yr hwn a 'sgrifenwyd gan un o'r Philosophyddion, sef y Braminiaid, &c. O gyfieithiad Hugh ap Hugh. Wedi ei olygu a'i ddiwygio gan Wm. Griffith. Dulun."

9. "Cennadwri a Thystiolaeth ddiweddaf Howel Harris, Yswain. Gyda ychydig o ystyriaethau ysprydol, a bigwyd allan o wahanol fannau yn ei ddydd-lyfr, &c. Trefecca."

10. [Darn o'r ddalen wedi ei thori ymaith]—"yng Ngwasanaeth Duw a Disgyblaeth Eglwysig y Testament Newydd, mewn ffordd o Holiadau ac Attebion; gydag Eglurhadau a Chadarnhad o'r cyfryw attebion. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. 1774."

11. "Ystyriaethau o anchwiliadwy olud Crist, a gwahoddiad i bawb i'w dderbyn a'i ddefnyddio, mewn Pregeth a gyhoeddir ar annogaeth y rhai a'i clywsant yn y cyfarfod o weinidogion yn Watford, gerllaw Caerffili, Awst, 10, 1774. At ba un y chwanegwyd dwy hymn, wedi eu troi o'r Sais'neg. Gan Solomon Harries. Caerfyrddin, argraffwyd dros yr awdwr, gan J. Ross. 1774."

S. Harries oedd weinidog Henaduriaethol. "Yr oedd yn foneddwr o ddysg a duwioldeb mawr, ac yn addurn i'r weinidogaeth Gristionogol. Bu farw yn Abertawy, Awst 15, 1788."—*Gent. Mag.*

12. "Crynodeb o Salmau Canu: sef rhai Salmau Detholedig yn gyfan; a'r rhanau mwyaf buddiol, ac eglur eu hystyriaeth, o Salmau eraill, a chynnulliad o Adnodau perthynol i'w gilydd ar amryw Destynau; gyd â'r ystyr o honynt, yn fyr, o flaen pob Salm. Wedi eu cymhwyso er mwy o barch i'w Enw gogoneddus Ef, ac ychwaneg o felusder ac adeiladaeth i'w heneidiau eu hunain. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Person Llanddowror yn sir Gaerfyrddin. Yr ail argraffiad. Llundain, argraffwyd gan J. a W. Olfer, yn Martholomew-clôs, yn agos i West-Smithfield. MDCCLXXIV."

13. "Antinomiaeth, Bwbach y rhan ffurfiol o'r Eglwys Gristionogol, (Ar ol ei hela trwy holl wledydd Cred) wedi ei ddal; a'i ffeindio allan ei fod yn gynhwysedig yn fwy mewn ymarferiad nâ Phyngciau mewn Proffes wag, ac ymarweddiad penrhydd, nag unrhyw set o egwyddorion; ac felly wedi ei eni a'i

fagu yn y llwyth uchod. Ym mywyd y Parchedig Mr. John Hart, gweinidog yr efengyl gynt yn Llundain. Yr hwn, ar ol adnabyddiaeth o'r Arglwydd, a syrthiodd ymaith i fywyd rhydd, ond a adferwyd drachefn i gymmundeb â Duw: ac yn ddiweddar a hunodd yn yr Arglwydd. Wedi ei 'sgrifennu yn Sais'neg â'i law ei hun, yn Rhagymadrodd ei lyfr Hymnau. At ba un y 'chwanegwyd rhai Hymnau ar fesur newydd. Gan W. Williams. Aberhonddu, argraphwyd dros y Parchedig Mr. W. Williams, gan E. Evans. MDCCLXXIV."

14. "Hanes byr o Fywyd dychlinaidd, a dedwydd Farwolaeth Morgan Nathan, yn Llandilo-fawr, yn sir Gaerfyrddin."

M. R., sef Morgan Rhys, ydoedd yr awdwr, ac ar ganiad y mae.

15. "Llaw-lyfr o Weddiau ar achosion cyffredinol, &c. Gan James Meirick, M.A. Diweddar Gyfaill o Goleg y Drindod yn Rhydychen. Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan David Ellis, Curad Derwen yn sir Ddinbych. Llundain, argraffwyd i J. Rivington, gwerthwr llyfrau i'r Gymdeithas er cynnyrchu Gwybodaeth Gristionogol. MDCCLXXIV. [Pris dwy geiniog, neu 14 swllt y cant.]"

16. "Trydydd Llythyr hen Bechadur, at ei gyd-frodyr, &c. Gan Ellis Robert, o Landdoged, yn sir Ddimbech. At yr hyn y chwanegwyd byrr a chywir Hanes am Ann Williams, gwraig feichiog o dref Caerlleon, yn sir Fynwe, yr hon a aeth ar astyllen gyd a'r afon 12 milltir, a thrwy Ragluniaeth yr Arglwydd a ddaeth i dir sych, megys y daeth Jona gynt. Aberhonddu: argraphwyd gan E. Evans, tros Peter Morris. 1774."

Y mae hanes helaeth a manwl am yr amgylchiad uchod yn "Cox's History of Monmouthshire,' a "Manly 's Historic and Picturesque Guide from Clifton, through the counties of Monmouth," &c. Buasem yn ei gyfleu yma, oni buasai ei feithder.

17. "The History of Wales. Written originally in British, by Cradoc of Lhancarvan, Englished by Dr. Powell, and augmented by W. Wynne, Fellow of Jesus College, Oxon. To which is added, a Description of Wales, by sir John Price. A new edition, greatly improved and enlarged, with Pedigrees of Families. London: printed for T. Evans, at No. 50, in the Strand, near York Buildings. MDCCLXXIV."

Gwel rhif 1, 1697, a rhif 5, 1702.

18. "Marwnad, er coffadwriaeth am Hugh Williams, o Gornwal, ym mhlwyf Llanfigen, yn sir Frecheiniog, yr hwn a ymadawodd â'r byd hwn, y ddeufed dydd ar hugain o Fawrth, yn y flwyddyn 1774. Gan William Williams. Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans, lle gellir cael argraffu pob math o gopiau am bris rhesymol, a chael ar werth amryw lyfrau Cymraeg a Saisnaeg, &c. M,DCC,LXXIV."

19. "Cyfarwyddwr ffyddlon at Orseddfaingc y Gras: sef ffurf o Weddiau i'w harfer mewn Teuluoedd fore a hwyr, &c. Gan Weinidog Annheilwng o Eglwys Loegr. Yr ail argraffiad. Llundain: argraffwyd gan I. a W. Olfir, ym Martholomew-clôs, yn agos i West Smithfield. M,DCC,LXXIV."

20. "Aleluia, neu Hymnau perthynol i Addoliad cyhoeddus. Gan Benjamin Francis. Caerfyrddin: argraffwyd dros yr awdwr gan J. Ross. 1774."

21. "Gweledigaethau y Bardd Cwsg. Y rhan gyntaf. Argraffwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, gwerthwr llyfrau. MDCCLXXIV." 32plyg.

Gwel rhif 6, 1703; rhif 6, 1725, a rhif 14, 1768.

22. "Y Catecism byrraf. A gyflwynwyd gan y Gymanfa o Ddifynyddion yn Westminster, i'r ddau Dŷ o Barliament, &c. Aberhonddu, argraffwyd gan E. Evans, yn y flwyddyn M,DCC,LXXIV."

23. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1774. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. 1774."

24. Pregethau y Parch. D. Rowlands, Llangeitho, yn Saesoneg.

Cyfieithwyd hwy gan "T. Davies, Hwlffordd." Yr oedd yr enwau a gafwyd, fel rhagdalwyr, yn cymeryd 2751 o lyfrau. Cymerodd D. West, Ysw., Smithfield, Llundain, 200; y Parch. W. Romaine, 100; David Jones, Ysw., sirydd Morganwg, 100. Ymhlith y tanysgrifwyr y mae y Parch. N. Rowlands, am 10, a'r Parch. P. Williams, am 15. Y mae "Sarah Jones, Bala,"—wedi hyny, Mrs. Charles,—yn eu plith. Gwerthwyd tuag 8000 hefyd o'r argraffiad Cymreig Gwel rhif 2 a 3, 1772.

25. "Llyfr Gweddi Cyffredin. Argraffwyd yn y Mwythig, gan Stafford Prys. 1774."

26. "Tirion Wahoddiad i bob Pechadur ddyfod at Iesu Grist. Gan Thomas Jones."

Pregeth ydyw ar *Mat.* xi. 28.

27. "A gentleman's Tour through Wales." 12mo.

28. "Duwiol goffadwriaethau: neu, fyr a chywir Hanes am amryw o Ddifynyddion dysgedig, o wahanol fanau, pa rai a ddyoddefasant ferthyrdod er mwyn yr efengyl ar amryw amserau yn yr oesoedd a aethant heibio. Wedi eu casglu oddiwrth amryw o awdwyr yr hen oesoedd, a'r oes ddiweddar hefyd. Ynghyd a'r pethau mwyaf hynod yn eu Bywydau, eu Hymarweddiad, a'u Dioddefiadau. Wedi eu cyfieithu i'r Cymraeg gan Thomas Jones. Ac na bu argraffedig erioed o'r blaen yn yr iaith hon. Caerfyrddin, argraffwyd dros yr awdwr gan J. Ross, yn Heol y Prior. 1774." 276 o dudal., 12plyg.

29. "Welch Piety: or a farther account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1773, to Michaelmas 1774, being Testimonials relating to the Masters and Scholars of the said Schools. Together with a List, shewing where each School was kept, and the Number of Scholars Taught therein. London: Printed by J. and W. Oliver, in Bartholomew-close. M,DCC,LXXIV."

1775.

1. "Tair Pregeth ar y testynau canlynol: Luc xv. 5; Ioan v. 6; Salm lxv. 5. A bregethwyd yn ddiweddar gan y Parchedig Daniel Rowlands, gweinidog yr efengyl yn Llangeitho; a Chaplain i'r Duke o Leister. Caerfyrddin, argraphwyd gan J. Ross, tros Thos. Davies o sir Benfro. 1775. [Pris chwe' cheiniog.]"

Dywedir fod y pregethau hyn, ac eraill o waith Mr. Rowlands, ar werth gan Mr. John Evans, o'r Bala; Mr David Williams, Tre castell; Mr. Bethuel Griffiths, Castell Nedd; a Thomas Davies, gerllaw Hwlffordd.

2. "Golwg fer ar yr Hanes Ysgrythyrol oll; gyda Hanes yr Eglwys Iuddewig, &c. Gan I. Watts, D. D. A gyfieithwyd i'r Cymraeg gan y Parchedig E. Griffiths, &c. Caerfyrddin, argraffwyd ac ar werth gan Ioan Ross. M,DCC,LXXV."

3. "Y Fodrwy Briodas yn gymmwys i'r Bys," sef Pregeth a gyhoeddwyd mewn Priodas yn St. Edmonds, yn Llundain, ger bron y Brenhinol deulu. Gan y Parch. W. Secer, M.A. Argraffwyd yn Aberhonddu, gan E. Evans, yn y flwyddyn 1775."

Cyhoeddwyd y bregeth uchod yn y ganrif hon hefyd.

4. "Cofiadur Prydlon Lloegr: neu Rybuddion o'r Nefoedd; Sef Hanes Mr. Richard Brightly, &c. A gyfieithwyd gan Mr. E. Ellis, gweinidog Eglwys Rhos, &c. Mwythig."

5. "Hanes Bywyd a Marwolaeth Matthew Lee, yr hwn a grogwyd yn Nheibyrn, yn yr ugeinfed flwyddyn o'i oedran. Gwedi ei gyfieithu o'r Saesonaeg, er budd i'r Cymry. Trefecca, argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXV."

6. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1775. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol y Prior. 1775."

7. "Esponiad ar Ddammeg y Pharisead a'r Publican, &c. Gan y Parchedig Mr. Iohn Bunyan. Caerfyrddin, argraffwyd ac ar werth gan Ioan Ross. M,DCC,LXXV."

8. "Catecism yr Ymneillduwyr Protestanaidd, &c. O waith y Parch, S. Palmer.

A gyfieithwyd allan o'r trydydd argraffiad. Caerfyrddin, argraffwyd dros y cyfieithydd, gan J. Ross, 1775."

9. "Llythyr Difrifol, yng nghyd a Gair i Bechadŵr; yng nghylch cyflwr ei enaid, &c. Trefecca: argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXV."

10. "A Check to Enthusiasm, or an answer to John Philadelphus. London, 1775."

Yn erbyn *neidio crefyddol* y mae hwn, yn ateb i lyfryn Seisoneg yn amddiffyn hyny.

11. "Y Catecism; Hyny yw Athrawiaeth i'w dysgu gan bob un cyn ei ddwyn i'w Gonfeirmio gan yr Esgob, &c. Llundain.

12. "Golwg o ben Nebo ar Wlad yr Addewid; mewn Casgliad o Bigion Hymnau, &c., am Gwymp Dyn yn yr Adda Cyntaf, a'i gyfodiad yn yr Ail Adda, &c. Gan Morgan Rhys. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-Prior. 1775."

Gwel rhif 12, 1764; a rhif 16, 1773.

13. "Patrwm y Gwir Gristion, neu Ddilyniad Iesu Grist. Gan Thos. à Kempis. Gwedi ei gyfieithu i'r Cymraeg er ystalm o amser yn ôl Editiwn yr Awdwr. Gan H. O. Gwenydeg yn Môn, Esq. Argraffwyd yn Ngwrexham, gan R. Marsh." 12plyg.

Gwel rhif 2, 1679; rhif 6, 1684; rhif 4, 1723; rhif 3, 1737; a rhif 2, 1744. Cyhoeddwyd argraffiad tlws iawn o hono rai blyneddau yn ol yn Llanfaircaereinion, gan D. Humphreys, wedi ei gyfieithu gan R. Jones, (*Bardd Mawddach*), o dalfyriad Seisneg y Parch. John Wesley. Dywedir hefyd fod yr Archddiacon Jones o Lantrisant, Mon, ynghylch cyhoeddi argraffiad newydd diwygiedig o'r gwaith hwn.

14. "Gwaedd-ddeffro i fyd cysglyd, mewn dwy Bregeth, wedi eu cyfiaithu o'r Saesonaeg, er budd i'r Cymru, yng nghylch cyflwr ei Enaid. Trefecca: Argraffwyd, 1775."

Dwy bregeth o waith y Parch. C. Wesley ydyw hwn. Y mae "W. A." wrth y "Llythyr" sy 'n gydiol; yr hwn hefyd a daenid wrtho ei hun. Gwel rhif 9.

15. "Traethawd am Enaid ac Yspryd, yn ol yr Ysgrythyr, &c. Gan Thos. Roberts. Argraffedig Ynghaerlleon."

16. "Yr Act am Bwyso Aur, A osodwyd allan mewn Trefn Ysprydol, mewn Dull o Ymddiddan, &c. Gan T. C. Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-y-Prior. 1775."

Y mae enw "Rowland Hill" wrth y rhagymadrodd.

17. "Myfyrdodau Bucheddol ar y Pedwar Beth Diweddaf; Angau, Barn, Nef, ac Uffern. Gan John Morgan, M. A. Argraphwyd yn Ngwrecsam gan R. Marsh. M,DCC,LXXV." 24 tudal. 12 plyg.

Y mae y rhagymadrodd yn gyfeiriedig at blwyfolion Llanfyllin, yn sir Drefaldwyn; a'i ddyddiad yn *Matchin* yn Essex, y 6ed o Fai, 1714. Gwel rhif 1, 1707; rhif 3, 1714; a rhif 5, 1745.

18. "Pregeth ar Helynt Bresenol America. A Bregethwyd yn Christ Church, Mehefin y 23, 1775. Ar ddeisyfiad Swyddogion y Drydydd Fyddin o Ddinas Philadelphia, a Rhaglawiaeth Southwark. Gan William Smith, D. D. Penadur y Coleg yn y ddinas honno. Brysto: argraffwyd gan William Pine, 1775."

W. Pine ydoedd argraffydd cyntaf y "*Bristol Gazette.*" Bu farw Chwefror 22, 1803.

19. "A Gentleman's Tour through Monmouthshire and Wales, in 1774. London: Printed for T. Evans."

20. "Golwg ar Gynheddfau Gwasanaeth ac anrhydedd Gwasanaethwyr Crist; mewn Pregeth a lafarwyd o flaen Cymmanfa o Weinidogion yn y Dref Wenn yn gyfagos i'r Castell Newydd yn Emlyn ar y 19 o fis Ebrill, 1775, gyda dwy hymn gan Edward Evans. Caerfyrddin, argraphwyd dros yr Awdwr gan I. Ross. 1775."

21. "Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth; Neu Draethwyd am Ryfel y Saint yn erbyn Diafol: &c. Y Rhan Gyntaf. Gan William Gurnal, B. D., gynt

Gweinidog yr Efengyl yn Lafenham, yn Sir Suffolc, 1656. A 'Sgrifenwyd yn Gymraeg er budd i'r Cymro anhyddysg yn y Iaith Saesonaeg. 1773. Aberhonddu: Argraphwyd dros y Cyhoeddwr, gan E. Evans. 1775. Lle gellir cael Argraphu pob math o Gopiau, yn hardd, yn gywir, yn fuan, am brîs rhesymmol."

Y mae y nodiad canlynol yn ei ddiwedd —" HYSBYSIAD.—Bydded hysbys i bawb y dêl y Traethawd hwn i'w Dwylaw, fod yr Ail Ran o Waith yr un Awdwr wedi ei Gyfieithu, ac yn barod i'w Argraphu, os bydd Galwad cyffredinol am dano; o blegid mae hwnw mor angenrheidiol i bob Milwr ysprydol a'r cyntaf—Gobeithio y bydd i Awdwr pob Bendithion rwygo'r Gorchydd oddiar Feddwl y Darllenydd i weled yr Angenrheidrwydd o gael *Holl Arfogaeth Duw i sefyll yn y Dydd drwg*, a phwy bynnag a gaffo'r Ffafr hyn ni byddant ddiffygiol o un Cynnorthwy a gynnygir iddynt yn y fath Frwydr ddigyffelyb. Boed gwlith Bendith yn cyd-gerdded â phob Moddion i gynnorthwyo Milwyr *Sion*, i ymladd tan Faner Capten ein Iechydwriaeth, ac i gael y Maes ar y Bwystfil, ac yn y Diwedd rannu'r Yspail gydâ'r Cedyrn. Hyn yw, a gobeithio a gaiff fod, difrifol Ddymuniad, *Eich anheilyngaf Frodyr*, ROBERT JONES, JOHN PIERCE.

22. "Memoir of Owain Glyndwr. By —— Owen. London. 1775." 4plyg.

23. "Nodiadau ar Bregeth Mr. Abel Francis, yng Nghwm Wysg, gerllaw Trecastell: Y Trydydd Dydd ar Ddeg o Awst, 1732. Gan William Herbert. Wedi eu hail 'Sgrifenu, a diwygio 'r Iaith. Gan Josuah Thomas. At yr hyn y 'chwanegwyd Myfyrdod mewn Cystudd, ar Gân. Gan John Morgan, o Blwyf Bedwellty. Aberhonddu: Argraphwyd."

Traddodwyd y bregeth pan oedd y dadleuon Arminaidd yn aflonyddu y Bedyddwyr. Mae diwygiwr y " Nodiadau," y diweddar Mr. Thomas, awdwr "Hanes y Bedyddwyr," yn dyweyd yn ei " At y Darllenydd," fel hyn :—

"Pan fu'm yn Nghymru yn ddiweddar, dangoswyd i mi Gopi o'r Nodiadau canlynol, a dymunwyd arnaf eu 'Sgrifenu o newydd, gan farnu y byddai yn fuddiol eu hargraphu. Y maent yn fy meddiant i ys mwy nag ugain mlynedd, o waith llaw 'r Awdwr ei hun, lle mae efe yn dywedyd na 'Sgrifenodd efe, erioed o'r blaen, gymmaint o Gymraeg; gan hynny yn cydnabod amherffeithrwydd yr yspeliad a'r iaith. Mi a ddewisais ei ysgrifenu o'i waith ef ei hun yn hyttrach nag o un copi. Felly beiau'r iaith, eiddo fi ydynt, oddieithr fod gwallau yn yr Argraffydd. Am yr Athrawiaeth eiddo yr Awdwr ydyw. Ni ddarfu i mi newid na gwyru dim arni, ar a wn i

Y mae'r Pregethwr a'r Nodiadwr wedi myned i orphwys ys llawer blwyddyn. Nid eu hamcan hwy oedd i'w gwaith gael ei wneyd yn gyhoeddus, uwchlaw deng mlynedd ar hugain ar ol eu marwolaeth. Gan hynny, nid yw weddus yma na'u canmol na'u . . . Ond er eu mwyn hwy, etto byw yw athrawiaeth y naill a'r llall. Yr wyf fi yn barnu fod y Nodiadau canlynol yn iachus, yn ddeallus, yn ysgruthurol, ac yn efangylaidd. Os gwel Duw yn dda eu bendithio, nid wyf yn ammau na byddant yn llesiol, yn gynnorthwyol, ac yn adeiladol i'r Darllenydd ystyriol."

*Llanllieni*, 15*fed o Ebrill*, 1775. JOSHUA THOMAS.

Testun y bregeth ydoedd *Esec.* xviii. 32.

24. "The Head of the Rock, a Welsh Landskep. Being a prospect near Abergwilly Palace, the residence of the Bishop of St. David's, in the neighbourhood of Caermarthen. By William Williams of Pembrokeshire. London; 1775." 12mo.

25. "Amryw Hymnau Dymunol a Phrofiadol, O Waith Harri Sion, Gerllaw Pont-y-Pŵl, yn Sîr Fynwy. At ba rai y chwanegwyd Pigion o Hymnau, O Waith yr awdwyr hynottaf yn yr oes bresenol. Y Trydydd Argraffiad, Gyd â Chwanegiadau. Caerfyrddin, Argraffwyd dros y Cyhoeddwr gan I. Ross. M,DCC,LXXV."

1776.

1. "Histori yr Iesu Sanctaidd, yn cynnwys hanes byrr o Enedigaeth, Bywyd, Marwolaeth, Adgyfodiad, ag Esgyniad ein Iachawdwr, &c. At yr hyn a chwanegir Bucheddau a Marwolaeth yr Efengylwyr, &c. Gan Wm. Smith, A. M. O gyfieithiad Dafydd Ellis, Curat Derwen, swydd Ddinbych. Trefryw, argraffwyd gan D. Jones. MDCCLXXVI. Pris Swllt."

Mr. Ellis a anwyd yn Hafod-y-meirch, yn mhlwyf Dolgellau. Dygwyd ef i fyny o dan ofal Mr. Edward Richard, o Ystrad Meirig. Urddwyd ef yn ddiacon yn Llanelwy, yn 1764, ac yn offeiriad yn Mangor, yn 1765. Y guradiaeth gyntaf a wasanaethodd ydoedd Llanberis, ger Caernarfon; oddiyno efe a symudodd i Langeinwen, yn Môn; oddiyno i Dderwen, yn sir Ddinbych; ac oddiyno i Amlwch, yn Môn; oddiyno cafodd bersoniaeth fechan Llanberis; ac yn 1790, cafodd bersoniaeth Criccierth, yn sir Gaernarfon. Gadawodd amryw roddion yn ei ewyllys, ac ymhlith pethau eraill, arian tuag at ysgol i dlodion Criccierth, tra byddo dwfr yn rhedeg. Cydnabyddodd ei ddiolchgarwch i Ystrad Meirig, trwy roddi *Rowland's Mona Antiqua* yn anrheg i'r ysgol hòno; a gadawodd ei holl ysgriflyfrau prydyddol i Mr. David Thomas, o'r Waen fawr (Dafydd Ddu Eryri). Heblaw y gwaith uchod, efe a gyfieithodd hefyd "Athrawiaeth i'r Anwybodus," gan Esgob Wilson; ac hefyd, "Law-lyfr o Weddiau," gwel rhif 15, 1774. Bu farw, Ebrill, 1795, yn 56 oed. Y mae cerfiad ar gareg ei fedd yn mynwent Criccierth, yn dweyd am dano, ei fod yn "Ieithydd a Bardd godidog, diwyd yn ei weinidogaeth o Weinidog yr Efengyl. Gweniaeth a rhagrith oedd gas gan ei Enaid; ac efe a'i ceryddai yn llym yn eraill." Terfyna ei fedd-argraff â thri englyn, gan ei gyfaill, D. Ddu Eryri. Gwel hefyd y "Greal," neu "Eurgrawn," Caernarfon am Ion. 1800, tudal. 25.

2. "Casgliad o bregethau, ar y Pyngciau mwyaf sylweddol, &c. Gan y Parch. Evan Evans, Curat Tywyn Meirionydd. Mwythig Argraffwyd."

Y mae y pregethau hyn yn ddwy gyfrol. Dyma yr esiampl gyntaf o gyhoeddi unrhyw waith yn gyfrolau yn Gymraeg. Detholion ydynt o waith Doddridge, Watts, ac eraill. Y mae llythyr cyflwyniadol y Prydydd Hir at Syr W. W. Wynne yn ddernyn cywrain iawn; ac nid yw ryfedd na chafodd godiad yn yr Eglwys.

3. "Gardd y Caniadau; Neu Lyfr yn cynnwys ynddo Garolau a Cherddi ar amriw Destunau, diddan, a difrifol. Gan Hugh Jones, o Faes-glasau; Awdwr y Myfyrdodau ar Dymhorau y Flwyddyn. Mwythig: Argraphwyd gan T. Wood, yn y flwyddyn 1776. [Pris 6d.]"

Y mae yn cynnwys 84 tudal. 12plyg. Gwel "Gwladgarwr," Awst 1830, tudal. 263.

4. ¶ "Ymadrodd ynghylch dychymmygion Dynion yn Addoliad Duw. Gan yr Esgob King. Ac a gyhoeddwyd gan Dafydd Llwyd, Ficar Llandefathew, yn sîr Frycheiniog. Mwythig."

5. "Lleferydd yr Asyn er gwahardd ynfydrwydd y Prophwyd. Sef Copi o lythyr at wr urddasol, a anfonodd ei was i aflonyddu addoliad crefyddol. Aberhonddu."

Ailargraffiad: gwel rhif 10, 1770.

6. "Casgliad Byrr o'r Rhedegwr Ysprydol, a ysgrifenwyd gan awdwr Taith y Pererin. Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn 1776."

7. "Y Creadur Newydd yng nghrefydd Crist. Gwedi eu osod allan mewn pregeth. Gan William Beveridge, D. D. Gynt Arglwydd Esgob Llanelwy. Wedi ei chyfieithu o'r Saesonaeg er budd i'r Cymry. Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn MDCCLXXVI.

☞ Nid yw'r Llyfran hwn ar werth, ond rhodd ewyllysiwr da i grefydd i'w gydwladwyr."

8. "Dechreuad, Cynnydd, a chyflwr presenol y ddadl rhwng pobl America a'r Llywodraeth. Gan D. M. Gwedi ei gyfiaethu er budd i'r Cymru. Trefryw. Argraphwyd gan Dafydd Jones, 1776. Pris 2 geiniog."

9. "Dyledswydd Dilys ac Anhepgor Crist'nogion, yr amser enbydus hyn; wedi ei ystyriaid a'i gymmell mewn cyfarchiad gwresog. Gan W. Mason. Argraffwyd yn Aberhonddu."

Y mae llythyr o gymeradwyaeth yn ei ddechreu, gan "Thos. Coke, South Petherton, Gwlad yr Hâf, Chwefror 26, 1776." Y "Thos Coke" yna, ydoedd yr hybarch "Dr. Coke," Wesleyad, pan oedd yn weinidog Eglwys Loegr, cyn ymuno o hono â Mr. Wesley.

10. ¶ "Rhodd Meistr i'w Brentis, &c. Wedi ei osod allan ar ddymuniad y cywrain

a'r dysgedig Mr. Lewis Morris. Argraffwyd yn y Bala, gan John Rowlands, tros Wm. Davies."

11. "Pregeth yn erbyn Enllib a phob Gogan-air. Gan Josiah Rees. Caerfyrddin, Argraphwyd dros yr awdwr gan J. Ross. 1776. [Pris Ceiniog.]"

12. "Rhanau Detholedig, o'r Salmau Cân; gyd â'r ystyr o honynt o flaen pob Salm. Wedi eu cymmwyso i'w canu mewn Eglwysydd. Gan y Parch. Hugh Williams, M. A., Person Aberffraw. Y Salmau Gweddiau a ddylid eu canu ar y Peroriaethau Lleddfon; a'r Salmau Mawl ar y Peroriaethau Crason. Printiedig gan Peter Hoey, tan lun Mêrcury, yn Skinner-row, ac ar werth gan Mr. Richard Williams, yng Nghaernarfon. 1776."

13. "Drych Olwg ar Dir Angof; neu Farwnad y Pendefig Mr. Philip Williams, Mab y Pendefig Mr. John Williams, o Ben-arth, yn Sir Forganwg; yr hwn a ymadawodd â'r Byd hwn, Awst 16 dydd, yn 27 oed, yn y flwyddyn 1775, &c. Gan Dafydd Williams, o Sir Forganwg. Aberhonddu, Argraphwyd dros yr awdwr, gan E. Evans. MDCCLXXVI."

14. "Ffarwel Babel, Groesaw Ganaan; neu ychydig Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen, ac o ddifyrwch i Bererinion Seion, ar eu siwrneu tu ag yno. Gan Rhys Dafydd. Aberhonddu, Argraphwyd dros yr awdwr, gan E. Evans. M,DCC,LXXVI."

15. ¶ "Taith y Pererin, y Bummed Ran; neu ychydig Hymnau, o waith Thomas Dafydd, yn Sir Gaerfyrddin."

16. ¶ "Y Frwydr Ysbrydol, mewn Casgliad o Hymnau Newydd, ar amryw Fesurau. Gan Morgan Rhys, a Thomas Dafydd."

Nid oes amseriad, gwyneb-ddalen, nac enw argraffydd, i'r ddau uchod.

17. ¶ "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1776. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross. MDCCLXXVI."

18. "Hanes Tair Sir ar Ddeg Cymru. Yn cynnwys yspysiad helaeth pa fath ydynt, a pha bethau goreu sy ymhob un o honynt, a pha fath bobl sy'n gwladychu ynddynt, a pheth yw Hyswiaeth benaf Merched ym hob Sir; pa yd ac enllyn sy amla a gorau ymhob un o honynt: a pha le mae'r Ceffyleu, Gwartheg, Defaid, Brethynoedd, Gweoedd, Gwlaneni, y Llieiniau goreu yng Nghymru, &c. At yr hyn y chwanegwyd Tair o Gerddi Dwyfol, a Rhifedi Plwyfydd pob Sir uwch eu Pennau: Argraphwyd yng Ngwrecsam gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau."

Barddoniaeth yw y llyfr uchod, ac yn ei ddiwedd y mae "Dafydd Thomas a'i Cant."

19. "The Antiquities of Ancient Britain Derived from the Phenician, by Aylett Sommer of Christ Colledge, Cambridge. 1776."

20. "The Worthynes of Wales, a Poem. A true note of the Auncient castles, famous monuments, goodly rivers, faire bridges, fine townes, and courteous people, that I have seen in the noble countrie of Wales, and now set forth by Thomas Churchyard. London. 1776." 8vo.

Argraffiad newydd o rif 2, 1587.

21. "Pregeth yn erbyn Enllib a phob Gogan-air. Gan Josiah Rees. Caerfyrddin, Argraffwyd dros yr awdwr gan J. Ross. MDCCLXXVI. [Pris Tair Ceiniog.]"

Ailargraffiad. Gwel rhif 11 uchod.

1777.

1. "Myfyrdod ar Ddamhegion, a Gwyrthiau ein Harglwydd Iesu Grist, &c. Gan Mr. Hugh Jones, o Faesglasau, yn agos i Ddinas Mowddwy. Mwythig, Llythyrwyd gan T. Wood, yn y flwyddyn 1777. [Pris 6d.]" 84 tudal. 8plyg.

Bu T. Wood yn argraffydd a golygydd y "*Shrewsbury Chronicle*" am 29 o flyneddau Bu farw yn ddedwydd Ebrill 1801, yn 55 mlwydd oed.

2. "Goruchafiaeth a Llawenydd y Gwir Gristion, gan Thos. Williams. Argraffwyd yn Nhrefriw."

3. "Y Cyssylldiad rhwng Ffydd achubol a Gweithredoedd da, mewn Pregeth ar

Titus iii. 8. Gan y Parch John Hallward, A. M., Ficar Shawbury, yn Sir y Mwythig, &c. Mwythig Argraphwyd."

4. "Duw-Dod Iesu Grist, neu atteb i'r gofyniad a welir yn Math. xvi. 13, 14, 15, a gynnwysir mewn Pregeth ar y geiriau hynny, o waith y Parch. Evan Hughes, Curate Llanfihangel-y-Pennant. Gwrecsam."

5. ¶ "Ystyriaethau ynghylch diwedd amser, neu 'r Dychrynadwy arwyddion, a rhyfeddodau a fydd yn y dydd diweddaf, &c. Gan Hugh Jones, Llangwm. Bala, argraffwyd tros Wm. Davies"

6. "*Temlum Experientiæ apertum*; Neu ddrws y Society Profiad, wedi ei agor o led y pen, fel y gallo y sawl a chwennycho edrych i mewn: Mewn saith Dialog, ar ddull o ymddiddan rhwng Theophilus ac Eusebius. Gan Wm. Williams. Aberhonddu, Argraphwyd dros yr Awdwr, gan E. Evans. 1777."

7. ¶ "Cynnygiad amcan gostyngedig tu ac at yr adfywiad o Grefydd ymarferedig, &c. Gan Isaac Watts, D. D. A gyfieithwyd i'r Gymraeg, allan o'r ail argraffiad yn Saesonaeg. Mwythig."

8. "Llythyr o annerch i Ieuengctyd Cymru, i geisio 'r Arglwydd tra gellir ei gael ef, &c. Gan John Thomas, Gweinidog yr Efengyl. Argraffwyd yn Nhrefecca yn y flwyddyn 1777. Pris 6d."

Y John Thomas uchod ydoedd enedigol o Myddfai, sir Gaerfyrddin. Dechreuodd grefydda gyda y Methodistiaid. Bu beth amser yn Ngholeg Trefecca, tan yr Arglwyddes Huntington Ymunodd a'r ymneillduwyr, ac ordeiniwyd ef yn y Cae Bach, ger Llandrindod, a gweinidogaethai yn Rhaiadr-ŵy. Teithiai lawer trwy Gymru, a bu farw yn Nghaerfyrddin.

9. "Y Psalter, neu Psalmau Dafydd, yn Gymraeg, gyda'r Catechism, &c. Argraffwyd yn Ngwrecsam, gan Richard Marsh."

10. ¶ "Drych y dyn Maleisus, neu Bregeth yn dangos ysbryd chwerw ffyrnig y dyn maleisus yn y byd hwn, &c. Gan T. Evans, Vicar Llangamarch. Mwythig."

11. "Chwech ar Hugain o Lythyrau ar Destynau Crefyddol. Gan Omicron. Wedi newydd eu gyfieithu o'r Saesonaeg i'r Cymraeg, er Budd i'r Cymry. Gan William Davies. At ba un y chwanegwyd ychydig Hymnau ar amryw fesurau, i'w canu yn gyhoeddus. Caerfyrddin, Argraffwyd gan J Ross, yn Heol-y-Prior. MDCCLXXVII."

12. "Casgliad o'r Galwad i'r Annychweledig. Trefecca Argraffwyd. (Nid yw y Llyfrau hyn i'w gwerthi.)"

Gwel rhif 6, 1677; a rhif 1, 1751.

13. "Ymadroddion Bucheddol ynghylch marwolaeth. O waith Doctor Sherlock. A gyfieithwyd gan Thos. Williams, A. M. Aberhonddu, Argraffwyd tros T. Evans, gan E. Evans."

Ailargraffiad; gwel rhif 1, 1691.

14. "Llyfr y Weddi Gyffredin. Argraffwyd yn y Mwythig, gan S. Prys." 12plyg.

15. "British Remains; or Collection of Antiquities Relating to the Britons: Comprehending, i. A Concise History of the Lords Marchers; their Origin, Power, and Conquests in Wales. ii. The Arms of the Ancient Nobility and Gentry of North Wales. iii. A Letter of Dr. Lloyd, Bishop of St. Asaph's, concerning Jephrey of Monmouth's History. iv. An Account of the Discovery of America, by the Welsh, more than 300 years before the Voyage of Columbus. v. A Celebrated Poem of Taliesin, translated into Saphic vers. The whole selected from original MSS. and other authentic Records. To which are also added, Memoirs of Edward Llwyd, Antiquary. Transcribed from a Manuscript in the Museum, Oxford. By the Rev. N. Owen, Jun. A. M. Sparsa Coegi. London, Printed for J. Bew, in Pater-Noster-Row. 1777."

"Nicholas Owen, jun," ydoedd fab i Nicholas Owen, person Llandyfrydog, yn sir

Fôn. Cafodd fywoliaeth Bottwnog a Meylldyrn, yn sir Gaernarfon, tua'r fl. 1799, a bu yn ei dal hyd ei farwolaeth yn 1812. Yr oedd yn byw yn Mangor, yn aumhriod, ac yn talu ymweliad achlysurol i'w fywoliaethau, gan gadw *curate*. Yr oedd tua 65 oed pan fu farw. Cynnwysa hanes am ddarganfyddiad America, gan y Madogiaid—Llythyr "Morgan Jones, the Son of John Jones of Bassleg, near Newport, in Monmouthshire," amseredig "*New York*, March 10, 1685—6;" Llythyr Charles Lloyd, Dolobran, at ei gefnder, amseredig "8 M. 14 Day ¼," yn ol dull y Crynwyr, un o ba rai oedd C. Lloyd; ac hefyd "*Copy* of Dr. Plott's Account of an ancient Discovery of *America*, from *Wales*." Y mae hefyd ynddo farddoniaeth Taliesin, gan y Parch. David Jones, "Vicar of *Llanfair Dyffryn Clwyd*, in Denbighshire. A. D. 1580."

16. Cydymaeth yr Allor. Cyfieithedig gan L. E. Mwythig Argraffwyd gan Stafford Prys."

Gwel rhif 3, 1715; rhif 4, 1753; rhif 11, 1762; a rhif 5, 1770.

17. "The British Language in its Lustre, Or a Copious Dictionary of Welsh and English. Containing many more British Words than are in Dr Davies's Antiqua Linguæ Britannicæ, Dictionarium Duplex. First, Explaining many more British Words, by more familiar Words in the same tongue, very useful for all such as do desire to understand what they read in that Language. Secondly, Shewing the proper English to every British Word, and consequently The true Way of Spelling all Words in both Languages. Amplified with the Geographical Names of Countries, Counties, Cities, Touns and places in Great Britain, (and some beyond Sea) in Ancient British and Present English. Whereunto are added, Plain and easy Directions to Welshmen, for the true Pronouncing of the English Tongue, by a Short Introduction in the British Language. With the Proper Use or Signification of all Accents, Points, or Stops, as now used in the British and English; being Necessary to be understood by every Reader. Compiled by the Great Pains and Industry of Thomas Jones. Shrewsbury: Printed by Stafford Pryse, Bookseller, in the Year 1777."

Y mae hefyd wyneb-ddalen Cymraeg, yr hwn sydd yn ailargraff o'r un a argraffwyd gan Baskerville (gwel "Traethodydd," 1852, tudal. 392), gydag ychydig o wahaniaeth dibwys; eto gan mwyaf yn waethygiad, lle y dylasai fod yn wellhad, gan ei fod yn cael ei argraffu dros gan' mlynedd ar ol yr argraffiad arall. Yr ydys wedi cael llawer esiampl o lyfrau yn cael eu gwaethygu trwy argraffiadau diweddar ragor eu hen argraffiadau boreuaf.

18. "Trial of the Bishop of Bangor for a Riot, &c. Before Mr. Justice Heath at the Assizes at Shrewsbury, July, 1777." 8vo.

19. "Pregeth ynghylch Rhodio gyda Duw. O Waith y Parchedig Mr. George Whitfield, A. B. Yr Ail Argraffiad. At yr hyn y chwanegwyd ychydig o Hymnau gan Nathaniel Williams, o Lanwino. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross. 1777."

20. ¶ "Prysur wahoddiad mewn Crist'nogol Gariad, at bawb i droi at Yspryd Crist ynddynt eu hunain; fel y delont i iawn ddeall Pethau Duw, a chael eu nerthu i'w wasanaethu ef yn gymeradwy, &c. Gan Benjamin Holme. Caerfyrddin, argraphwyd, dros y cyfieithydd gan J. Daniel, yn Heol-y-farchnad isaf."

Y mae enw "Job Thomas," wrth ei "Ragymadrodd," fel cyfieithydd, yr hwn oedd Grynwr, o Langadog, yn sir Gaerfyrddin.

21. "Welch Piety: or, a further account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas, 1776, to Michaelmas, 1777."

Rhoddwyd cant o'r uchod yn anrheg i lyfrfa y "Gymdeithas er lledaenu Gwybodaeth Gristionogol," gan Mrs. Bevan, o Laugharn.

22. ¶ "Gwin i'r Diffygiol, o'r Winwydden oreu. Neu ychydig Hymnau, wedi eu cymeryd allan o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, er diddanwch i'r pererinion ar eu taith tu a Mynydd Sion. Gan Dafydd William. Caerfyrddin argraffwyd gan Ioan Daniel."

23. "Marwnad o Goffadwriaeth am Farwolaeth Mr. Dafydd Jones o'r Hafod,

gynt o Gayo; Cyfieithydd Salmau a Hymnau Dr. Watts. Yr hwn a ymadawodd o'r byd hwn y 30 o Awst, yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd 1777. Gan J. T., Gweinidog yr Efengyl."

24. "Marwnad y Parchedig Mr. Miles Harries, o Drosnant, gerllaw Pont-y-pwl, yn Sir Fynwy. Yr hwn a orphenodd ei yrfa y cyntaf o fis Tachwedd, yn y flwyddyn 1776, yn y 76 o'i oedran. Gan David Jones. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, 1777."

25. "Doctor Nuptiarum: neu Gyfarwyddwr Priodas. Mewn dull o ymddiddan rhwng Martha Pseudogam, a Mary Eujamus, ill dwyoedd ar y cyntaf yn proffesu duwioldeb, ond y naill wedi gwrthgilio, yn priodi yn ol y Cnawd; a'r llall yn dal at Rym Duwioldeb, yn priodi yn Ofn yr Arglwydd. Yn dri ymddiddan, &c., &c. Gan W. Williams. Aberhonddu, argraphwyd dros yr Awdwr, gan E. Evans; lle gellir cael argraphu pob math o gopiau ar bapur da a llythyren newydd. 1777."

26. "Traethawd ar Fywyd Ffydd, gan W. Romaine, Periglor y Fonachddu (Black-fryars), a Lecturer St. Danstan, yn Llundain. A Gyfieithwyd gan Ioan Thomas, trwy ganiatad yr Awdwr. Liverpool: argraphwyd yn Heol y Morfa, M,DCC,LXVII."

1778.

1. "Bardd y Byrddau, Amryw Seigiau. Neu gasgliad o Gynghanedd, sef Carolau a Cherddi a Chywyddau, o waith Jonathan Edwards, Pengwern wrth Langollen, yn Sir Ddinbych. Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, yn y flwyddyn 1778."

2. ¶ "Carwr y Cymru yn anfon ychydig Gymmorth i bob Tad a Mam, &c. Mwythig." 12plyg.

3. ¶ "Yr Act am Bwyso Aur, a osodwyd allan mewn Trefn Ysbrydol, mewn dull o ymddiddan."

Gwel rhif 13, 1775; nid ydys yn hollol sicr a fu dau argraffiad o hono.

4. "Traethiadau ar Gatechism Eglwys Loegr, gyda Phregeth ar Gonffirmasiwn gan Thomas Secker, Ll. D., diweddar Archesgob Caergrawnt, a osodwyd allan o sgrifenlaw yr Awdwr, gan Beilby Porteus, D. D., a George Stinton, D. D. Gwedi ei Gyfieithu gan Thos. Jones, Ficer Pennant. Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Eddowes."

Y mae hwn yn llyfr wythplyg da, ac yn gyfansoddiad cyfrifol iawn.

5. "Golwg ar Ddinas Noddfa, mewn Casgliad o Hymnau, &c. Gan Robert Thomas. Trefriw Argraffwyd."

6. "Dirgelwch i rai i'w ddeall, ac eraill i'w watwor: sef tri Aderyn yn ymddyddan; yr Eryr, a'r Golomen, a'r Gigfran, neu Arwydd i Annerch y Cymry am y flwyddyn 666. Argraffwyd yn Ngwrecsam, ac ar werth yno gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau. 1778."

Trydydd argraffiad o leiaf; gwel rhif 7, 1714; a rhif 1, 1752.

7. Dyferyn Dewisol o Fel o'r Graig Crist, yn Saesoneg, gan T. Wilcox. Wedi ei gyfieithu o'r 42 argraphiad: fe werthwyd o hono yn Saesoneg chwe' ugain mil. Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans, dros Rys Dafis. Lle y gellir cael argraphu pob math o gopiau ar papur da a llythyren newydd, am bris rhesymol. 1778. [Pris dwy geiniog.]"

Gwel rhif 11, 1740; a rhif 4, 1762.

8. ¶ "Y Weinidogaeth Lwyddiannus, neu ymddiddan ynghylch effeithioldeb a llwyddiant pregethu yn mhlith Cristionogion o wahanol farnau. Llundain, argraphwyd ac ar werth gan T. N. Longman ac O. Rees, ac yn Nghaerfyrddin gan J. Ross a J. Daniel. (Pris chwecheiniog)."

9. "Hanes y Bedyddwyr yn mhlith y Cymry, gan Josuah Thomas. Caerfyrddin, argraphwyd dros yr Awdwr, gan J. Ross. 1778."

Cynnwysa y llyfr hwn 468 o dudalenau, 12plyg.

10. "Welch Piety: or a further account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1777 to Michaelmas 1778."

Rhoddodd Mrs. Bevan hanner cant o'r uchod, i'r Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristionogol.

11. "Esboniad byr ar Gatecism yr Eglwys, sef Holiadau ac Atebion Ysgrythyrol ynghylch Egwyddorion a Dyledswyddau 'r Grefydd Gristionogol, yn bum rhan. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Person Llanddowror, yn Sir Gaerfyrddin. Y pedwerydd argraphiad. Llundain: argraphwyd gan William Olifer, yn Bartholomew-Close, ger llaw West Smithfield. M,DCC,LXXVIII."

Gwel rhif 1, 1743; rhif 2, 1749; a rhif 18, 1766. Nid arferai "person Llanddowror roddi ei enw wrth ei waith yn ei fywyd,"—dim ond gan "weinidog o Eglwys Loegr;" eithr ei gyfeillion, wedi ei farwolaeth a newidiasant hyny am ei enw yn llawn.

12. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, am y flwyddyn 1778. Caerfyrddin, argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-prior."

13. Rhyw lyfr ar y "Drindod."

Dywed y Parch. Joshua Thomas, yn ei *"History of the Welsh Association,"* am gymanfa y Glyn, sir Ddinbych, 1779.—"Yn flaenorol i gyfarfod y Glyn, argraffwyd y llyfr yn Gymraeg, yn cynnwys rhai pethau o berthynas i'r Drindod, yr hyn a dybiai llawer yn gyfeiliornus. Yn y llythyr hwn, tystiodd y gymanfa ei hanfoddlonrwydd iddynt, gan y tybid mai Bedyddiwr ydoedd Awdwr y llyfr."

14. "Llythyr y gwir Barchedig Dad yn Nuw, Risiart Davies, D. D. Esgob Tŷ Ddewi, at y Cymry. Yr hwn lythyr a 'sgrifenodd efe at ei Gyd-wladwyr, o flaen Cyfieithiad William Salsbri o'r Testament Newydd, i'w hannog hwy i ddarllain a defnyddio Gair Duw. Y pedwerydd argraffiad. Caerfyrddin: argraffwyd gan John Ross, yn Heol-y-prior M,DCC,LXXVIII."

15. "Caniadau Preswylwyr y Llwch, neu Hymnau ac Odlau y Gwaredigion o Wlad yr Aipht i Gaersalem Newydd. *Salm* cxvii. 2, &c. Argraphwyd tros Sion Ifan, yn y flwyddyn MDCCLXXVIII."

Gwaith Sion Rhobert Lewis, gynt o Gaergybi, yw yr Hymnau uchod. Y maent o bob barn athrawiaethol, fel gwaith y gwr hwnw yn gyffredin; eto y maent yn Hymnau melusion, a barddonol iawn gan mwyaf. Ymddengys, oddiwrth hysbysiad cysylltiedig â'r llyfr uchod, am gyhoeddiad yr "Athrofa Rad," gan yr un gwr, a'r "Dyferyn Dewisol o Fel," mai T. Huxley, Caerlleon, a'i hargraffodd, canys efe a argraffodd yr olaf.

16. "Eglurun Boreu; ar Waith y Nosweithieu; sef llyfr Dehongliad Breuddwydion o amriw ystyriaethau. Ymha un y dangosir Gwahaniaeth rhwng Breuddwydion Gwylltion a Breuddwydion o Rybydd, ynghyd a chywir arwyddocad arnynt. Yr ail argraphiad yn llawnach o lawer nag o'r blaen. Argraphwyd yn Ngwrecsam gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau, lle yr argreffir pob math o lyfrau &c., yn y modd mwya' hardd a buan, ac am y pris issa. 1778."

17. "Two successive Tours through the whole of Wales, with several of the adjacent English Counties, so as to form a comprehensive view of the picturesque beauty, the peculiar manners and the fine remains of antiquity in that interesting part of the British Island, by Henry Skerne, Esq., London. 1778." 8vo.

1779.

1. "Hanes troedigaeth rhyfedd a hynod y Parchedig Thomas Goodwin, D. D. a ddygwyd i fyny yng Ngambridge, &c., gan W. Williams. Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans. Lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau, ar bapur da, a llythyren newydd, am bris rhesymol, 1779."

Y mae yn ei ddiwedd hysbysiad helaeth am y "Pantheologia," ei gynnwysiad, a rhesymau drosto, yn erbyn gwrthddadleuon rhyw rai.

2. "Pregeth ar Salm cxix. 165. Gan Thos. Jones, Ficar Pennant. Aberhonddu."

3. "Llyfr y Weddi Gyffredin. Caergrawnt." 12plyg.

Ar draul y Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristionogol y cyhoeddwyd ef, a gwerthwyd hwy am 10s. 10c.

4. "Welch Piety: or a Further Account of the Circulating Welsh Charity Schools from Michaelmas 1778 to Michaelmas 1779."

Rhoddodd Mrs. Bevan hanner cant o'r uchod hefyd i lyfrfa y Gymdeithas er Lledanu Gwybodaeth Gristionogol.

5. "Llun Agrippa, y Cristion o fewn ychydig, gan Mathew Mead. Yr ail Argraphiad, gwedi ei gymmaru a'r Saesoneg, a'i ddiwygio o amrywiol o Feiau ag oedd yn yr argraphiad cyntaf. Trefecca, argraffwyd yn y flwyddyn 1779. Pris 9 ceiniog."

Gwel rhif 1, 1723.

6. "Ychydig o Eiriau o Hymnau Newydd, o waith Thomas Dafydd, ar ddymuniad rhai o'i Ffryns Cristionogol, a gafodd lawer o fudd wrth eu canu. Ynghyd a Marwnad Elizabeth Jones, o Dref Llantrisaint, ar ddymuniad rhai pobl Ieuaingc na's cawsant yr argraffiad cyntaf."

7. "Blodeugerdd Cymry. Sef casgliad o Ganiadau Cymreig gan amryw awdwyr o'r oes ddiweddaf. Yr hwn a gynnwys draethiadau duwiol a diddanol; y rhai na fuont yn gyhoeddus mewn argraph o'r blaen. O gynnulliad David Jones o Drefriw. Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Staphord Prys, gwerthwr llyfrau. ☞Bydded hysbys ir Cymru fod llyfr dewisol Ganiadau yr oes hon yn awr yn yr argraphwasg, ac a fydd yn barod ynghylch Gwyl Mihangel. 1779. Pris 3s."

8. "Deonglydd y Ser."

9. "Dewisol Ganiadau yr Oes Hon O waith llawer o Beirdd Cymru. A gasglwyd ac a gyfansoddwyd gan Hugh Jones, Llangwm. Argraphwyd yn y Mwythig gan Staphord Prys yn y flwyddyn 1779."

Ailargraphiad: gwel rhif 1, 1759.

10. "A Geographical, Historical, and Religious Account of the Parish of Aberystruth, in the County of Monmouth. To which are added Memoirs of several Persons of Note, who lived in the said Parish. By Edmund Jones, Trefecca: Printed in the year 1779."

11. "Seren Tan Gwmwl. Llundain. 1779."

Gwaith y diweddar fardd gwageddus, Mr. John Jones (alias Sion Glan y Gors), yr hwn oedd yn cadw tafarndy yn Llundain, ydoedd y llyfr hwn. Pleidio y chwildroad yn Ffrainc y mae. Y mae yn cynnwys y sylwadau mwyaf gwaradwyddus ar freninoedd a allai iaith ei roddi; er y rhaid cyfaddef fod amgylchiadau yr amser yn gwneyd peth yn gabldraeth na wnaethid sylw o hono, ac na chyfrifasid felly ar amserau a than amgylchiadau eraill. Gwnaeth gryn gynhwrf yn y wlad hon y pryd hyny.

12. "Hanes Troedigaeth un o'r Indiaid digred i'r grefydd Gristionogol. Mewn Llythyr at Ffrynd. Aberhonddu, argraphwyd ac ar werth gan E. Evans. 1779. [Pris dwy geiniog.]"

13. "Coppi o Lythyr, yr hwn a gafwyd tan Garreg. Y pedwerydd argraffiad. Trefriw. 1779."

Y mae yr hysbysiad canlynol ar ddalen ddiweddaf y llyfryn uchod:—"Bydded hysbys fod John Williams, Dysgawdwr Miwsic, o Fodedeyrn, yn bwriadu, trwy help ei gydwladwyr a phawb o'i ewyllyswyr dâ; gael llyfr i'r print, a elwir (Cerddoriaeth Seion) yn dair rhan,

1. Yn Egoryd ar (Gamut) sef Clorian Peroriaeth, ac eglurhad helaeth ar bob gradd o'r Tônau amser cyffredin ac amser trifflyc.

2. Y Peroriaethau ac adnodau o'r Salmau, ynghyd a fo'n berthynasol i bob un.

3. Hymnau ac Anthem at amryw achosion, ynghyd a Geirlyfr yn egoryd ar y geiriau caledion mewn Miwsic; a'r llyfr a ddaw allan gan gynted ac y ceffir digon o gynnorthwywyr. Ai bris a fydd 2s. 6c. mewn papur glas."

Nis gwyddom a gafwyd y gefnogaeth anghenrheidiol i gyhoeddi y llyfr uchod. Nid ydys yn cofio erioed ei weled.

14. "Marwnad Elizabeth Jones o Lantrisant, yn sir Forganwg. Gan Dafydd Williams. Aberhonddu, argraffwyd gan E. Evans."

Pregethwyd yn ei chladdedigaeth, gan Mr. Jones, Llanganna. Yr oedd hwn y trydydd argraffiad.

15. "Testament Newydd ein Harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist," &c.

16. "Byrr Hanes o'r pethau mwyaf hynod ym mywyd James Albert Ukawsaw Groniosaw, Tywysog o Affrica: Fel yr adroddwyd ganddo ef ei hun. Aberhonddu, argraffwyd dros y Parch. Mr. W. Williams, gan E. Evans. 1779."

Yn gysylltiedig â hwn, y mae Bardd Pant y celyn yn rhoddi y canlynol—"Bydded hysbys i'r Cyffredin, fod llyfr yn dyfod allan cyn pen Amser hir, os yr Arglwydd a ganiatta, o waith cyfieithydd y llyfr hwn: ag elwir *Gloria Scripturarum*, neu Ogoniant yr Ysgrythyr lân." Yna rhydd ei gynnwysiad, ac ychwanega, "Er mwyn cael prawf o ysbryd y llyfr, mi roddais rai gwersi o'i ddechreuad ef yma, hyd i bedair tu dalen." Ond nid ydym wedi dygwydd cael gafael arno, os cafodd ei gyhoeddi. Barddoniaeth ydoedd, a chystal a dim arall a gyhoeddwyd ganddo.

17. "Llythyr y Gymanfa, &c. Mehefin 1779, yn y Glyn-caerog, yn sir Ddinbych; yn arddel Ffydd o flaen Bedydd."

Wele ni wedi rhoddi saig lled dda o flaen carwyr ac ymbleserwyr ymhlith cynnwysiad silffoedd llychlyd. Er y bu chwilio am danynt yn olrheiniad o'r fath i ni ag y bu orfod arnom ymolchi a brwsio llawer arnom ein hunain, ar ol llawer awr o chwilio mor ddyfal, mor awyddus, ac mor ddiwyd, a phe buasem yn cloddio am aur yn Awstralia. Y maent yn cael eu rhoddi i'r darllenwyr yn lân, heb lwchyn arnynt, ac mor werthfawr ag aur pur.

---

# ROGER WILLIAMS.

[*Life of Roger Williams, the Earliest Legislator and the true Champion for a Full and Absolute Liberty of Conscience.* By ROMEO ELTON, D.D., F.R.P.S., Fellow of the Royal Society of Northern Antiquaries, etc. etc. London.]

ADEG gynhyrfus ar y byd gwladol a chrefyddol oedd yr amser y cafodd Roger Williams ei fod ynddo. Amser ag yr oedd egwyddorion gwrthwynebol i'w gilydd wedi dyfod i gydgyfarfyddiad, a dynion dihafarch yn ymladd o ddifrif calon o bob ochr. Yr oedd cawri ar y ddaear yn y dyddiau hyny. O ddyddiau Harri yr Wythfed hyd yn awr yr oedd yr Eglwys Sefydledig, neu yn hytrach yr eglwys a gydnabyddid gan y llywodraeth wladol, yn hynod o ansefydlog. Weithiau yn y ffurf yma, bryd arall mewn ffurf dra gwahanol. Ar un adeg yn Babaidd, wedi hyny yn Brotestanaidd, a thrachefn yn gymysgedig o'r naill a'r llall. Am un tymmor yn Esgobyddol, ar dymmor arall yn Bresbyteraidd, wedi hyny dychwelai eilwaith i'w ffurf gyntefig; a'r cyfan o'r cyfnewidiadau hyn yn cymeryd lle yn y corff yn ol fel y byddai egwyddorion y pen yn dygwydd bod ar y pryd. Bwriodd Harri ymaith benogaeth y pab o Rufain, i'r dyben o gael bod yn bab ac yn ben i'r eglwys ei hunan. Am nad oedd deddfau Eglwys Rhufain yn caniatau iddo fwrw ymaith ei wraig a phriodi un arall ag oedd yn decach yn ei olwg, penderfynodd roddi llythyr ysgar i awdurdod y Tad sanctaidd, a thaflu ei iau oddiar ei war, fel y gallai lunio deddfau i'r eglwys yn Lloegr wrth fodd ei galon ei hun, er mwyn

bod yn ddiogel rhag un niwed oddiwrth esgymundod "ei Sancteiddrwydd." Ond fel y mae yr Hwn sydd uwch na'r uchaf yn gwylied, goruwchreolwyd yr amgylchiadau hyn i fod yn ddechreuad cyfnod newydd a phwysig ar hanes crefydd yn yr ynys hon. Nid oedd y corff fel y cyfryw wedi myned o dan nemawr o gyfnewidiad er newid ei ben, er hyny, drylliwyd iau y bwystfil, ac agorwyd y drws i gyfnewidiadau mawrion. Codai ambell un yn ei ddyddiau ef i fod yn dystion dros y gwirionedd; ac aethant ar gynnydd yn yr ychydig hamdden a gafwyd o dan deyrnasiad Edward, er creulondeb Pabaidd Mari, ac er llawer o wrthwynebiadau o dan Elisabeth, Iago, a Siarl y Cyntaf, nes o'r diwedd, trwy gael seibiant am yspaid byr yn amser y Weriniaeth, yr oeddynt wedi myned mor lliosog a phenderfynol, fel, yn amser Siarl yr Ail, gan fod yr awdurdod wladol o blaid eu gwrthwynebwyr, y gorfu i ddwy fil o weinidogion, nad oedd y byd yn deilwng o honynt, droi allan o'r Sefydliad, o herwydd eu hanghydffurfiaeth â'r defodau crefyddol oedd ynddi.

Amcan y blaid hon yn yr Eglwys Wladol, er y dechreu, oedd ei diwygio oddiwrth ei hathrawiaethau a'i seremoniau Pabaidd, ac ar y cyfrif hwnw gelwid hwy yn Buritaniaid, mewn ffordd o ddirmyg arnynt: ond o herwydd fod y nifer fwyaf o lawer, yn esgobion a chlerigwyr, o dan lywodraeth ysbryd Pabaidd creulawn, a'r rhai hyny yn dylanwadu ar y penadur a fyddai yn dygwydd eistedd ar yr orsedd, ac ar y rhan liosocaf o'r mawrion a swyddogion y llywodraeth, yr oedd yn fyd mor flin ar y Diwygwyr, fel y gorfu i lawer o honynt, yn nyddiau Iago y Cyntaf, er maint eu gobeithion ar ei esgyniad i'r orsedd, ffoi o'r wlad hon i Holland am nodded i addoli Duw yn ol eu cydwybodau. Yn y flwyddyn 1620, gan nad oeddynt yn gallu gwneuthur eu cartref yn Holland, ac nad oedd gobaith iddynt fwynhau y rhyddid a ddymunent trwy ddychwelyd yn ol i Loegr, ymfudodd tua chant o honynt o Leyden i Loegr Newydd, yn America, ac ymsefydlasant yn drefedigaeth yn Plymouth Bay. Yn yr adeg hon yr oedd gwlad y gorllewin yn ymagor fel noddfa i'r gorthrymedig, ac aeth llawer o'r "pererinion" yno, ac ymsefydlasant yn Salem, Charlestown, Boston, a lleoedd eraill. Cydnabyddent ymostyngiad i awdurdod coron Lloegr, a chawsant freinlen i'w hawdurdodi i ffurfio cyfansoddiad gwladol o dan ei nodded; ond o herwydd nad oeddynt yn anghytuno â'r egwyddor o sefydliad eglwysig fel y cyfryw, ond yn unig â'r athrawiaethau a'r defodau coelgrefyddol a ddysgid yn y sefydliad hwnw yn yr hen wlad, ac mai eu hamcan penaf wrth ymfudo ydoedd rhyddid i fwynhau eu hegwyddorion eu hunain, a sefydlu eglwys rydd oddiwrth lygredigaethau a choelgrefydd, yr oedd yn naturiol dysgwyl canfod y syniadau hyn yn gymhlethedig â'u deddfau gwladol, a'r canlyniad fu iddynt ymffurfio yn fath o werin-lywodraeth grefyddol. A chan eu bod oll ar y cyntaf yn rhai o'r un syniadau, lluniwyd deddf ganddynt a fu mewn grym am ryw yspaid, nad oedd i neb gael eu derbyn i gyflawn ryddid yn y corff gwladol, oddieithr eu bod yn aelodau o rai o'r eglwysi o fewn terfynau eu hawdurdod. Cauid y drws fel hyn i unrhyw swydd wladol, nid yn unig oddiwrth ddynion hollol annuwiol, ond hefyd oddiwrth y dynion mwyaf crefyddol a duwiol, oni byddent yn perthyn i'w sefydliad crefyddol hwy; ond fel yr oedd y trefedigaethau yn lliosogi, nid hir y buwyd heb ganfod fod y ddeddf hon yn feithrinfa i dwyll a rhagrith, pryd y gorfu iddynt ei dyddymu. Pa fodd bynag, dyma oedd sefyllfa pethau yn yr adeg y daeth Roger Williams i'w mysg.

Ganwyd Roger Williams yn y flwyddyn 1606. Yr oedd ei rieni yn byw yn nhreftadaeth hynafiaid ei dad, yn Maestroiddyn, yn mhlwyf Cynwil Caio, yn sir Gaerfyrddin. Ymddengys eu bod yn byw mewn amgylchiadau cysurus, a'u bod wedi gofalu am roddi manteision addysg helaeth i'w mab, ac iddo yntau wneuthur y defnydd goreu o honynt; oblegid pan nad oedd ond pymtheng mlwydd oed, dywedir y byddai yn arfer ysgrifenu, mewn llaw fer, areithiau a draddodid yn y *Star Chamber*, a'u hanfon i Syr Edward Coke, yr hyn a barodd i'r cyfreithiwr enwog hwnw sylwi ar y bachgen ieuanc fel un tra gobeithiol, a'i anfon i *Sutton's Hospital*, yn awr y *Charter House*, a chafodd dderbyniad i'r sefydliad hwnw Mehefin 25ain, 1621. Wedi hyny aeth oddiyno i Rhydychain, a chafodd dderbyniad i Goleg yr Iesu (yn ol coflyfr yr athrofa), Ebrill 30ain, 1624. Pa hyd yr arosodd yno nid yw yn wybyddus, ond y mae yn amlwg iddo gyrhaedd gwybodaeth fanwl o'r Groeg, Lladin, a'r Hebraeg, ynghyd âg amryw o ieithoedd diweddar. Wedi bod am ryw yspaid, ar ol ei ymadawiad â Rhydychain, yn efrydu y gyfraith o dan nodded Syr Edward Coke, trodd ei fryd at weinidogaeth yr efengyl, a derbyniodd urddau Eglwys Loegr. Dywedir iddo ennill gair da fel pregethwr yr ychydig y bu yn aros yn y wlad hon. Tybir mai yn rhywle yn esgobaeth Lincoln y bu yn gweinidogaethu; oblegid, heblaw y cyfeiriad a geir yn un o'i ysgrifeniadau ag sydd yn rhoddi lle i gasglu hyny, yr oedd yn barod wedi derbyn athrawiaethau y Puritaniaid erlidiedig; a dywedir fod y rhagorol Dr. Williams, esgob Lincoln, yn dyner tuag at yr Anghydffurfwyr, ac yn siarad gyda chryn ryddid yn erbyn seremoniau yr Eglwys. Ond gan fod yr anfarwol Laud yn chwareu ei branciau, ac yn gorchymyn hollol ymostyngiad i'w defodau, gorfodwyd ef, ar ol amryw o weinidogion duwiol a dysgedig eraill, i roddi i fyny bob gobaith am ryddid crefyddol yn y wlad hon, a ffoi i'r America.

Hwyliodd Mr. Roger Williams a'i briod o Bristol, Chwefror 5ed, 1631, ac wedi mordaith dymhestlog, am driugain a chwech o ddyddiau, cyrhaeddasant Boston, yn Massachusetts, yn Lloegr Newydd, lle yr oedd trefedigaeth o'r wlad hon wedi ymsefydlu. Ond yr oedd ef wedi dychymygu am fwy o ddedwyddyd nag oedd y byd newydd yn gallu ei ganiatau iddo. Yr oedd y sefydliad hwn yn ystyried ei bod yn ddyledswydd arnynt, fel cyfansoddiad gwladol, i ddefnyddio yr awdurdod hòno i wrthwynebu a darostwng yr hyn a farnent hwy yn gyfeiliornad mewn pethau crefyddol. Yn wir, dyma oedd y gred gyffredinol yn mysg pob plaid, ac yn mhob gwlad, yn y dyddiau hyny. Ond yr oedd y Cymro yn synied yn wahanol. Ei egwyddorion ef oedd,—mai dyledswydd y swyddog gwladol oedd amddiffyn cyrff a meddiannau dynion, ac nad oedd ganddo hawl i ymyraeth â materion cydwybod, a chosbi am gyfeiliornad a gwrthgiliad,—nad oes gan y llywodraeth wladol un awdurdod i deyrnasu ar eglwys Crist, nac i alw neb i gyfrif o herwydd ei grefydd, a bod yr athrawiaeth o erlid neb o achos cydwybod yn hollol groes i athrawiaeth Crist Iesu. Yr oedd y rhai hyn yn syniadau newyddion a dyeithr, na ddaethai i galon dyn erioed o'r blaen; ond meddai ef ddigon o wroldeb i'w traethu yn hyf a difloesgni, beth bynag a fyddai y canlyniadau; ac nid hir y bu heb deimlo o achos ei hereticiaeth.

Yn mhen ychydig wythnosau wedi iddo lanio, galwyd arno, gan yr eglwys yn Salem, i fod yn gynnorthwywr i'r Parch. Mr. Skelton, â'r hyn y

cydsyniodd. Ond yn y fan, wedi iddo ddechreu ar ei weinidogaeth, dyma yr awdurdod wladol yn cyfryngu i attal ei sefydliad; a'r rheswm a roddid dros yr ymyriad hwn oedd, ei fod wedi gommedd ymuno â'r gynnulleidfa yn Boston am na chyffesent edifeirwch o'u bod mewn cymundeb âg Eglwys Loegr pan oeddynt yn byw yno: ac hefyd am ei fod yn hòni nad oedd gan y swyddog gwladol awdurdod i "gosbi am dori y Sabboth, nac am unrhyw drosedd o'r llech gyntaf." Y mae yn anghenrheidiol i'r darllenydd ddeall fod yr holl gyhuddiadau a ddygid yn erbyn Mr. Williams yn cael eu dodi yma yn y wedd y gosodid hwynt allan gan ei wrthwynebwyr, oddieithr lle y ceir mantais oddiwrth y cyfeiriadau anuniongyrchol at rai o honynt yn ei ysgrifeniadau ef ei hun i ddeall ei olygiadau yn well. Er fod Williams yn ystyried fod pob eglwys wladol o gyfansoddiad niweidiol, a bod y mwyafrif yn y cyfryw eglwysi yn ddynion anianol, eto cydnabyddai fod lliaws o wir Gristionogion mewn eglwysi gwladol, a rhoddai ddeheulaw cymdeithas a derbyniad i gymundeb i foneddigion o Boston, pan oedd yn weinidog yn Plymouth. Ymddengys fod y cyhuddiad arall yn cynnwys egwyddorion a gydnabyddai yn wirionedd, er hwyrach, fod yr awdurdodau yn eu gosod allan mewn geiriau lled gryfion, er mwyn cadarnhau eu gwrthwynebiad iddo. Pa fodd bynag, gorfu arno ymadael o fynwes yr eglwys yn Salem, ond cafodd dderbyniad cynhes gan yr eglwys yn Plymouth i fod yn gynnorthwywr i'r Parch. Ralph Smith. Yr oedd y "brodyr" yn Plymouth yn cael eu hystyried yn llawer mwy rhyddfrydig na'r trefedigaethau eraill, am nad oeddynt yn cysylltu unrhyw gerydd gwladol â dysgyblaeth eglwysig. Y mae amgylchiadau yn cario dylanwad grymus ar feddyliau dynion yn ffurfiad eu hegwyddorion, ac hwyrach fod yr amser a dreuliodd y brodyr hyn yn Leyden yn rhoddi cyfrif, mewn mesur, am y gwahaniaeth hwn, tra yr oedd y lleill wedi dyfod o ganol yr ymdrechfa o Loegr, heb feddwl gymaint ag unwaith fod yn ddichonadwy i grefydd hanfodi, nac i anwiredd gael ei ddarostwng, yn annibynol ar awdurdod wladol. Ond beth bynag am hyny, yr oedd Roger Williams yn debycach o fedru cytuno â hwy yn hyn nag â'r awdurdodau yn Boston. Tra yr oedd yn aros yn y lleoedd uchod, cafodd gyfleusdra i ddyfod i gydnabyddiaeth â rhai o brif benaethiaid yr Indiaid, a theimlai yn ddwys o herwydd eu cyflwr, a thrueni eu llwythau. Bu yn "lletya yn eu tyllau budron a myglyd" er mwyn dysgu eu hiaith, i'r dyben i fynegu iddynt ffordd iachawdwriaeth.

Yn Awst, 1633, dychwelodd Mr. Williams eilwaith i Salem i gynnorthwyo Mr. Skelton; ac yn mhen tua blwyddyn bu farw yr olaf, a dewiswyd yntau yn ei le. Yn y cyfamser anfonodd Williams lythyr at y llywydd, ag oedd wedi ei ysgrifenu o'r blaen at lywydd Plymouth, yn dadleu nad oedd gan y trefedigaethwyr hawl i gymeryd meddiant o led troed o dir y wlad ond trwy roddi cyflawn foddlonrwydd i'r brodorion am dano. Nid yw yn ymddangos eu bod hwy wedi gwneuthur hyn; ond yr oedd yr hen erthygl Babaidd, "fod gan freninoedd Cristionogol hawl, ar gyfrif eu Cristionogaeth, i gymeryd a rhoddi ymaith diroedd a gwledydd rhai eraill," heb ei dileu eto o'r byd; ac yr oedd y brenin yn gosod ei hun allan yn y freinlen fel prif arglwydd yr holl gyfandir, ac yn caniatau ynddo ddarnau eang o dir i'r trefedigion, heb un cyfeiriad at hawl y brodorion. Ac oddiar ei ofnau y byddai iddynt weithredu yn ol llythyren y freinlen yr ysgrifenodd Mr. Williams atynt; a dichon ei fod wedi defnyddio ymadroddion lled gryfion, yr hyn a barodd i'r awdurdodau dybied ei fod yn

gwrthwynebu y freinlen yn ei chrynswth. Ond wedi cael eglurhad helaethach ganddo, cydnabyddent eu bod wedi camddeall ei feddwl, a chyffesai yntau ei gydsyniad â'r freinlen, ond yn unig gwelai berygl gweithredu yn ol y cyfeiriad oedd ynddi at "roddiad tiroedd." Felly terfynodd y ddadl hon yn dawel a heddychol.

Ond nid oedd hyn namyn un don yn myned heibio i roddi lle i un arall. Gwnaed deddf gan yr ynadon yn gorchymyn i bob dyn fyned i le o addoliad, a chyfranu at ei gynnal. Ystyriai yntau hyn yn groes i hawliau naturiol dyn, a gwrthwynebai y ddeddf yn benderfynol, am na ddylid rhwymo neb i dalu at gynnal crefydd heb ei gydsyniad ei hun. Yr oedd ei ddull gwrol ac anhyblyg yn sefyll dros yr hyn a ystyriai yn wirionedd, pan y byddai y gwrthwynebiad iddo yn tueddu i gyfyngu ar ryddid cydwybod mewn pethau crefyddol, yn cyffroi yr awdurdodau yn ei erbyn. Hwyrach nas gellir amddiffyn ei holl syniadau wrth gario allan ei egwyddorion yn hyn, yn enwedig yn y wedd a roddir arnynt gan ei wrthwynebwyr, er y gallai eu bod hwythau, er mwyn cyfiawnhau eu hunain, yn eu gosod allan mewn eithafion na buasai efe ei hun yn cynnyg eu hamddiffyn. Pa fodd bynag, y mae yn eithaf amlwg eu bod yn benderfynol o fynu ymwared oddiwrtho mewn rhyw fodd neu gilydd. Cyhuddai un ef o fod yn "aflonyddu ar heddwch yr eglwys a'r weriniaeth," a dywedai un arall fod "melin wynt yn ei ben." Ond o'r diwedd, gwysiwyd ef i Boston, yn Gorphenaf, 1635, i ateb ger bron y llys am y syniadau peryglus a ganlyn, y cyhuddid ef o'u hamddiffyn:—"Yn gyntaf, Na ddylai yr ynad gosbi am drosedd o'r llech gyntaf, ond mewn amgylchiadau y byddai hyny yn aflonyddu ar heddwch gwladol. Yn ail, Na ddylai roddi ei lw i ddyn annuwiol. Yn drydydd, Na ddylid cydaddoli â'r cyfryw, &c. Yn bedwerydd, Na ddylid rhoddi diolch ar ol y sacrament, nac ar ol bwyd," &c. (*tudal.* 26). Nid ein gorchwyl ni yn bresennol yw gwrthwynebu nac amddiffyn y syniadau hyn, ond fe allai fod ychydig o eglurhad yn angenrheidiol i'r dyben i'r darllenydd ddeall, mor bell ag y gellir barnu, pa beth oedd ei olygiadau.

Am y cyntaf, y mae wedi ei osod allan yn ddigon eglur. Ei reswm yn wyneb yr ail gyhuddiad, dybygid, oddiar gyfeiriadau at y pwnc a geir yn ei ysgrifeniadau oedd, fod tyngu llw yn weithred o addoliad, a bod y neb a roddai ei lw i ddyn annuwiol, yn "meddu cymundeb â'r cyfryw yn addoliad Duw, ac yn achosi iddo gymeryd enw yr Arglwydd yn ofer." Dywed drachefn y "gallai Cristion gymeryd llw ar achlysuron priodol, er nad mewn pethau dibwys—nas gall dyn anghrefyddol gyflawni y weithred hon, mwy nag unrhyw weithred arall o addoliad, yn ddidwyll, ac na ddylid gorfodi dyn i gyflawni hyn mwy na rhyw wasanaeth arall o addoliad." Dichon fod teimlad wedi cael ei genedlu a'i feithrin yn meddwl Williams yn erbyn hyn pan oedd yn Lloegr, wrth weled llwon yn cael eu rhoddi a'u cymeryd ar achosion dibwys, a llawer o ddynion annuwiol yn ddigon wyneb a chalon galed i dyngu anudon. Ond ymddengys fod ei wrthwynebiad penaf yn erbyn yr hyn a elwid "Llw y gwr rhydd" (*Freeman's oath*). Ar y cyntaf ni wneid ond *cynnyg* y llw hwn, a hyny mewn rhyw amgylchiadau, fel prawf o ffyddlondeb i'r llywodraeth, er na byddai i neb a'i gwrthodai gael ei benodi i unrhyw swydd; ond wedi hyny *gorchymynid* ef ar bob dyn un ar bymtheg oed ac uchod, o dan berygl cosbedigaeth, yn ol ewyllys y llys, o herwydd ei wrthod. Tystiai Mr. Williams yn erbyn

hyn, am y rhesymau a nodwyd, ac ar y cyfrif ei fod yn trosglwyddo y rhwymedigaeth o ymlyniad wrth frenin Lloegr i lywodraeth Massachusetts, ei fod yn wrthwyneb i'r freinlen, yn anghyson â dyledswydd deiliaid Brydain, ac yn groes i'w egwyddor fawr ef o berffaith ryddid cydwybod.

Y mae y trydydd cyhuddiad yn codi oddiar yr un egwyddor a'r ail,—"na ddylid dal cymundeb â dyn annuwiol yn addoliad Duw." Ymddengys mai ei olygiad ydoedd, nid na ddylai dyn crefyddol weddïo mewn cynnulleidfa neu deulu lle byddai dynion annuwiol yn bresennol, ond na ddylai gyduno pan fyddai dyn a farnai o gymeriad annuwiol yn dwyn ymlaen y gwasanaeth yn y cyfryw leoedd. Gallai fod gweled dynion yn y wlad hon, o'r nodweddiad mwyaf anfad, yn dra defosionol pan y deuent uwch ben Llyfr Gweddi Gyffredin, wedi creu gwrthdarawiad yn ei feddwl i gyduno â'r cyfryw i addoli. Mor bell ag y gallwn ni gasglu, ei syniadau yn mherthynas i'r hyn a gynnwys y cyhuddiad olaf ydoedd, fod ein cydnabyddiaeth a'n diolchgarwch i Dduw am ei ddaioni i gael ei gyflwyno *cyn* ac nid *ar ol* y sacrament, neu *ar ol* bwyd, am mai mawl sydd yn gweddu *ar ol* cyfranogi o honynt.

Dichon fod ei wresogrwydd ef dros berffaith ryddid crefyddol, a'r adgasrwydd oedd yn ei feddwl at bob twyll a rhagrith gyda phethau cysegredig, yn peri iddo osod ei syniadau allan mewn geiriau cryfion, neu, os dewisir yn well, i redeg i raddau o eithafion. Ond beth bynag am hyny, dygwyd ef ger bron y llys, pryd y gofynwyd i'r gweinidogion fod yn bresennol, i roddi eu cynghor. Dygwyd ei brawf ymlaen, yn ol pob tebyg, heb holi un tyst yn ei erbyn, na gwrandaw un dadleuydd o'i blaid, pryd y "barnwyd ganddynt oll, ynadon a gweindiogion, fod ei syniadau yn gyfeiliornus a thra pheryglus," a mynegwyd ei fod yn haeddu ei alltudio o'r drefedigaeth am ddal yr athrawiaeth "na ddylai yr ynad gwladol gyfryngu hyd yn nod i rwystro eglwys i gyfeiliornad neu wrthgiliad." Rhoddwyd amser iddo ef a'r eglwys yn Salem i ystyried y pwnc, hyd oni ddeuai y llys ynghyd drachefn, ac oddieithr iddo allu rhoddi boddlonrwydd iddynt y pryd hwnw ei fod wedi ymwrthod â'i gyfeiliornadau, nad oedd un gobaith iddo am ymwared. Ond nid oedd dim yn tycio, a'r canlyniad fu cyhoeddi dedfryd ei alltudiaeth, â'r hon y cytunai yr holl weinidogion ond un, yn y geiriau hyn :—

"Gan fod Mr. Roger Williams, un o henuriaid eglwys Salem, wedi taenu a chyhoeddi syniadau newyddion a pheryglus yn erbyn awdurdod yr ynadon, ac hefyd wedi ysgrifenu llythyrau athrodus am yr ynadon a'r eglwysi, ac eto yn ymlynu wrth hyny; gorchymynir gan hyny, fod i'r dywededig Mr. Williams ymadael o'r rhaglawiaeth yma yn ngorff y chwech wythnos dyfodol, ac oddieithr iddo wneuthur hyny, y bydd yn gyfreithlawn i'r llywydd a dau o'r ynadon ei anfon i ryw le allan o'r rhaglawiaeth yma, ac na bydd iddo ddychwelyd heb drwydded oddiwrth y llys."

Y mae y llythyrau a nodir yn y ddedfryd, yn cyfeirio at anghydwelediad rhwng yr awdurdodau a thrigolion Salem, ynghylch darn o dir oedd yn perthyn i'w tref. Anfonasant ddeiseb i'r llys am dano, ond gwrthodwyd rhoddi derbyniad iddi ar y cyfrif eu bod wedi dewis Roger Williams yn weinidog iddynt, ac yn para i'w amddiffyn, a thrwy hyny yn taflu dirmyg ar yr ynadon. Mewn canlyniad i hyn, ysgrifenodd yr eglwys yn Salem lythyrau at yr eglwysi ag yr oedd yr ynadon yn perthyn iddynt, i ddymuno arnynt ddangos iddynt yr anghyfiawnder, a'u ceryddu o'r herwydd; ond gan na fynai yr eglwysi hyny fyned yn erbyn y gwŷr mawr, ysgrifenodd Mr. Williams lythyr at eglwys Salem, yn ei chynghori na byddai iddi gymundeb â'r eglwysi hyny mwyach. Cyffrôdd hyn yr ynadon yn fawr,

a gofalasant am roddi arbenigrwydd iddo yn y ddedfryd. Parodd yr ymddygiad hwn tuag at Roger Williams gryn derfysg, oblegid yr oedd ei gymeriad difrycheulyd, a'i weinidogaeth effro, yn ennill iddo ganmoliaeth yn mhob cydwybod dynion, ïe, yr oedd hyd yn nod ei elynion yn cydnabod ei fod yn "ddyn duwiol a gweinidog galluog." Cyhoeddwyd y ddedfryd uchod Tachwedd 3ydd, 1635; ond o herwydd fod iechyd Mr. Williams wedi anmharu i raddau mawr trwy ei lafur a'i bryder, caniatäwyd iddo aros yn Salem hyd wanwyn y flwyddyn ddyfodol. Yn y cyfamser, daeth cwyn yn ei erbyn fod pobl yn ymgynnull i'w dŷ, ei fod wedi ennill rhai i gofleidio ei egwyddorion, a'i fod yn bwriadu ffurfio sefydliad newydd oddeutu Narragansett Bay. Ar hyn, penderfynodd yr ynadon ei anfon yn ddioed i Loegr, mewn llong oedd yn y porthladd y pryd hwnw yn barod i hwylio, ac anfonwyd swyddogion i'w geisio, ond er eu mawr siomedigaeth, canfuant ei fod wedi ymadael er's tridiau nas gwyddent i ba le. Yr oedd ef wedi ei wneuthur yn hysbys o'i berygl, a gwnaeth y defnydd goreu o'r ychydig ryddid oedd ganddo.

Pwy a all ddirnad a rhoddi desgrifiad o'i deimladau y boregwaith y cychwynodd wrth ddeffro a galw ar ei briod i'w hwylio i'w daith? A ddarfu iddynt ei lethu i ddigalondid? Naddo. "Efe a ymwrolodd fel un yn gweled yr anweledig." "Mary," meddai—

"Mary" (she woke) "prepare my travelling gear,
My pocket-compass, and my raiment strong;
My flint and steel, to yield the needful fire;
Food for a week, if that be not too long;
My hatchet, too—its service I require
To clip my fuel, desert wilds among.
With these I go to found, in forests drear,
A state where none shall persecution fear."[1]

A dacw fe yn cychwyn, yn nhrymder y gauaf, trwy rew ac eira, mewn anialwch gwag erchyll, heb wybod i ba le yr oedd yn myned. Erbyn hyn, yr oedd o werth mawr iddo ei fod wedi dyfod i gydnabyddiaeth, ac ennill ymddiried rhai o benaethiaid y llwythau Indiaidd, a dysgu eu hiaith. Cafodd dderbyniad a nodded gan Ousamequin, neu fel y gelwid ef yn gyffredin Massasoit, penaeth Indiaidd, â'r hwn yr oedd mewn telerau cyfeillgar pan yn Plymouth. Caniatâwyd iddo hefyd gan y *sachem* hwn ymsefydlu ar lan dwyreiniol yr afon Seekong, ac ymunodd amryw o'i gyfeillion o Salem âg ef. Ond nid oedd iddo yma ychwaith ddinas barhaus, canys derbyniodd lythyr caredig oddiwrth ei hen gyfaill, Mr. Winslow, llywydd Plymouth, yn ei hysbysu ei fod ar eu terfynau hwy, ac y byddai yn fwy diogel iddo symud i'r ochr arall i'r afon i *Rhode Island,* ac y gallent felly fod yn gymydogion heddychol. Cydsyniodd Williams â hyn, ac aeth ef a phump eraill mewn bâd i lawr yr afon Seekong, yr hon sydd yn gwahanu rhwng Massachusetts a *Rhode Island,* a glaniasant ar ochr orllewinol yr orynys, yn agos i geg yr afon Mooshausick; ac yn y fan yma, ar lechwedd bryn yn agos i'r afon hon, y lledodd y sefydliad cyntaf yn Ynys Rhode eu pebyll. Yma y mae tref Providence (Rhagluniaeth) yn sefyll, yr hon a sylfaenwyd gan Roger Williams, ac a alwyd ar yr enw hwn "mewn coffadwriaeth ddiolchgar am ddaioni rhagluniaeth Duw tuag ato yn ei gyfyngder."

Y ddau benaeth mwyaf galluog yn yr ynys, pan aeth Mr. Williams yno,

[1] "What-cheer; or Roger Williams in Banishment."

oedd Canonicus, a'i nai Miantonomoh, yr hwn a weithredai fel prif weinidog i'w ewythr. Ennillodd eu hymddiried, a chyfeillgarwch â'u llwythau, a phrynodd dir ganddynt rhwng y ddwy afon Mooshausick a Wanasquatucket, i sefydlu y drefedigaeth newydd; ac yn mhen tua dwy flynedd wedi iddo ddyfod i'w tiriogaeth, trosglwyddasant iddo yn "rhydd a rhad yr holl dir oedd yn gorwedd rhwng y ddwy afon grybwylledig a'r Pawtuxet, ar gyfrif ei "wasanaeth a'i garedigrwydd iddynt hwy a'u cyfeillion." Yr oedd Williams, ar ei ddyfodiad cyntaf i fysg yr Indiaid hyn, wedi bod yn foddion i attal rhyfel rhwng y ddau benaeth yma â Miantonomoh, y penaeth arall a nodwyd o'r blaen, a thrwy fawr ymdrech, wedi eu cael i heddwch a chymmod; ac am y "gwasanaeth a'r caredigrwydd hwn" y mae yntau yn cael ad-daliad. Y mae yn deilwng i ni grybwyll hefyd ddarfod i Mr. Williams ranu y tiroedd a roddwyd iddo gan y penaethiaid hyn rhwng y rhai a ymunasant âg ef i ffurfio y drefedigaeth, heb nodi allan ond rhan gyfartal iddo ei hun.

Yn awr, wele drefedigaeth newydd eto wedi ei sefydlu; ond ar ba egwyddorion, attolwg? Ar ba delerau y mae cael derbyniad i mewn iddi, a chyflawn fwynhad o'i rhagorfreintiau dinasol? Y mae rhai dynion da, wedi eu codi i awdurdod, yn ei defnyddio tuag at eraill mewn modd ag yr oeddynt hwy yn beio eraill am ymddwyn felly tuag atynt hwy; ond yr oedd credo Roger Williams yn dwyn gwell ffrwyth na hyn. Y mae yr ardystiad ag yr oedd yn anghenrheidiol i bawb a dderbynid i mewn i'r sefydliad ei lawnodi, fel y canlyn:—

"Yr ydym ni, y rhai y mae ein henwau yn ysgrifenedig isod, oddiar ddymuniad i breswylio yn nhref Providence, yn addaw ymostwng mewn ufudd-dod gweithredol a goddefol, i bob gorchymyn a chytundeb a lunier er daioni cyhoeddus y corff, *mewn modd rheolaidd*, trwy gydsyniad y mwyafrif o'r preswylwyr presennol, penau teuluoedd, wedi ymgorffori, ynghyd â chyfryw eraill a dderbyniont i'r unrhyw, *yn unig mewn pethau gwladol.*"

Dyma yr egwyddorion y dadleuai Mr. Williams drostynt, ac y gorfu iddo ffoi yn alltud o'u plegid, o'r diwedd wedi eu crynhoi mewn cytundeb, i fod yn sylfaen cymdeithasol talaeth, ac ni wyrodd Ynys Rhode un iot nac un tipyn oddiwrthynt hyd heddyw. Y Cymro hwn oedd y cyntaf erioed i sefyll dros berffaith ryddid cydwybod, ac yn yr ynys hon y cyfarfuwyd gyntaf i lunio deddfau gwladol heb fod a wnelent â chredo y deiliaid mewn pethau crefyddol.

Nid anfynych y cyfarfyddir â dau ddosbarth o ddynion yn y byd ag sydd yn dra gwahanol i'w gilydd ar y pen yma. Y mae rhai yn hòni egwyddorion ag sydd yn llawer mwy rhyddfrydig na'u calonau. "Dywedant, ond nis gwnant." Ond y mae eu holl ryddfrydigrwydd yn gynnwysedig mewn fod i bawb gydnabod mai hwy sydd yn eu lle, a thalu gwarogaeth iddynt. Y mae eraill yn meddu calonau llawer mwy rhyddfrydig na'r egwyddorion a broffesant. Y mae eu bywyd yn well na'u credo. "*The senator is but a man.*" Ac y mae hyn yn drugaredd fawr mewn llawer o amgylchiadau. Ond yr oedd egwyddorion Roger Williams yn wir ryddfrydig, a'i galon hefyd yn gwbl o dan eu llywodraeth. Buasai dyn o feddwl bychan, cyfyng, a dallbleidiol, yn defnyddio y cyfleusdra cyntaf a fuasai yn ymgynnyg iddo, wedi dianc o grafangau ei elynion, i *adgofio* iddynt eu camweddau, os nad i ddial arnynt; ond yr oedd ef yn maddeu iddynt, ac yn barod i "wneyd da i'r rhai a'i casaent." Yn y flwyddyn

1634, gwnaed cynghrair heddwch rhwng y drefedigaeth yn *Massachusetts Bay* a'r Pequodiaid, llwyth lliosog o Indiaid rhyfelgar; ond yn fuan wedi ymsefydliad Williams yn Providence, ymosododd y Pequodiaid ar long fasnachol, a lladdasant un dyn perthynol i'r sefydliad yn Massachusetts. Yr oeddynt hefyd yn ymdrechu cael amryw lwythau eraill o'r Indiaid i gynghrair â hwynt yn erbyn y Seison. Mor fuan ag y daeth hyn i glustiau Mr. Williams, gwnaeth ef yn hysbys yn ddioed i'r Llywydd Vane, o Boston. Anfonwyd cais ato yntau yn ol gan yr awdurdodau yno, i wneuthur ymdrech i rwystro y cynghrair crybwylledig. Ymgymerodd Williams â'r gyfryngaeth yn ddiymaros, heb ymgynghori dim â chig a gwaed ynghylch yr angharedigrwydd a dderbyniasai oddiar eu dwylaw, ac yr ydym yn canfod oddiwrth y dyfyniad canlynol, pa beryglon eu maint a wynebodd yn yr amgylchiad:—

"Ar dderbyniad llythyrau oddiwrth lywydd a chynghorfa Boston, yn dymuno arnaf mor fuan ag yr oedd yn ddichonadwy, i ymdrechu hyd eithaf fy ngallu i ddyrysu bwriadau y Pequodiaid a'r Moheganiaid i ffurfio cynghrair yn erbyn y Saeson * * * cynnorthwyodd yr Arglwydd fi i roddi fy mywyd yn fy llaw, ac, heb ond prin hysbysu fy ngwraig, i fyned fy hunan mewn bâd trwy wyntoedd geirwon ac ar fôr cynhyrfus i dŷ y penaeth. Yr oedd fy ngorchwyl yn fy ngorfodi i ymgymysgu a lletya am dridiau a thair noswaith gyda chenadon gwaedlyd y Pequodiaid, y rhai y dychymygwn fod eu dwylaw a'u breichiau yn mygu gan waed fy nghydwladwyr a lofruddiwyd ac a gigyddiwyd ganddynt ar afon Connecticut, ac nis gallaswn lai bob nos nag ofni teimlo eu cyllill gwaedlyd ar fy ngwddf i fy hun. Amddiffynodd Duw fi yn rhyfedd, a chynnorthwyodd fi i ddyrysu bwriadau a neges y Pequodiaid, ac i ffurfio cynghrair rhwng y Saeson a'r Narranganseettiaid a'r Moheganiaid yn erbyn y Pequodiaid."—*tudal.* 44.

Wedi cael eu siomi yn hyn, penderfynodd y Pequodiaid ddwyn y rhyfel ymlaen eu hunain, a bu eu hymryson yn ddinystr iddynt yn y canlyniad. Ond ni chafodd Roger Williams gymaint a diolch gan ei hen gymdeithion am ei holl lafur a'i wasanaeth yn yr amgylchiad. Yr oedd iddynt dewi a son y pryd hwn, braidd yn dangos gormod o angharedigrwydd tuag at natur dda. Ond nid dyma y cyfan. Yn mhen rhyw yspaid wedi hyn, yn wyneb ofnau fod yr Indiaid yn llunio gwrthryfel yn erbyn y trefedigaethau, anfonodd llywodraeth Massachusetts genadon at y Narragansettiaid i wybod y gwirionedd ynghylch hyny; a dywedai Miantonomoh nad oedd ganddynt unrhyw fwriadau o'r fath, a'i fod ef yn barod i ddyfod i ymweled â Boston, os dewisent, ar yr ammod i Mr. Williams ddyfod gydag ef; eithr nid oedd yr awdurdodau yn barod i alw yn ol ddedfryd ei alltudiaeth mewn amgylchiad mor bwysig a hyn.

Dengys y ffeithiau hyn fod gan y Cymro gryn ddylanwad gyda 'r brodorion, a'i fod wedi ennill graddau helaeth o'u hymddiried. Nid oedd wedi cyrhaedd hyn trwy ddamwain, ond mewn canlyniad naturiol i'r teimlad o gyfiawnder ac uniondeb a lywodraethai ei holl ymddygiadau. Ystyriai ef yr Indiad yn *ddyn* yn gystal a'r Sais, ac o ganlyniad fod yr un hawliau naturiol yn perthyn i'r pagan ag i'r Cristion. Ar un adeg—

"Diangodd pedwar o Seison oddiwrth eu meistriaid o Plymouth, ac ymosodasant ar un o'r brodorion, yn agos i Providence, ond o fewn tiriogaeth Plymouth, ac wedi rhoddi archoll marwol iddo, aethant i Providence. Derbyniwyd hwynt gan Mr. Williams gyda'i letygarwch arferol, oblegid nid oedd eto yn gwybod dim am eu cymeriad na 'u troedd. Mor fuan ag y gwnaed ef yn hysbys o'r gyflafan, ar ol eu hymadawiad, anfonodd ar eu holau i'w dal, ac aeth ef ei hun, a dau eraill, i ymofyn am yr Indiad archolledig. Daethant âg ef i Providence, ond bu eu holl ymdrech i'w adferu yn aneffeithiol. Daliwyd y llofruddion, a dygwyd hwythau i Providence, ond ar gais y Llywydd Winthrop, anfonwyd hwynt i Plymouth, gan fod y weithred wedi ei

**chyflawni yn y rhaglawiaeth hòno Diangodd un o honynt, ond dygwyd y tri eraill i brawf am lofruddiaeth. Cyffesasant y trosedd, a dienyddiwyd hwynt yn mhresennoldeb Mr. Williams a'r Indiaid. Fel hyn, yr oedd amddiffyn y gyfraith, a hawliau y brodorion yn cadarnhau eu hymddiried."—*tudal.* 56.**

Yr oedd y drefedigaeth yn *Rhode Island* yn cynnyddu yn gyflym, a lliaws mawr o bob math—drwg a da—yn heidio iddi, o wahanol barthau Ewrop, yn gystal ag o'r trefedigaethau eraill. A pha mor amrywiol bynag y gallasai credoau y rhai hyny fod, yr oedd dinasyddion Providence yn llwyr benderfynol o gadw eu hardystiad yn ddihalog, a hyny i'r fath fanylrwydd, fel, nid yn unig na byddai iddynt hwy *orfodi* neb i fyned i un lle o addoliad, ond hefyd na chaffai neb arall o fewn terfynau eu rhaglawiaeth *rwystro* y rhai a fyddai dan eu hawdurdod, os byddent yn dewis. Pan y darfu i un gŵr ommedd i'w wraig fyned i wrandaw ar weinidogaeth Mr. Williams, naill ai oddiar ragfarn tuag ato ef yn bersonol neu ei athrawiaeth, neu o herwydd ei elyniaeth at grefydd o dan bob ffurf, parodd gryn gyffro yn y sefydliad, oblegid eu bod yn ystyried hyny yn ymyraeth â mater cydwybod dyn rhyngddo â Duw,—os oedd y wraig, ar ol cyflawni ei gorchwylion teuluaidd yn ffyddlawn, yn teimlo dymuniad i fyned i wrandaw Mr. Williams yn pregethu yr efengyl, fod yn iawn iddi gael hyny yn ddirwystr. Galwyd cynghor trefol ar y pwnc, a phenderfynwyd—"Fod i Joshua Verrin, am dori y cytundeb, trwy attal rhyddid cydwybod, gael ei ymddifadu o'i hawl i bleidleisio hyd oni chydnabyddai ei fai." Fel hyn, pwnc ynadon Providence oedd penderfynu, nid pa beth oedd yn iawn neu gyfeiliornus mewn crefydd, ond fod i bawb gael rhyddid i ymarfer â chrefydd yn ol ei gydwybod. Yr ydym yn canfod hefyd, pan y sefydlwyd ffurf o lywodraeth mwy rheolaidd, fod yn mysg eu penderfyniadau cyntaf, "na chyfrifid neb yn droseddwr o herwydd ei ATHRAWIAETH, oddieithr ei bod yn gwrthdaro yn uniongyrchol yn erbyn y llywodraeth a'r deddfau sefydledig." Ac yn mhen yspaid wedi hyn, cadarnhawyd—"Fod y ddeddf hòno ynghylch rhyddid cydwybod mewn pwnc o athrawiaeth i barhau."

Dyma oedd gwreiddyn yr holl anghydfod rhwng y trefedigaethau eraill a phreswylwyr Ynys Rhode, ac yr oedd hyn yn ddigon i beri na wnaent unrhyw gyweithas â hwynt, ond yr hyn na allent ei hebgor. Nis gallasai hyny lai na pheri graddau o anghyfleusdra weithiau; ond nid oedd dim a barai i'r naill mwy na'r llall wadu eu hegwyddorion. Yn wyneb fod y gair yn cael ei daenu yn eu plith, fod y brodorion yn bwriadu gwneuthur ymosodiad ar y bobl wynion, ymunodd pedair o'r trefedigaethau â'u gilydd mewn cynghrair, er mwyn bod yn fwy galluog i amddiffyn eu hunain; oblegid yr oedd eu sefyllfa yn dyfod yn fwy peryglus yn barhaus, gan fod yr Indiaid yn gallu cael arfau ac arlwy rhyfel gan fasnachwyr Isellmynaidd a Seisonig. Arwyddnodwyd erthyglau yr undeb Mai 9fed, 1643, yn Boston, gan ddirprwywyr dros Plymouth, Massachusetts Bay, Connecticut a New Haven, o dan yr enw "Trefedigaethau Unedig Lloegr Newydd." Amcanion y cynghrair ydoedd amddiffyn eu gilydd rhag ymosodiadau y brodorion, ynghyd â'r mwynhad o "ryddid yr efengyl mewn purdeb a heddwch, a helaethiad teyrnas Iesu Grist." Yn ol erthyglau y cytundeb, yr oedd pob trefedigaeth i ethol dau ddirprwywr yn flyneddol, a'r rhai hyny i gyfarfod unwaith yn y flwyddyn, neu yn fynychach, os gwelid hyny yn anghenrheidiol, yn Boston, Hartford, New Haven, a Plymouth, ar gylch, a bod iddynt awdurdod i benderfynu ynghylch heddwch neu ryfel, a chyd-

ymgynghori gyda golwg ar y pethau a fyddai yn dwyn perthynas â daioni cyffredinol y trefedigaethau. Ond yr oedd Providence, a'r trefedigaethau eraill ag oedd erbyn hyn wedi ymsefydlu yn *Rhode Island*, yn cael eu cauad allan o'r "Undeb," a'r rheswm a roddid dros hyny ydoedd, eu bod yn amddifad o freinlen. Nid oedd hyn ond esgus, oblegid para yn anfoddlawn i'w derbyn i'r cynghrair a ddarfu iddynt hwy wedi symud ymaith y rhwystr hwn. Ac er dylanwad Williams gyda 'r Indiaid, nis gallasai Providence lai na bod mewn sefyllfa led enbyd. Wrth ystyried hyn, a'u bod braidd yn drwgdybio fod awdurdodau Massachusetts yn barod i hebgor i rai o'r sefydliadau y drafferth o lywodraethu eu hunain, ac i hòni hawl ynddynt, penderfynwyd cael breinlen i sefydliadau *Rhode Island*, ac ymddiriedwyd y gorchwyl i Roger Williams. Daeth trosodd i Loegr; ond erbyn iddo dirio, yr oedd yn helynt flin yma gan ryfel cartrefol; y brenin wedi ffoi, a'r senedd wedi cymeryd meddiant o'r awdurdod. Modd bynag, nid oedd yr anghydfyddiaethau hyn yn peri ei bod yn anfanteisiol iawn i Mr. Williams gael ei neges, gan fod y senedd yn tueddu i fod ar delerau da â'r trefedigaethau Americanaidd, er mwyn cadarnhau eu nerth eu hunain. Caniatawyd breinlen i breswylwyr trefydd Providence, Portsmouth, a Newport, wedi ei ddyddio Mawrth 17eg, 1644. Dychwelodd y cenadwr, a'i neges wedi ei gyflawni, a chafodd dderbyniad fel brenin gan y rhai a'i hanfonasent.

Gorfu i Mr. Williams aros yn y wlad hon am oddeutu blwyddyn, ond ni bu na segur na diffrwyth, oblegid arferai ddywedyd "fod un gronyn o dywod anmhrisiadwy amser, yn fwy ei werth na mynydd o aur." Yn fuan wedi ei ddyfodiad i Loegr, cyhoeddodd lyfr ag oedd wedi ei gyfansoddi ganddo ar y fordaith braidd yn barod i'r wasg. Ei gynnwys oedd cymhorth i ddeall iaith brodorion Lloegr Newydd, a sylwadau ar eu harferion, eu moesau, a'u crefydd. Yn ystod ei arosiad yma, cyhoeddodd dri eraill, un o gryn faintioli, yr hwn a ddynodai,—"*The Bloudy Tenent of Persecution, for Cause of Conscience, discussed in a Conference between Truth and Peace; who, in all tender affection, present to the High Court of Parliament* (*as the result of their discourse*) *these, amongst other, passages of highest consideration.*" Yr oedd y ddau eraill yn llai, ond oll ynghylch yr un pwnc—erlidigaeth, a rhyddid cydwybod. Nid yw ein gofod yn caniatau i ni sylwi ar yr hyn a achlysurodd eu hysgrifenu, na bwrw golwg fanwl ar eu cynnwysiad, ond yr ydym yn cael ein tueddu i ddyfynu y braslun a ganlyn o'r "*Bloudy Tenent,*" o eiddo yr awdwr ei hun, gan ei fod yn rhoddi mantais i'r darllenydd gael golwg ar gynnwys y llyfr, ac i ffurfio rhyw ddrychfeddwl am syniadau ei gyfansoddydd.

"Nid yw gwaed y fath gannoedd o filoedd o Brotestaniaid a Phabyddion a dywalltwyd yn yr oes hon, ac mewn oesoedd blaenorol, yn herwydd eu crefydd, yn ofynedig nac yn gymeradwy gan Iesu Grist, Tywysog tangnefedd.—Cynnygir ysgrythyrau a rhesymau drwy y gwaith, yn erbyn yr athrawiaeth o erlidigaeth yn achos cydwybod.—Rhoddir atebion cyflawn i ysgrythyrau a rhesymau a ddygid gan Mr. Calfin, Beza, Mr. Cotton, a gweinidogion eglwysi Lloegr Newydd, ac eraill, i brofi yr athrawiaeth o erlid am fater cydwybod,—Profir yr athrawiaeth o erlid yn achos cydwybod, yn euog o holl waed yr eneidiau sydd o dan yr allor yn llefain am ddial.—Profir fod llywodraethau gwladol, ynghyd â'u swyddogion cyfiawnder yn eu gwahanol swyddau a'u gweithrediadau, yn hollol wladol, ac o ganlyniad, nad ydynt yn farnwyr, llywodraethwyr, nac amddiffynwyr cyflwr ac addoliad ysbrydol a Christionogol.—Ewyllys a gorchymyn Duw ydyw, gan ddyfod ei Fab, yr Arglwydd Iesu, fod i'r credoau a'r addoliadau mwyaf Paganaidd, Iuddewaidd, Twrcaidd, neu wrth-Gristionogol, gael eu caniatâu i bawb yn mhob cenedl a gwlad; a'u bod i gael eu gwrthwynebu â'r cleddyf hwnw, yr hwn yn

unig sydd yn alluog i orchfygu mewn pethau yn perthyn i'r enaid, sef cleddyf Ysbryd Duw—gair Duw.—Profir mai ffugyrol a seremoniol, ac heb fod yn gynllun i unrhyw deyrnas neu lywodraeth wladol yn y byd i'w dilyn, oedd llywodraeth tir Israel, a'r bobl, mewn heddwch a rhyfel.—Nid yw Duw yn gofyn i unffurfiaeth mewn crefydd gael ei arosod na'i orfodi gan unrhyw lywodraeth wladol: fod y cyfryw unffurfiaeth gorfodol, yn gynt neu yn ddiweddarach, yn achlysur penaf rhyfel cartrefol, yn drais ar gydwybod, yn erlidigaeth ar Grist Iesu yn ei weision, a rhagrith a dinystr miloedd o eneidiau.—Wrth ddal unffurfiaeth orfodol mewn crefydd mewn llywodraeth wladol, rhaid i ni o angenrheidrwydd wadu ein dymuniadau a'u gobeithion am ddychweliad yr Iuddewon at Grist.—Y mae gorfodi unffurfiaeth mewn crefydd drwy genedl neu lywodraeth wladol, yn cymysgu y crefyddol â'r gwladol, yn gwadu egwyddorion Cristionogaeth a gwareidddra, a bod Iesu Grist wedi ymddangos yn y cnawd.—Rhyddid i gredoau ac addoliadau eraill, heblaw a broffesir gan y llywodraeth, yn unig, o dan fendith Duw, a all gynnyrchu heddwch cadarn a pharhaol, gan gymeryd gofal yn ol doethineb y llywodraeth wladol, ar fod unffurfiaeth oddiwrth bawb mewn ufudd-dod gwladol.—Gall gwir wareidd-dra a Christionogaeth flodeuo mewn gwlad neu deyrnas, er rhoddi caniatâd i gredoau amrywiol a gwrthwynebol, pa un bynag ai yr eiddo yr Iuddew neu y Cenedlddyn."—*tudal.* 66, 67.

Dywed Esgob Heber, yn ei gofiant am Jeremy Taylor, mai y gŵr enwog hwnw oedd y cyntaf i ddadleu dros ryddid crefyddol; ond yr oedd Williams wedi cyhoeddi y "*Bloudy Tenent*" er's tair blynedd o flaen y "*Liberty of Prophecying;*" ac nid oedd y cyntaf ddim yn myned ymhellach na *goddefiad*, a hyny *yn unig i'r Cristionogion a gytunai â chredo yr apostolion*, ond dadleuai yr olaf, nid dros *oddefiad* yn unig, ond *fod i bob dyn gael perffaith ryddid cydwybod.*

Ond i ddychwelyd. Gyda bod Mr. Williams wedi dyfod yn ol o Loegr, a dechreu trefnu pethau tuag at sefydlu ffurf o lywodraeth reolaidd, yn ol y freinlen, galwyd am ei wasanaeth i heddychu rhwng trefedigaethau yr ochr arall i'r afon â'r Indiaid. Yn yr adeg yr oedd yn absennol, torodd anghydfod allan rhwng y Narragansettiaid a'r Moheganiaid. Lladdwyd Miantonomoh, penaeth y blaenaf, a phenderfynasant ddial ar yr olaf, a dwyn ymlaen ryfel yn erbyn y Seison, am eu bod yn cymeradwyo yr hyn a wnaethai y Moheganiaid. Ond ar gyfrif eu parch i Roger Williams, yr oeddynt mewn heddwch â Providence, a sefydliadau *Rhode Island*. Hysbysodd Mr. Williams y Seison o'u perygl; a phenderfynwyd gan gyfarfod neillduol o ddirprwywyr yn Boston, i anfon dau genad i wneuthur cais am heddwch. Erbyn hyn, yr oedd yr Indiaid wedi anfon am Williams, i gael ei gynghor ef yn yr amgylchiad; a thrwy ei gyfryngaeth ef, gwnaed heddwch, nid yn unig rhwng y Seison a'r Indiaid, ond rhwng y brodorion a'u gilydd. Dyma y cyfleusdra unwaith eto yn cael ei ddefnyddio i "wneuthur daioni i'r rhai oedd yn gwneyd niwed iddo, ac yn ei erlid."

Wedi cael breinlen, yr oedd yn gofyn cryn bwyll a doethineb i ddwyn sefydliadau Ynys Rhode i gydweled â'u gilydd. Pa fodd bynag, llwyddwyd i gael y gwahanol drefydd i gytuno, mewn cymanfa gyffredinol yn Portsmouth, Mai 19eg, 1647, ar ffurflywodraeth pur debyg i'r eiddo yr Unol Daleithiau yn bresennol. Yn ol y ffurf ddewisedig, yr oedd llywydd a phedwar o gynnorthwywyr iddo, i gael eu hethol yn flyneddol, y rhai oedd yn meddu awdurdod i weinyddu y deddfau. Yr oedd y gymanfa ddeddf-wneuthurol i fod yn gynnwysedig o chwech o ddirprwywyr o bob tref, y rhai oeddynt yn meddu awdurdod i wneuthur y cyfreithiau, ac i arolygu a threfnu gorchwylion y drefedigaeth. Yr oedd y deddfau y cytunwyd arnynt gan y gymanfa hon, wedi eu cymeryd allan, gan mwyaf, o ddeddfau Prydain.

Nis gallesid dysgwyl i bawb fod yn foddlawn i'r un trefniadau, yn enwedig mewn sefydliad newydd; ac fel y mae yn dygwydd yn gyffredin ymhlith plant dynion, "fod pawb mor hynod am ei lwybr ei hunan," a rhai mor anhydyn na fynant roddi i fyny pan y byddo y mwyafrif yn eu herbyn, rhag tori ar yr hen arfer, cododd un William Coddington yn erbyn y llywodraeth, a chafodd ychydig o rai o'r trefydd i gytuno âg ef. Gwnaeth gais ar fod i'r sefydliadau yn *Rhode Island* gael eu derbyn i gynghrair "Undeb Trefedigaethau *New England*," ond bu yn aflwyddiannus. Pa beth oedd ei amcan yn hyn, nid ydym mewn mantais i wybod. Y mae y llythyr canlynol o eiddo Mr. Williams at dref Providence, yn yr amgylchiad, yn ganmoliaeth uchel i'w ben a'i galon:—

"Deilwng gyfeillion, nid yw yn beth newydd ein bod ni ein hunain a phawb dynion yn dueddol i wahaniaethu. Yn mhob oes a aeth heibio, yn mhob parth o'r byd, yn y parthau hyn ac yn Lloegr, ein hanwyl wlad enedigol, fod y naill ddosbarth neu blaid y mwyaf uniawn yn ei olwg ei hun, ei achos yn uniawn, ei ymddygiad yn uniawn, ei ddadleuon yn uniawn, a'i atebion yn uniawn, sydd wirionedd yr un mor alaethus sefydlog, a'r cyntaf. Ac y mae profiad yn dyweyd wrthym, pan y cymero Duw yr heddwch dangnefedd oddiar y ddaear, fod un wreichionen, mewn gair neu ymddygiad, yn ddigon nerthol i gynneu y fath dân, ag a losgai drefydd, dinasoedd, byddinoedd, llyngesau, cenedloedd a theyrnasoedd. A chan ei bod, anwyl gyfeillion, yn anrhydedd i ddynion ymattal oddiwrth ymrafaelion, a chan fod bywyd o gariad yn felus, ac undeb mor gryf ag ydyw o ddymunol; a chan eich bod wedi gweled yn dda yn ddiweddar fy ngalw i at ryw wasanaeth cyhoeddus, a'm henaid wedi bod yn hir yn pryderu pa fodd y gallwn ddwyn dwfr i ddiffodd y tân, ac nid olew neu danwydd arno: yr wyf yn awr yn ostyngedig a hyf yn dymuno arnoch, yn enw yr holl gysuron hyny o eiddo nefoedd a daear, y rhai a ddwg ysbryd tawel a heddychol arnoch, ac yn enw yr holl ddychrynfâau a'r rhybuddion ofnadwy yn ein plith ni, trwy farwolaethau ac afiechyd; neu mewn lleoedd eraill, yn ngalanasdra cynddeiriog y cleddyf, marwolaeth, a newyn; yr wyf yn dymuno arnoch, meddaf, yn ostyngedig a difrifol, fod yn foddlawn i fod yn heddychol, yn foddlawn i ddyfod i gymmod, yn foddlawn i fod yn gyfeillgar ac i wrandaw ar y cynnygiad (rhesymol fel yr wyf yn hyderu) canlynol:—Gan fod profi materion trwy ddadleuon ac ysgrifeniadau, weithiau yn ddiderfyn; gan fod profi dadleuon drwy arfau a chleddyfau yn greulawn a gresynol; gan fod blino llywodraeth ac arglwyddi Lloegr yn dra afresymol a threulfawr; gan nad yw blino ein cymydogion o drefedigaethau eraill yn ymddangos yn ddiogel ac anrhydeddus. Yr wyf yn tybied, anwyl gyfeillion, fod y drefedigaeth yn awr yn edrych gydag wyneb rhwygiedig o ddwy blaid, a bod y nifer fwyaf o Portsmouth, gyda chyfeillion caredig eraill sydd yn cytuno â hwy, yn un blaid sydd yn ymddangos yn cael ei gofidio, a'r tair tref eraill, neu y nifer fwyaf, yn y blaid arall. Bydded i bob plaid ethol a phenodi tri; Portsmouth, a'r cyfeillion sydd yn cytuno â hwy, dri, a'r blaid arall dri, un o bob tref; bydded i awdurdod gael ei roddi iddynt i wneuthur ymchwiliad i bob gwahaniaeth cyhoeddus, sarhad, a'r hyn sydd yn lluddias cyfiawnder, heddwch, a diogelwch cyffredinol; bydded i ddedfryd yr oll, neu y nifer fwyaf o honynt fod yn derfyn ar yr ymryson, a gosod y cyfan mewn trefn, a bydded iddynt osod cerydd ar y neb a wrthwynebo eu penderfyniad."—*tudal.* 73, 74.

Dyma yr egwyddor o gyflafareddiad i benderfynu anghydfod yn cael ei dwyn i sylw, a'i hargymhell, gan Roger Williams, er's dau can' mlynedd yn ol. Ond pa mor resymol bynag oedd y cynghor hwn, nid allwyd gweithredu yn ei ol. Mynai Coddington, y prif gynhyrfydd, ei ffordd. Daeth trosodd i Loegr, a chafodd freinlen newydd, a'i benodi ynddi i fod yn llywydd am ei oes ar Ynysoedd Rhode a Canonicut. Dychwelodd yn 1651, gan ddwyn ei freinlen gydag ef, yr hyn a barodd gryn gyffro yn y sefydliadau; ond nid hir y cafodd fwynhau y dyrchafiad ag yr oedd wedi sychedu gymaint am dano.

Fel yr ydym wedi sylwi yn barod, yr oedd y trefedigaethau cylchynol, yn enwedig Massachusetts, yn edrych ar y llywodraeth hereticaidd hon yn

dra chilwgus, ac ni bu yn ol o ddangos hyny, pan y cafodd gyfleusdra. Penodwyd gan yr eglwys yn Newport, i'r Parch. John Clarke, a dau eraill gydag ef, fyned i ymweled â hen ŵr ag oedd yn aelod o'r eglwys hòno, ond yn preswylio y pryd hwnw ychydig o filltiroedd o Boston, er mwyn cyfeillach grefyddol, oddiar ei ddymuniad ef ei hun. Aeth y cyfeillion hyn yno yn dawel a heddychol; a thranoeth—y Sabboth, tybiwyd yn briodol ei dreulio i addoli gyda'u gilydd yn nhŷ yr hen frawd. Ond pan oedd Mr. Clarke yn pregethu, daeth dau swyddog i mewn â gwŷs, wedi ei harwyddo gan un o ynadon Massachusetts, i'w cymeryd o flaen yr awdurdodau. Cyhuddwyd hwynt am eu hegwyddorion cyfeiliornus, a dywedai y llywydd mewn tymher ddrwg, fod Mr. Clarke yn "haeddu marwolaeth, ac na oddefai ef i'r fath sothach gael ei ddwyn o fewn y rhaglawiaeth hòno." Dirwywyd hwynt yn drwm, ac oddieithr iddynt dalu yr oedd iddynt gael eu fflangellu. Gommeddasant dalu, ac felly taflwyd hwynt i garchar; ond trwy gyfryngaeth cyfeillion, rhyddhawyd Mr. Clarke ac un arall; cadwyd y llall yn hwy; a chyn ei ollwng, fflangellwyd ef yn greulawn yn ol y ddedfryd, gan na fynai dalu.

Yn wyneb y pethau hyn—anghydfyddiaethau mewnol y drefedigaeth—eu bod i fesur yn agored i dräarglwyddiaeth y trefedigaethau cylchynol, ac nad oeddynt yn ddiberygl ychwaith oddiwrth yr Indiaid; er mwyn cael y gwahanol drefydd i fwy o undeb, penderfynwyd gan agos holl drigolion Newport, a llawer o breswylwyr Portsmouth—y ddwy dref ag yr oedd gan William Coddington fwyaf o lywyddiaeth arnynt—fod i John Clarke fyned i Loegr i ddymuno ar fod i lywyddiaeth Coddington gael ei dyddymu, ac i'r freinlen a ganiatâwyd i Roger Williams gael ei chadarnhau. Ac er fod Providence a Warwick yn parhau i ddwyn ymlaen eu llywodraeth yn ol y freinlen gyntefig, er hyny dymunasant yn daer ar Mr. Williams fyned gyda Mr. Clarke, ac i gydweithredu âg ef i ddwyn yr amcan i ben; gwrthwynebai yntau yn benderfynol, ar y cyntaf, gydsynio â'r cais hwn, gan nas gallasai feddwl am adael ei deulu lliosog, ac nad oedd yn alluog i ddwyn y draul; ond gan fod y genadwriaeth mor bwysig, a hwythau mor daer, ufuddhaodd i'w cais. Er fod rhyw ymdrech wedi ei wneyd gan y trefydd uchod tuag at ddwyn ei draul, nid oedd yn ddigon o lawer; ond gan mor fawr oedd ei awydd ef am lwyddiant y drefedigaeth, ac mor gryf oedd ei benderfyniad i gyrhaedd yr amcan a gymerai mewn llaw, boddlonodd i "werthu ei dŷ masnachu yn Narragansett, ag oedd yn troi iddo gan' punt yn y flwyddyn o ennill," er mwyn cynnal ei hun a'i deulu tra fyddai yn absennol. Daethant trosodd, ac wedi peth gwrthwynebiad, trwy gynnorthwy a chydweithrediad egniol Syr Henry Vane, cyrhaeddasant eu hamcan. Anfonodd preswylwyr Providence lythyr at Mr. Williams i Loegr, yn dymuno ar fod iddo ef ymgymeryd â'r llywyddiaeth, ac ymofyn am benodiad i hyny; ond nid yw yn ymddangos ddarfod iddo wneuthur yr amnaid lleiaf am, nac amlygu un duedd at hyny.

Yn fuan wedi ei ddyfod i'r wlad hon, cyhoeddodd lyfr a alwai "*Experiment of Spiritual Life and Health, and their Preservatives.*" Tybiwn y bydd y dyfyniad canlynol o lythyr sydd yn ei ragflaenu, wedi ei gyfeirio at ei briod, yn ddyddorol gan y darllenydd, fel amlygiad o'i deimlad yn ei gysylltiad teuluaidd :—

"Fy anwylaf gariad a chydymaith yn nyffryn dagrau.—Fel yr oedd dy afiechyd sydyn a pheryglus diweddar, a'th waredigaeth fuan oddiwrth byrth marwolaeth, ac o

ewinedd angeu, trwy ddaioni yr Arglwydd, yn rhyfedd yn ngolwg pawb; felly yr wyf yn dymuno yn ddiragrith ar iddynt fod yn wastadol yn ein meddyliau ninnau, fel rhybudd o'r nef i ymbarotoi erbyn galwad sydyn oddiyma—i fyw y gweddill o'n hoes fer ac ansicr yn fwy fel dyeithriaid, gan hiraethu a dyheu am gartref a gwlad arall—i fwrw ymaith ein hofnau a'n gofalon mawrion, a'n dymuniadau a'n llawenydd am ganwyll ofer y bywyd ofer hwn, a fydd yn fuan wedi diffodd, ac i ymddiried yn y Duw byw. Yr wyf yn anfon i ti (er mai gauaf ydyw) lonaid llaw o flodau, wedi eu gwneuthur i fyny yn flodeu-glwm bychan, i ti, dy anwyl hunan a'n hanwyl blant i edrych arno ac i'w arogli, pan y byddaf fi, fel gwellt y maes, wedi myned ymaith a gwywo."—*Tudal.* 80.

Cyhoeddodd ddau lyfr eraill o gryn faintioli; un fel amddiffyniad i'r llyfr a grybwyllwyd o'r blaen, "*The Bloudy Tenent;*" amcan y llall oedd gwrthwynebu sefydliad cyfreithiol o grefydd, a chynnaliaeth orfodol ei gweinidogion trwy ddegymau, a threthi eraill.

Cafodd Mr. Williams yr hyfrydwch yn y daith hon o ymweled âg amryw o'i hen gyfeillion, a mantais hefyd i ddyfod i gydnabyddiaeth â rhai o'r dynion blaenaf yn y deyrnas, megys Cromwell, Milton, ac eraill oedd o gyffelyb feddwl ag ef. O herwydd rhyw amgylchiadau oedd yn dwyn perthynas â'r drefedigaeth, bu yn y wlad hon am agos i dair blynedd; a chydag ysgrifenu a chyhoeddi y llyfrau a nodwyd, gan ei fod yn ysgolâig gwych, bu am ryw yspaid, fel y crybwyllir yn un o'i lythyrau, yn "addysgu dau fab i seneddwr." Dichon ei fod yn ymgymeryd â hyn er ei gynnaliaeth, gan fod ei arosiad yma mor faith.

Ond er fod llawer o gymhelliadau wedi eu gosod o'i flaen i aros yn Lloegr, nid oedd dim yn ddigonol i'w attal o'r tir oedd yn ddymunol yn ei olwg. Dychwelodd yn gynnar yn haf y flwyddyn 1654, ac wedi cryn ymdrech ac amynedd, bu yn llwyddiannus i gael gan y gwahanol drefydd benodi dirprwywyr, y rhai a gyfarfuant, a chydsyniwyd ar erthyglau yr undeb, yn ol y freinlen, Awst 31ain, 1654. Yr oedd gorchymyn wedi myned oddiyma i *Rhode Island* er's cryn yspaid o flaen Williams, i ddyddymu llywyddiaeth Coddington; ond oddiar deimlad drwgdybus y gwahanol drefi tuag at eu gilydd, ni chytunwyd ar unrhyw delerau o undeb hyd oni ddaeth ef adref. Yn mhen ychydig ddyddiau ar ol y cyfarfod crybwylledig, cynnaliwyd etholiad cyffredinol, pryd yr etholwyd Roger Williams i fod yn llywydd. Penodwyd fod iddo ef hefyd, a gŵr arall, ysgrifenu llythyrau o ddiolchgarwch at ei uchelder, yr Arglwydd Amddiffynydd, Syr Henry Vane, ac eraill yn Lloegr, a bod iddo ef eu harwyddo yn rhinwedd ei swydd.

Gyda ei fod wedi ymgymeryd â'r llywyddiaeth, daeth anghenrheidrwydd am iddo gyfryngu unwaith yn rhagor rhwng y trefedigaethau eraill a'r Indiaid, a bu yn llwyddiannus y tro hwn hefyd i ragflaenu rhyfel, ag yr oedd dirprwywyr y trefedigaethau unedig wedi penderfynu arni, mewn ffordd o hunanamddiffyniad yn benaf, dybygid. Dengys y dyfynion canlynol o lythyr a anfonodd Mr. Williams at lywodraeth Massachusetts, yr egwyddorion oedd yn llywodraethu ei feddwl ef, a'r rhyddid y mae yn ei ddefnyddio wrth eu hargymhell i'w sylw hwythau; ac os na wel y darllenydd fwy na chyffredin o synwyr y dyn, a chrefydd y cristion, nag a geir o'r naill na 'r llall mewn llythyrau o'r natur yma yn fynych, yr ydym yn dymuno hysbysu iddo nad arnom ni y mae y bai.

"DRA ANRHYDEDDUS FEISTRIAID.—Yr wyf yn wirioneddol yn dymuno i chwi heddwch, ac yn deisyf arnoch roddi derbyniad pwyllog i air, fel yr wyf fi yn tybied sydd heb fod yn afresymol.

Yr ydym ni yn y parthau yma wedi clywed eich bod yn bwriadu myned i ryfel â'r brodorion hyn, yn mysg y rhai yr ydym ni yn preswylio. Yr wyf yn ystyried fod rhyfel yn un o'r tri pheth tra thost hyny â'r rhai y mae Duw yn gweled yn dda gystuddio meibion dynion. Yr wyf yn ystyried hefyd fy mod wedi gwrthod yn ddiweddar lawer o gynnygion yn fy hen wlad, oddiar ddymuniad diragrith i geisio daioni a heddwch y wlad hon.

* * * * * *

Ar fy ymadawiad diweddaf i Loegr, dymunwyd yn daer arnaf gan benaethiaid y Narragansettiaid, ac yn enwedig gan Ninigret, i osod eu deisyfiad o flaen uchel benaethiaid Lloegr, na byddai iddynt gael eu gorfodi i wadu eu crefydd, ac na ymosodid arnynt trwy ryfel am beidio newid eu crefydd; oblegid dywedent eu bod yn clywed bygythion yn feunyddiol gan Indiaid oedd yn dyfod o amgylch Massachusetts, yn eu hysbysu, os na byddai iddynt weddïo, y byddai iddynt gael eu dinystrio trwy ryfel. Gwnaethum y deisyfiad hwn o'r eiddynt yn hysbys, mewn ymddyddanion personol i amryw o benaethiaid ein cenedl, yn enwedig i'w uchelder, yr hwn yn yr amrywiol ymddyddanion a gefais âg ef, nid amlygodd yr anfoddlonrwydd lleiaf, fel yr hysbyswyd yma, ond bob amser dangosodd ysbryd cariad a thynerwch, ac yn fynych byddai yn gweled yn dda osod o'm blaen amryw ofynion, ac yn cael ei foddloni yn fy atebion ynghylch amgylchiadau yr Indiaid yn y wlad hon, ac ar ol rhoddi pob gwrandawiad i chwi a ninnau, gwelodd ei uchelder a'i gynghor yn dda ganiatâu, yn mysg arwyddion eraill o'i ewyllys da, ryw bethau penodol gyda golwg ar yr Indiaid, preswylwyr brodorol y rhaglawiaeth yma.

Yr wyf yn ostyngedig yn cyflwyno i'ch sylw pwyllog ac anmhleidgar, yn gyntaf, yr ymadroddion pwysig hyn, y rhai y mae yr Arglwydd yn gweled bod yn dda eu gorchymyn ar bawb sydd yn proffesu ei enw; *Rhuf.* xii. 18.

Ni bum i erioed yn erbyn i bobl neu genedloedd wneuthur defnydd cyfiawn o'r cleddyf gwladol, ond eto, tra y mae pob dyn o gydwybod neu synwyr yn myned yr un ffordd a'r gwynt, i hôni fod eu rhyfeloedd mewn hunan-amddiffyniad (fel y gwnaeth y brenin, a'r Ysgotiaid, a'r Seison, a'r Gwyddelod hefyd yn y rhyfeloedd diweddar), yr wyf yn ostyngedig yn deisyf eich ystyriaeth, pa un a ydyw, nid yn unig yn ddichonadwy, ond yn bur hawdd, byw a marw mewn heddwch â holl frodorion y wlad hon.

Oblegid, Yn ail, Ai nid yw holl Seison y bröydd hyn yn gyffredinol, yn bobl wedi cael eu herlid o'u gwlad eu hunain? ac, ai ni ddarfu i Dduw yr heddwch a Thad y trugareddau wneuthur y brodorion hyn yn fwy cyfeillgar i ni yn y wlad yma, na'n cydwladwyr yn ngwlad ein genedigaeth? Ai ni ddarfu iddynt ymuno mewn cynghrair cariad, ac hyd y dydd hwn ddwyn ymlaen fasnach heddychol a pharhaus â ni? Ai nid yw ein teuluoedd yn tyfu i fyny mewn heddwch yn eu mysg? Yn wyneb hyn yr wyf yn gofyn yn ostyngedig, Pa fodd y cydsaif â diffuantrwydd Cristionogol, fod i ni gymeryd i fyny ryw achlysuron ymddangosiadol i'w dystrywio, er na byddid efallai ond yn amcanu at y pen, eto y mae pob profiad yn ein dysgu y bydd i'r dinystr syrthio ar y corff a'r diniwed.

Yn drydydd, Yr wyf yn deisyf ar fod i chwi gofio pa mor bell y mae enw Duw yn dwyn perthynas â'r pethau hyn, oblegid nis gellir ei guddio, pa fodd y mae Lloegr oll a chenedloedd eraill yn ymffrostio yn nychweliad gogoneddus Indiaid New England. Chwi a wyddoch fod llawer o lyfrau wedi eu taenu trwy y genedl ar y pwnc (mewn rhai o honynt y mae enwau prif benaethiaid y Narragansettiaid yn cael eu gwaradwyddo am iddynt ommedd gweddïo a dychwelyd)—ei fod wedi ei orchymyn i fynegu o holl bulpudau Lloegr y gwaith gogoneddus hwn, (nid wyf yn siarad mewn gwawdiaith, ond yn unig adrodd yr hyn a grabwyllir yn yr holl lyfrau argraffedig), a hyny gan orchymyn ac awdurdod oruchaf y senedd, a darfod i olygwyr eglwysig fyned o dŷ i dŷ i gasglu at yr achos hwn.

Anrhydeddus feistriaid, pa un a fum ac a ydwyf fi yn gyfaill i ddychweliad y brodorion i wareidd-dra a Christionogaeth, a pha un a fum, ac a ydwyf yn dymuno bod yn foddion i hyny, yn ol y goleu sydd ynof, nid wyf am eich poeni; yn unig yr wyf yn deisyf arnoch ystyried pa fodd y gellir amddiffyn enw y Duw sanctaidd ac eiddigus, yn wyneb cydgyfarfyddiad y ddau beth hyn, sef, dychweliad gogoneddus yr Indiaid yn New England, a'r rhyfeloedd dianghenrhaid, a dinystr creulawn yr Indiaid yn New England.

Yn bedwerydd, Yr wyf yn dymuno arnoch beidio anghofio, er ein bod ni yn fwy tueddol i chwareu gydâ'r pla hwn o ryfel, nag â'r ddau eraill, newyn a haint, eto yr wyf yn deisyf arnoch ystyried pa mor ryfeddol o ansafadwy oedd amgylchiadau

prescennol yr holl ryfeloedd a fu yn y byd erioed, a bod y galanasdra ar chwildroadau dyfodol yn rhyfeddol yn y diwedd.

Hyd yma, gan nad oedd genyf ryddid i gymeryd llong yn eich rhaglawiaeth chwi, gorfodwyd fi i fyned at yr Isellmyn, lle y gwelodd fy llygaid y toriad allan cyntaf o'r rhyfel Indiaidd hono a ddechreuodd yr Isellmyn, ar lofruddiad rhai o'r Isellmyn gan yr Indiaid, ac ni phetrusant ei chyflawni mewn ychydig ddyddiau, yn y fath fodd, fel yr oedd yr enw heddwch, pan gynnygiodd rhyw rai gyfryngu, yn ynfydrwydd ac yn ddirmygus yn eu golwg. Ond cyn i ni godi angor, yr oedd eu deildai ar dân—Isellmyn a Seison wedi eu lladd. Gwelodd fy llygaid eu trefydd yn y fflamau, * * ac ar ol traul anferth, ac i lawer o Isellmyn, Seison, ac Indiaid gael eu lladd, yn mhen ynghylch pedair blynedd gorfodwyd yr Isellmyn, i'r dyben i ragflaenu hollol ddinystr eu planigfeydd, i wneuthur yr heddwch mwyaf annheilwng a gwaradwyddus â'r Indiaid.

Ond yn olaf, os bydd rhyw un eto yn awyddus i gynneu y tân hwn dros Dduw, &c., yr wyf yn dymuno ar y boneddwr hwnw, pwy bynag a all fod, i osod ei hun yn y pen arall i'r glorian gydag un o'r blagur prydferthaf a achleswyd erioed gan Haul Cyfiawnder,—Josiah; y diwygiwr gwresog hwnw, yr hwn a fynai fyned i ryfel yn erbyn rhybuddion, ac a syrthiodd yn yr alaethau a'r farwolaeth fwyaf anamserol, ag sydd yn awr yn sefyll yn golofn halen i holl genedlaethau dyfodol. * * *

"Pa faint mwy ardderchog o gogoneddus i enw Duw, a'r eiddoch eich hunain, a fuasai, pe na feiddiasai un pagan ddefnyddio enw Sais fel un heb ddyfod allan i ryw fesur o farbareidd-dra i wareiddiad. * * * Ac fel y dywedodd y duwiol a'r doeth, y diweddar Mr. Winthrop, ar fod i wareiddiad fod yn gam arweiniol i Gristionogaeth, yw dymuniad gostyngedig eich mwyaf diragrith yn mhob gwasanaeth cariad,

Roger Williams,
Trefedigaeth Providence, Llywydd."
*Tudal.* 108, 109.

Atebodd y llythyr uchod y dyben, a rhoddwyd y bwriad i ryfela i fyny y pryd hwnw. Ond nid oedd Williams yn cael ei anrhydeddu gan ei gyd-ddinasyddion heb fod rhywrai yn cenfigenu wrtho. Ni bu un llywodraethwr ar ddynion erioed, pa mor gyfiawn bynag, na cheid rhywun i'w gablu, na dim egwyddorion ychwaith, pa mor ryddfrydig bynag, na byddai rhywrai yn ddigon anfad i'w camddarlunio, neu yn ddigon gwallgof i'w rhedeg i eithafion. Ni bu hyn yn ngholl mewn rhywrai y pryd hwn. Taenwyd traethodyn, wedi ei gyfeirio at dref Providence, yn mysg y trigolion, yn yr hwn yr hònid "fod gweinyddu barn ar droseddwyr yn erbyn lles neillduol neu gyffredinol yn groes i reol yr efengyl, ac yn gwneuthur y cyfryw yn euog o waed." Tybiodd Mr. Williams yn briodol iddo ddangos ynfydrwydd y syniadau hyn, mewn ffordd o amddiffyniad iddo ei hun, nad oedd yr egwyddorion a broffesai ef yn arwain i'r fath ganlyniadau gwrthun. Ceir y dyfyniad canlynol yn ei lythyr at dref Providence ar y pwnc:—

"Fy mod i erioed wedi dweyd nac ysgrifenu un gair sydd yn tueddu at y fath ryddid cydwybod annherfynol sydd gamsyniad ag y darfu i mi bob amser ei wadu a'i ffieiddio. I ragflaenu y fath gamgymeriadau, ni chaf yn awr ond cynnyg y sylw canlynol:—Y mae llawer llong wedi myned i'r môr, a llawer cant o eneidiau yn yr un llong, y rhai y mae eu gwynfyd a'u gwae yn gyffredin, a'r hon sydd ddarlun cywir o werin-lywodraeth neu gydgysylltiad cymdeithas o ddynion. Y mae wedi dygwydd weithiau fod Pabyddion a Phrotestaniaid, Iuddewon a Thwrciaid, yn cael eu cludo yn yr un llestr; ar y dybiaeth yma, yr wyf yn hòni fod yr holl ryddid cydwybod y dadleuais i erioed drosto, yn troi ar y ddau begwn hyn—na byddo i neb o'r Pabyddion, Protestaniaid, Iuddewon, na'r Twrciaid, gael eu gorfodi i ddyfod i weddiau ac addoliad y llong, nac ychwaith gael eu gorfodi i adael eu gweddiau a'u haddoliad neillduol eu hunain, os byddent yn ymarfer â rhyw fath. Ychwanegaf ymhellach, na ddarfu i mi erioed wadu, er y rhyddid hwn, mai llywydd y llong hon a ddylai gyfarwyddo ei gyrfa, ïe, a gorchymyn ar fod i gyfiawnder, heddwch, a sobrwydd, gael ei gadw a'i ymarfer ymhlith y morwyr a'r teithwyr. Os byddai i rai o'r morwyr ommedd gwneuthur eu gwasanaeth,

neu y teithwyr dalu y llong-lôg; os byddai i neb nacâu rhoddi help gwaith neu arian tuag at y costau, neu yr amddiffyniad cyffredinol; os byddai i neb anufuddhau i ddeddfau a threfniadau cyffredinol y llong, mewn perthynas i'w heddwch a'u hamddiffyniad cyffredinol; os byddai i neb derfysgu, a chyfodi yn erbyn eu llywyddion a'r swyddogion; os byddai i neb bregethu neu ysgrifenu na ddylai fod llywyddion na swyddogion, oblegid fod pawb yn gydradd yn Nghrist, a chan hyny, dim meistriaid na swyddogion, dim deddfau na threfniadau, dim dysgyblaeth na chosbedigaethau: yr wyf yn dywedyd na ddarfu i mi erioed wadu na ddylai y llywydd neu y llywyddion, mewn amgylchiadau fel hyn, pa beth bynag a honir, farnu, gwrthwynebu, a chosbi y cyfryw droseddwyr yn ol eu haeddiant."—*Tudal.* 111.

Ysgrifenodd Cromwell hefyd lythyr at y drefedigaeth, yr hyn, ynghyd â phenderfyniad y gymanfa gyffredinol i anfon drosodd i Loegr flaenoriaid unrhyw gynghrair a aflonyddai ar heddwch y trigolion i dderbyn eu prawf, a fu yn foddion i ddwyn pob peth i drefn yn fuan. Llwyddodd Mr. Williams hefyd i gael gan lywodraeth Massachusetts ganiatâu i'r drefedigaeth yn Rhode Island brynu arfau ac arlwy rhyfel yn Boston, yr hyn oedd yn cael ei wahardd o'r blaen, a thrwy hyny yn eu gosod mewn sefyllfa ddiamddiffyn yn wyneb perygl oddiwrth yr Indiaid.

Yn y flwyddyn 1656, daeth amryw o Grynwyr, neu Gyfeillion, fel eu gelwir yn y dyddiau hyn, i Boston, ac ymroisant i daenu eu hegwyddorion gyda rhyw benboethni anarferol; ond yr oedd y llywodraeth yn llwyr benderfynol i ddiwreiddio yr hereticiaid hyn, yn gystal a rhyw rai eraill. Dirwywyd, carcharwyd, fflangellwyd, ac alltudiwyd llawer iawn o honynt. Ac i goroni y cwbl, gwnaed deddf yn y flwyddyn 1658, fod i'r Crynwyr a ddychwelai o'u halltudiaeth yn ol i'r rhaglawiaeth hòno, gael eu cosbi â marwolaeth, a rhoddwyd hi mewn grym ar bedwar o droseddwyr. Gwnaed deddfau caethion yn eu herbyn yn y trefedigaethau eraill, a chytunwyd i anfon cyfarchiad at Ynys Rhode i geisio ganddi hithau ymuno yn yr erlidigaeth, trwy eu hanfon ymaith, a gommedd iddynt ddyfod yno rhagllaw; ond nid oedd eisieu nemawr o amser i'r gymanfa i ddyfod i benderfyniad ar y pwnc hwn, ac anfonwyd yr ateb a ganlyn.

"Gan mai rhyddid i wahanol gredoau i gael eu noddi rhag gorfodaeth oedd sylfaen penaf ein breinlen, gyda golwg ar ein cais ostyngedig ni am dano, a gwir fwriad senedd anrhydeddus Lloegr yn caniatau yr unrhyw i ni,—yr hwn ryddid yr ydym eto yn ei werthfawrogi fel yr hapusrwydd penaf a all dynion ei feddu yn y byd hwn; gan hyny, er amddiffyn heddwch a'n trefn wladol, ni a gymerwn ofal o hyny yn fwy difrifol ar fod i'r bobl hyn, a phawb eraill sydd yma, neu a ddelo i'n mysg, fod o dan rwymedigaeth ddiduedd, ac hyd eithaf ein gallu gael eu gorfodi i gyflawni pob dyledswydd wladol sydd yn ofynol tuag at amddiffyn hawl ei uchelder, a llywodraeth gweriniaeth anrhydeddus Lloegr yn y drefedigaeth hon, ac os bydd i'r bobl ddywededig, a elwir Crynwyr, sydd yma, neu a ddichon gyfodi yma, neu ddyfod i'n mysg, wrthod ymostwng i gyflawni yr holl ddyledswyddau a nodwyd, yna yr ydym yn penderfynu ar y cyfleusdra cyntaf ei wneuthur yn hysbys i'n cenadwr sydd yn byw yn Lloegr."—*Tudal.* 116.

Ond nid oedd atebiad fel hyn yn boddloni y dirprwywyr. Anfonasant drachefn yn lled fuan i *Rhode Island*, ond heb fod ronyn nes. Dywedai y gymanfa yr ail waith,—

"Gyda golwg ar y Crynwyr (a elwir felly), y rhai sydd yn awr yn ein plith, nid oes genym ni yr un gyfraith yn ol yr hon y gallwn gosbi neb am yn unig fynegu mewn geiriau, &c., eu meddyliau a'u syniadau ynghylch pethau a ffyrdd Duw, gyda golwg ar iachawdwriaeth a sefyllfa dragywyddol. Ac yr ydym yn canfod, ymhellach, mai yn y parthau ag y mae y bobl hyn, a enwyd, yn y drefedigaeth hon, yn cael mwyaf o ryddid i fynegu eu syniadau yn rhydd, ac yn cael eu gwrthwynebu yn unig trwy resymau mewn ymddyddan, yno y maent leiaf o bob man yn dymuno dyfod."

Yna y mae y llythyr yn hysbysu anghymeradwyaeth o ymddygiadau rhai o'r Crynwyr, ac yn addaw llunio mesurau yn y gymanfa nesaf i gyfarfod "*effeithiau* niweidiol eu hathrawiaeth."

Wel, pa beth a wneir eto? Nid oes dim i'w wneyd ond gadael i Ynys

Rhode fod yn nythle i bob aderyn aflan, ac yn lloches i bob bwystfil drwg. Na, nid felly; ysgrifenodd y dirprwywyr y drydedd waith, gan hysbysu oni byddai iddynt gytuno i fwrw ymaith y dynion drygionus a hereticaidd hyn o'u mysg, y byddai i'r holl drefedigaeth gael ei chau allan o bob cyweithas fasnachol â'r rhan arall o *New England*. Ond ni fuasai waeth iddynt gymeryd eu hateb y tro cyntaf, o ran dim gobaith y byddai i drigolion *Rhode Island* wadu eu hegwyddorion. Er hyny, rhag y gallai y trefedigaethau eraill wneuthur cais mewn rhyw fodd i gyflawni eu bygythiad, anfonodd y gymanfa at John Clarke, yr hwn oedd yn genadwr drostynt yn llys yr amddiffynydd. Wedi cydnabod ei wasanaeth ar amgylchiadau blaenorol, dywed y gymanfa,—

"* * * Y mae genym yn awr achos newydd wedi ei gynhyrfu gan hen ysbryd, gyda golwg ar y trefedigaethau sydd o'n hamgylch, y rhai sydd yn ymddangos wedi tramgwyddo wrthym oblegid rhyw fath o bobl, a elwir wrth yr enw Crynwyr, sydd yn ein mysg, ac a ennillasant amryw sydd yn bresennol o'r un ysbryd, o herwydd paham y mae y trefedigaethau o'n hamgylch yn ymddangos yn dramgwyddedig wrthym, o herwydd fod y bobl yma yn cael eu rhyddid yn ein mysg, ac yn cael dyfodfa i'n tai a'n cynnulleidfaoedd. Ac hyd yma nid ydym wedi cael un achos cyfiawn i'w beio am aflonyddu ar yr heddwch gwladol, ond yn unig y maent yn myned ymaith yn barhaus i'w mysg hwy, ac yn eu gofidio a'u poeni gyda golwg ar eu crefydd, er eu bod yn dychwelyd gydag aml archoll frwnt yn eu cyrff o'r herwydd. A'r tramgwydd y mae ein cymydogion yn ei gymeryd tuag atom ydyw, am nad ydym yn defnyddio unrhyw lwybr tuag at y bobl hyn, i'w halltudio oddiwrthym, neu wneuthur yr un modd â hwy eu hunain, y rhai ydynt mewn ofn rhag i'w crefydd gael eu llygru ganddynt. Gwnaethant yn hysbys yr anfoddlonrwydd y maent wedi ei gymeryd tuag atom mewn llythyr, wedi ei ysgrifenu gan ddirprwywyr y trefedigaethau unedig yn eu heisteddiad, fel be buasent am ein cymeryd i fyny i weithredu yn ol eu cynllun hwy, neu ynte gymeryd rhyw lwybr i ddangos eu hanfoddlonrwydd tuag atom. Yr ydym yn anfon eilun o'u llythyr atoch gyda hwn, fel y galloch weled pa fodd y maent yn amlygu eu meddyliau. Yr ydym hefyd yn anfon ein hateb presennol ninnau iddynt, i roddi i chwi yr holl oleu a allom ar y pwnc. Y mae un ddosran yn eu llythyr yn amlwg yn cynnwys bygythiad, er ei fod yn cael ei osod allan yn lled amwys—yn ol eu dull arferol hwy—meddwl pa un yr ydym yn casglu yw hyn:—gan eu bod hwy, fel yr ydym yn tybied, wedi bod mewn cryn ddychryn gyda golwg ar eu hymddarostyngiad parhaus i lywodraeth Lloegr, rhag, pe byddai iddynt hwy ymwrthod â hyny, y byddai i Loegr wahardd pob masnach â hwynt, mewn dwyn i mewn, a chymeryd allan unrhyw anghenrheidiau, yr hyn a fyddai yn llu digon galluog i ddarostwng Lloegr Newydd, gan nas gallai ymgynnal; fel hyn y maent yn ymddangos yn ddirgelaidd yn bwgwth ein tori ninnau ymaith o bob trafnidiaeth a masnach â hwynt, ac felly ein hymddifadu o bob cynnaliaeth gysurus, o herwydd fod cyrchfa y llongau, a thrwy hyny o bob anghenrheidiau, i'w plith hwy yn y cyffredin, gan wybod hefyd nad ydym ni yn alluog i anfon llongau allan ein hunain, yr hyn sydd wedi ei achosi i fesur helaeth, fel y gwyddoch chwi, oblegid eu bod hwy yn ein gorthrymu; fel mewn llawer modd arall, felly yn hyn yn un peth, fel nad ydym yn gallu cael dim oddiwrthynt i gyflenwi ein hanghenrheidiau, nad ydynt hwy yn penderfynu gwerth eu nwyfau eu hunain a'r eiddom ninnau hefyd, oblegid nid oes genym ni arian bathedig y Seison, ond yn unig yr hyn sydd yn cael eu cyfnewid ymhlith y barbariaid hyn, a'r cyfryw nwyfau a godir trwy lafur ein dwylaw ein hunain, megys yd, gwartheg, tybaco, &c., i wneuthur ein talion, yr hyn a raid iddynt ei gael yn ol y gwerth a roddont hwy eu hunain arnynt, onidê ni wnant fasnachu â ni; trwy yr hyn, er eu bod yn cael elw anferth oddiwrthym, er hyny, er mwyn diogelwch eu crefydd, gallant ymddangos fel yn anghofio eu hunain yn yr ystyr hòno, oblegid *pa beth na wna dynion er mwyn eu Duw?*

Syr, dyma ydyw ein cais difrifol yn bresennol atoch yn y mater hwn, fel y gellwch weled oddiwrth ein hateb i'r trefedigaethau unedig, ein bod yn ffoi fel i'n noddfa, yn mhob ystyr wladol, at ei uchelder a'i gynghor anrhydeddus, gan nad ydym yn ddarostyngedig i neb arall yn materion ein llywodraeth wladol, felly, dymunem ar i chwi weled yn dda fod â llygad a chlust yn agored, pe deuai ein gelynion i geisio ein disodli yn y rhagorfreintiau a ganiatâwyd i ni, ac i ddadleu ein hachos yn y fath fodd ag na byddo i ni gael ein gorfodi i ddefnyddio unrhyw allu gwladol ar gydwybodau dynion, mor bell ag na byddo trefniadau dynol, mewn pwnc o wareidd-dra, yn cael ei niweidio na'i droseddu, yr hyn y mae ein cymydogion o'n hamgylch yn ei arfer yn fynych, oddiwrth yr hyn y mae amryw o honom wedi teimlo yn helaeth, ac nis gallwn ei farnu yn llai na *pherffaith greulondeb*."—tudal. 118, 119.

Yr ydym yn hyderu y teimla ein darllenyddion ddyddordeb yn y dyfyniou uchod. Y maent yn dangos eu penderfyniad anhyblyg a difregedd i lynu wrth yr egwyddorion a ystyrient yn gyfiawn a theg, er nad oedd neb ar y ddaear yn eu proffesu y pryd hwn ond hwy yn unig. Fel hyn, terfynodd y ddadl ynghylch y Crynwyr. Yr oedd wedi dechreu tua diwedd tymmor llywyddiaeth Mr. Williams, eto yr oedd y cyfan yn cael ei ddwyn ymlaen yn ol ei gyfarwyddyd ef.

Ond er nad oedd Williams ar un cyfrif am ddefnyddio yr awdurdod wladol i erlid dilynwyr George Fox, eto nid oedd yn cymeradwyo eu hegwyddorion, nac ychwaith yn barod i'w hamddiffyn rhag y gyfraith yn wyneb "effeithiau niweidiol" eu hegwyddorion mewn ystyr wladol. Bu mewn dadl frwd â rhai o'u blaenoriaid yn gyhoeddus yn Newport a Providence. Cyhoeddodd hefyd adroddiad o honi; ond nid yw yn ymddangos fod y ddadl hon, mwy na llawer o ddadleuon cyhoeddus cyffelyb, wedi cael un effaith fwy iachusol na pheri i bob un fod yn fwy sicr yn ei feddwl ei hun.

Yn wyneb y cyfnewidiadau ag oedd wedi cymeryd lle yn y fam-wlad ar farwolaeth Cromwell a dyfodiad Siarl yr Ail i'r orsedd, a thrwy hyny nid yn unig cyfnewid y naill benaeth am un arall, ond hefyd cyfnewidiad yn y ffurflywodraeth, penderfynwyd anfon at Dr. Clarke, yr hwn oedd eto yn aros yn Lloegr, i ymofyn am freinlen newydd, yr hon a ganiatawyd, wedi ei dyddio Gorphenaf 8, 1663, yn cyflwyno y fath awdurdod i ddwylaw y drefedigaeth, na chaniatawyd ei gyffelyb erioed o'r blaen, os byth wedi hyn, i unrhyw sefydliad o fewn cylch llywyddiaeth Lloegr. Rhoddwyd hawl iddi i ddewis ei holl swyddogion, o'r uchaf i'r isaf, i wneuthur heddwch ac i gyhoeddi rhyfel; a'r cyfan o'r pethau hyn i gael eu dwyn ymlaen heb fod y brenin yn hòni iddo ei hun yr hawl hyd yn nod i adolygu ei gweithrediadau. Gall y darllenydd ganfod yr ysbryd sydd yn rhedeg drwy y cyfan oddiwrth y dyfyniad byr a ganlyn sydd yn cyfeirio at yr egwyddor fawr ag oedd yn bwysig yn eu golwg hwy—rhyddid cydwybod :—

"Yn awr, gwybyddwch ein bod ni, gan fod yn foddlawn i gefnogi anturiaeth obeithiol ein deiliaid caruaidd a theyrngarol dywededig, ac i sicrhau iddynt ryddymarferiad a mwynhad o'u holl hawliau gwladol a chrefyddol, a berthyn iddynt fel ein deiliaid caredig; ac i amddiffyn iddynt y rhyddid hwnw yn y wir ffydd Gristionogol ac addoliad Duw, am fwynhad o'r hwn yr ymofynasant gyda'r fath lafur, a chyda meddyliau heddychol ac ymostyngiad teyrngarol i'n hynafiaid breninol, ac i ninnau ; ac oblegid nas gall rhai o bobl a phreswylwyr yr unrhyw drefedigaeth, yn eu syniadau neillduol, gydffurfio â'r ymarferiad cyhoeddus o grefydd, yn ol gwasanaeth cyffredin, ffurfiau, a defodau Eglwys Loegr, neu gymeryd ac arwyddnodi y llwon a'r erthyglau a sefydlwyd iddi; ac oblegid hyn, na bydd i'r unrhyw, fel yr ydym yn gobeithio, ar gyfrif pellder y lleoedd hyny, fod yn rhwyg ar yr undeb a'r unffurfiaeth sefydledig yn y genedl hon; wedi tybied yn gymhwys, gan hyny, ac yma yn cyhoeddi, ordeinio, a mynegu, mai ein hyfrydwch a'n hewyllys freninol ydyw :—

Na byddo i neb o fewn y drefedigaeth ddywededig, ar unrhyw bryd i ddyfod, gael ei flino, ei gosbi, ei derfysgu, neu ei alw i gyfrif, am unrhyw wahaniaeth barn mewn pethau crefyddol, tra na byddo yn aflonyddu ar heddwch ein trefedigaeth ddywededig, ond fod i bawb oll, a phob un, o bryd i bryd, a phob amser rhagllaw, i feddu a mwynhau yn rhydd a chyflawn ei farn a'i gredo, a'u barnau a'u credoau eu hunain mewn pethau yn perthyn i'w crefydd, drwy yr holl randir a enwir rhagllaw, os bydd iddynt ymddwyn yn heddychol a thawel, ac heb ddefnyddio y rhyddid hwn i benrhyddid a drygioni, nac i wneuthur niwed gwladol, nac aflonyddwch allanol, i eraill."—tudal. 161.

Y mae braidd yn ein taro â syndod fod y fath ryddid yn cael ei ganiatau yn y freinlen y cyfeirir ati, yn yr adeg hòno ar y byd, ac yn enwedig wrth ystyried nad oedd mor blwyddyn wedi myned heibio er pan gafwyd cydsyniad yr un brenin i'r Weithred o Unffurfiaeth, o herwydd yr hon y bu

orfod i ddwy fil o'r dynion goreu, mwyaf dysgedig a duwiol yn yr Eglwys Sefydledig, droi allan o honi dan erlidigaeth. Rhoddwyd y Weithred o Unffurfiad mewn grym ar Ddydd Bartholomeus, Awst 24ain, 1662; a chaniatawyd breinlen Ynys Rhode, Gorphenaf 8fed, 1663. Os oedd yn ddyledswydd ar y llywodraeth wladol ofalu am grefydd ei deiliaid yn un wlad, paham na ddylasai wneuthur hyny mewn gwlad arall? neu, os oedd unffurfiaeth hollol mewn credo a defodau yn beth pwysig yn Ynys Prydain, paham nad oedd felly yn Ynys Rhode? Ond megys yr oedd yn y dechreu, felly, neu led gyffelyb, y mae yr awrhon. Pwy a all lai na chyferbynu hon â Chyfraith Cedion Clerigawl Canada, ynghyd âg ymdriniaeth Senedd Prydain â'r pwnc, yn y flwyddyn 1853, yn mhen naw ugain a deg o flyneddau wedi dyddiad breinlen Siarl? Ac ai nid yw y naill a'r llall yn dangos mor anghymhwys yw dynion digrefydd i wneuthur deddfau i lywodraethu eglwys Crist, ac nad yw barnwyr a seneddwyr y ddaear, yn y cyffredin, yn edrych ar grefydd ond fel rhyw beiriant i gadw y lliaws mewn darostyngiad i'r awdurdodau gwladol?[1] Ni fynem ddyweyd hyn am holl seneddwyr Prydain; ond y mae lleferydd y rhan fwyaf o lawer o honynt yn eu cyhuddo nad oes ganddynt un syniad uwch na hyn am grefydd, ac nad gwaeth ganddynt pa gredo neu ffurf a waddolent, os atebai yr amcan hwn; ac os byddai eu perthynasau, sydd mewn cysylltiad â'r naill, yn foddlawn i ymuno â'r llall er mwyn tamaid o fara. Y mae llawer o honynt yn siarad synwyr tra yr arosant gyda phethau y bywyd hwn; ond pan elont at grefydd, y mae yn amlwg eu bod yn myned dros eu terfynau; ac y mae yn eithaf priodol dywedyd am danynt, fel y dywedodd un ar fater lled gyffelyb, yn ngeiriau y wraig o Samaria, "Nid oes genyt ti ddim i godi dwfr, a'r pydew sydd ddwfn."

Derbyniwyd y freinlen gyda llawenydd mawr gan y trefedigion mewn cymanfa gyffredinol yn Newport. Penodwyd y swyddogion cyntaf gan y brenin, o ba rai yr oedd Williams yn un. Etholwyd ef amryw weithiau drachefn, hyd nes yr ymwrthododd yn hollol â'r gorchwyl. Yn y flwyddyn 1664, dewiswyd ef mewn cysylltiad â Dr. Clarke i adolygu y deddfau. Cafodd ei drefnu hefyd yn un o'r dirprwywyr i sefydlu ar derfynau dwyreiniol y drefedigaeth.

Nid oedd cynnydd a llwyddiant y bobl wynion yn ddymunol, mewn un modd, yn ngolwg yr Indiaid. Yr oedd Massasoit, prif benaeth y Pokanoketiaid, erbyn hyn, wedi myned i ffordd yr holl ddaear, a'i fab Philip wedi cymeryd ei le, ac yn dra awyddus i ffurfio cynghrair rhwng y gwahanol lwythau yn *New England* yn erbyn y Seison. Pan y daeth y pethau hyn yn hysbys iddynt, gwahoddwyd Philip, gan lywydd Plymouth a'r dirprwywyr, i'w cyfarfod i Taunton. Atebai yntau, yn uchelfrydig, os oedd arnynt eisieu ei weled ef am iddynt ddyfod ato. Ymwelodd Mr. Williams a gŵr arall â gwersyll y penaeth; a thrwy ei lafur a'i ymdrech ef, yn benaf, y gwnaed heddwch y tro hwn hefyd. Ond yn mhen tua phedair blynedd—yn 1675—torodd rhyfel blin allan rhyngddynt drachefn, yr hon a barhaodd fwy na blwyddyn. Lladdwyd ynghylch chwe' chant o wyr ieuainc, yn mlodau eu dyddiau, gan yr Indiaid, a llosgwyd deuddeg neu dair ar ddeg o drefi. Nid oedd sefydliadau y Rhode Island ychwaith yn ddiberygl y

[1] "The various modes of worship which prevailed in the Roman world, were all considered by the people as equally true, by the philosopher as equally false, and by the magistrate as equally useful."—GIBBON.

tro hwn. Gorfu i Roger Williams gymeryd swydd yn y fyddin, a gwneuthur cryn ymdrech i gael darpariadau amddiffynol. Dywedir ddarfod iddo unwaith, pan oedd y gelynion yn ymyl Providence, gymeryd ei ffon dan ei law a myned i'w cyfarfod yn bwyllog, heddychol, a diofn, gan hyderu y gallasai eu tawelu a lliniaru eu gelyniaeth a'u cynddeiriogrwydd, fel mewn amgylchiadau blaenorol. Pan ganfuant ef, daeth amryw o hen ryfelwyr i'w gyfarfod, ac yn yr ymddyddan wrth geisio eu darbwyllo, dangosai iddynt nerth y Seison, y "gallai Massachusetts yn y fan godi miloedd o ddynion; ac os bydd i chwi eu lladd hwynt, lleinw Brenin Lloegr eu lle mor fuan ag a syrthiant." "O'r goreu," meddent hwythau, "gadewch iddynt ddyfod, yr ydym ni yn barod iddynt; ond am danoch chwi, frawd Williams, yr ydych chwi yn ddyn da ac wedi bod yn garedig i ni am lawer o flyneddau, ni chyffyrddir â blewyn o'ch pen chwi." Pan welodd Williams nad oedd dim yn tycio, a'u bod yn hollol benderfynol i fyned ymlaen, trodd ei gefn; ond nid yw yn ymddangos iddynt ladd neb, na gwneuthur nemawr o niwed i feddiannau. Terfynodd y rhyfel hwn yn marwolaeth Philip, ac o'r braidd y diangodd y Pokanoketiaid a'r Narragansettiaid heb eu llwyr ddinystrio. Yr oedd yr anghydfod a'r amrafaelion hyn wedi cael eu codi gan yr Indiaid, a phan y daethant yn erbyn y Seison, yr oedd yn ymladdfa am fywyd.

Yr ydym yn canfod oddiwrth y pethau hyn mor uchel oedd Mr. Williams yn meddyliau y brodorion, mor bwysig y swyddau yr etholid ef iddynt, ac mor fawr yr ymddiried a roddid ynddo gan ei gyd-drefedigion; ac mor lwyr hefyd yr ymgyflwynai yntau i wasanaeth y drefedigaeth y bu yn offerynol i'w sefydlu. Gallasai ymgyfoethogi, o ran y cyfleusdra a gafodd; ond codwyd ef i anrhydedd mewn llwybr nad oes ond ychydig o ddynion mor ffodus a deall am dano. Treuliodd Mr. Williams ei gyfoeth a'i amser i wneuthur daioni yn y byd. Nid yw ond ychydig o glod i ddyn, mewn cymhariaeth, fedru hel llawer o bethau y bywyd hwn ynghyd; oblegid y mae llawer o'r lliaws sydd wedi cael pen y ffordd i hyny, nas gellir meddwl am un amcan i'w bywyd, os nad ydynt yn cael eu goddef yn llywodraeth Duw i fod fel rhyw bla, ac yn gosbedigaeth ar eu cydgreaduriaid a ddaw o fewn eu cyrhaedd. Y mae plant y rhai hyny drachefn yn dyfod i feddiant o'r pentwr, heb wybod eu gwerth na pha beth i'w wneyd â hwynt, ac yn hynodi eu hunain wrth eu dyfetha.Ië, y mae hyn wedi dygwydd weithiau mewn cysylltiad â dynion a ddylasai wybod eu bod mewn cyfleusdra i wneuthur gwell defnydd o honynt. Nid yr un o'r tylwyth yma oedd Roger Williams; eithr dyn wedi ymwerthu i wneuthur daioni i ddynolryw yn gyffredinol, Iuddewon a Groegiaid, Seison ac Indiaid, ïe, i'w elynion yn gystal ag i'w gyfeillion.

Ond y mae "amser terfynedig i ddyn ar y ddaear;" a diwedd y rhai a wnaethant fwyaf o wrhydri yn y byd, yw "gorphen fel gwas cyflog eu diwrnod." Nid yw yn ymddangos fod ond ychydig ar gael a chadw o hanes "dyddiau diweddaf" Roger Williams. Parhaodd i deimlo hyfrydwch yn llwyddiant y drefedigaeth hyd y diwedd, a dangosodd hithau y parch mwyaf a allasai i'w weddillion. Tybir iddo orphen ei yrfa heb gael ei flino gan hir gystudd. Nid yw y dydd a'r mis y bu farw yn cael ei gofnodi. Dywed un, Mr. John Thornton o Providence, mewn llythyr at gyfaill yn Boston, dyddiedig Mai 10fed, 1683, "fod yr Arglwydd wedi cymeryd ymaith ein hen cyfaill caredig, Mr. Roger Williams, ynghyd âg

amryw eraill, yn ddiweddar." Claddwyd ei weddillion yn anrhydeddus mewn man o'i ddewisiad ef ei hun, yn agos i'r lle y glaniasai tua saith mlynedd a deugain yn ol.

Y mae y darllenydd, erbyn hyn, yn barod i ofyn pa beth a ddaeth o'r "gweinidog ieuanc, duwiol a gwresog, ag oedd wedi ei gynnysgaethu â llawer o ddoniau gwerthfawr," a laniodd yn Lloegr Newydd er's yn agos i hanner can' mlynedd yn ol? A ydym wedi colli y pregethwr yn y deddfroddwr? Nac ydym ar un cyfrif. Er nad yw yn ymddangos i Mr. Williams fod yn gweinidogaethu i un eglwys neillduol wedi ei ymadawiad â Salem, na bod yn offerynol i ffurfio un blaid grefyddol; ac yn wir yr oedd braidd yn annichonadwy iddo wneuthur hyny, gan fod ei sefyllfa mor bwysig, a'i orchwylion mor lliosog yn ei gysylltiad â sefydliad a llywodraethiad y drefedigaeth, a'i fod yn ddyn yn meddu cymaint o gymhwysderau at y gwasanaeth hwnw; er hyny parhaodd i bregethu ar hyd ei oes; nid yn unig i'w gydgenedl, ond yr oedd yn teimlo fod mesur y rheol a ranodd Duw iddo, yn cyrhaeddyd at yr Indiaid hefyd, ac hyd atynt hwy hefyd yr aeth âg efengyl Crist. Gwnaeth lawer tuag at eu heddychu a darostwng y teimladau rhyfelgar oedd ynddynt; a bu yn llwyddiannus yn ei amcan amryw droion, fel yr ydym wedi gweled; eithr nid oedd yn hyny ond dangos fod yr un egwyddorion yn llywodraethu ei galon ef ei hun, ag a argymhellai arnynt hwy yn ei bregethau. Dysgai hwynt mai Tywysog Tangnefedd yw y Gwaredwr, ac mai tangnefeddwyr oedd y rhai a ufuddhaent i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd iddynt. Yr oedd llwyth o Indiaid yn Narragansett, yn wrthddrychau penodol ei addysgiadau, ac ymgynnullent i'w wrandaw ef yn ewyllysgar, pryd na wrandawent neb arall. Mor fawr oedd ei ddylanwad yn mysg y Niantickiaid hyn, fel na chymerasant ran yn y gwrthryfel gyda'r Pokanoketiaid o dan Philip. Parhaodd i ymweled â hwynt, yn fisol, pan oedd uwchlaw deg a thriugain oed; ac y mae gweddill o'r llwyth hwnw yn aros hyd heddyw yn neddwyrain Ynys Rhode yn Gristionogion gwareiddiedig yn dystiolaeth o'i lafur a'i ymdrechion yn eu mysg.

Ar ei fynediad cyntaf i'r ynys, yr oedd amryw o'i hen gyfeillion o Salem gydag ef, y rhai a'i hystyrient fel eu gweinidog. Ymgynnullent i wrandaw ei weinidogaeth yn yr awyr agored; ond os byddai yr hin yn anfanteisiol, ymneillduent i dŷ annedd. Fel yr oedd y drefedigaeth yn cynnyddu, ac heb un gwaharddiad i neb, ar gyfrif ei gredo crefyddol, y mae yn naturiol i ni dybied eu bod yn ymwahanu, a phawb yn myned i wrandaw ar y weinidogaeth fwyaf cydweddol â'i syniadau ei hun. Dywedir fod amryw o Fedyddwyr yn mysg y rhai a ymfudasant i'r drefedigaeth, a bod Mr. Williams wedi derbyn eu hegwyddorion; ond am nad oedd un gweinidog yn perthyn i'r blaid hòno yn y byd newydd, penderfynwyd fod i un Ezeciel Holliman, gŵr bucheddol a duwiol, yr hwn a fu wedi hyn yn weinidog, fedyddio Mr. Williams; ac wedi hyny, bedyddiodd yntau Holliman a deg eraill. Cymerwyd y cyfleusdra oddiwrth hyn i'w gyhuddo o ansefydlogrwydd a phenboethni. Diau nad oedd Roger Williams, mwy na dynion eraill, yn berffaith, ac heb feddu ei wendidau; ond er nad oes dim yn fwy adgas yn ein golwg na gweled dynion yn cellwair gyda phethau difrifol crefydd, ac yn edrych ar yr ymarferiad âg ordinhadau teyrnas nefoedd yn beth ysgafn, ar yr un pryd, heb i ni gymeryd arnom benderfynu y ddadl rhwng y Taenellwyr a'r Trochwyr, wrth ystyried yr amgylchiadau yr oedd y pererinion hyn danynt, nis gallwn eu cyhuddo o ysgafnder

penboethni; ac wrth ystyried nodwedd Mr. Williams mewn pethau eraill, y mae yn rhaid i ni gredu ei fod yn newid ei syniadau am y dull o fedyddio yn ddifrifol a chydwybodol. Modd bynag, dylem fod ymhell oddiwrth ddibrisio dynion fel Roger Williams ar gyfrif colliadau neu eithafion mewn rhyw bethau nas gellir dysgwyl i greadur ffaeledig fod yn berffaith rydd oddiwrthynt yn y byd hwn. Nid yn unig y mae yn ffaith fod y dynion hyny a fyddai ymlaen lawer ar eu hoes, ac a fuont yn offerynol i ddwyn diwygiadau grymus oddiamgylch, yn wladol neu grefyddol, wedi eu meddiannu gan ryw frwdfrydedd, neu benboethder os dewiser yn well, anarferol, ond yr oedd hyny yn anghenrheidiol mewn trefn iddynt dori drwy rwystrau, ac i fyned yn erbyn gwrthwynebiadau, a chynnyrchu bywyd a bywiogrwydd mewn eraill, er dwyn eu hamcanion ymlaen; byddai yn afresymol i ni ddysgwyl cael hyn yn y dyn goreu i berffeithrwydd. Hen ffordd gelynion pob diwygiad yw cablu daioni y diwygwyr ar gyfrif rhyw ffaeleddau a berthynai iddynt. Nis gallwn ni weled un anghenrheidrwydd i guddio eu diffygion, mewn trefn i werthfawrogi eu llafur. Pe gellid profi i foddlonrwydd fod Luther yn dal traws-sylweddiad, neu gyd-sylweddiad, a bod Calfin wedi cydsynio â chollfarniad a merthyrdod Servetus, ai nid yw eu hanes er hyny yn destun syndod eu bod wedi ymddadrys mor llwyr o gadwynau Rhufain, a bod mor ychydig o ol egwyddorion ac ysbryd y bwystfil arnynt? A chaniatâu ddarfod i Roger Williams weithio ei egwyddorion i raddau lled bell o eithafion, mewn rhyw bethau, mewn cysylltiad â'i bwnc mawr o ryddid cydwybod, nis gallwn lai na chanfod cryn gymedroldeb yn ei syniadau ar y cyfan, wrth ystyried gymaint o wrthwynebiad a gafodd.

Nid ydym ychwaith yn gofyn tynerwch y darllenydd wrth sylwi ar golliadau Mr. Williams, nad ydym ar yr un pryd yn barod i ganiatâu yr un haelfrydedd tuag at "bererinion" y Trefedigaethau Unedig. Cydnabyddwn yn rhwydd fod yn eu mysg lawer o ddynion enwog, a gweinidogion duwiol a dysgedig, a'u bod wedi ymdrechu yn galed yn y wlad hon am ryddid i fwynhau eu hegwyddorion, ac yn y diwedd wedi aberthu llawer o gysuron y bywyd hwn er eu mwyn, trwy ymfudo i wlad y gorllewin. Ac wedi iddynt lanio yno, llywodraethid eu meddyliau gan egwyddorion mor uniawn, fel na chymerasant feddiant o led troed o dir heb roddi boddlonrwydd i'r brodorion am dano, ac na bu iddynt fyned i ryfel ond yn unig mewn hunan-amddiffyniad. Yr oedd yn gred gyffredinol ymhlith pob plaid o Gristionogion y pryd hyn, ei bod yn ddyledswydd ar y llywodraeth wladol i ddefnyddio ei hawdurdod fel y cyfryw, nid yn unig i noddi a gwaddoli y gwirionedd, ond hefyd i ddarostwng pob peth a ystyriai yn gyfeiliornad. Dyma oedd barn Eglwys Scotland, ac yn wir dyma oedd barn Puritaniaid ac Anghydffurfwyr Lloegr, yn gystal a'r Eglwys Sefydledig, ac hefyd y Puritaniaid a ymfudasant i Loegr Newydd. Wrth ystyried y pethau hyn, a bod Roger Williams, o'r ochr arall, yn dal yn dŷn dros ei syniadau yntau, nid ydym yn rhyfeddu cymaint at y gwrthwynebiad a gafodd.

# LLYTHYR ODDIWRTH DR. TREGELLES,

A YSGRIFENWYD YN RHUFAIN, YN MIS MAWRTH, YN Y FLWYDDYN 1846, AT GYFAILL YN NGOGLEDD CYMRU.

ANWYL GYFAILL A BRAWD YN YR ARGLWYDD,

DYMA fi yn y ddinas fawr hon ymhlith pethau o bob math. Y mae yma bob peth idd ei weled a'i glywed, ond efengyl Iesu Grist. Yr wyf yn ofni eich bod wedi bod yn dysgwyl clywed oddiwrthyf cyn hyn; ac yn wir, caethiwed gorchwylion, a blinder, oedd yr unig achos a'm rhwystrodd i ysgrifenu atoch yn gynt. Yr oeddwn yn dra rhwymedig i chwi am eich caredigrwydd yn anfon i mi eich awdl, pan oeddwn ar fin ymadael â Lloegr. Edrychais drosti pan dderbyniais hi, ond mewn gwirionedd, nis gellais gael hamdden i'w darllen hyd y dydd Mawrth canlynol, tra yn teithio dros wastadedd *Picardy*, a choedwigoedd *Cressy* ar fy llaw aswy, a phorthladd bychan *St. Valerie* yn llawn yn y golwg, o fewn ychydig bellder, ar fy llaw ddeheu, o'r hwn yr hwyliodd William y Concwerwr am Loegr.

Ni a arosasom ran o dridiau yn *Paris*, lle y cyfarfuom â rhai cyfeillion Cristionogol; yna aethom ymlaen gyda'r "*Diligence*" i *Obêlons*, ar yr afon *Saone*, yr hwn le a gyrhaeddasom yn gynnar y bore Sul canlynol. Treuliasom y diwrnod yno, a chawsom hyd i ychydig Brotestaniaid tlodion yn y lle. Y dydd canlynol, aethom gydag agerfad i lawr afon brydferth *Saone*. Mae Cæsar, a Rhufeinwyr eraill, yn galw yr afon hon yn *Arar*, a dywedir y galwent hi felly ar gyfrif ei harafwch a'i llyfnder. Mae yn amlwg mai yr un yw y gair hwn ag *araf*. Yn y prydnawn, cyrhaeddasom *Lyons*, ail ddinas Ffrainc, yn sefyll rhwng y *Saone* a'r *Rhone*, y rhai ydynt yn ymuno ychydig ymhellach i waered.

Boreu dranoeth, cymerasom long ar y *Rhone*, gan ddysgwyl cyrhaedd *Avignon* yn y prydnawn; aethom heibio i lawer o olygfeydd tra phrydferth, a llawer o leoedd dyddorol—*Vienne*, lle yr alltudiwyd Pilat, a lle y bu farw; *Valence*, lle y cymerwyd y Pab Pius VI. yn garcharor gan y Ffrancod, a lle y bu farw yn ei gaethiwed. Yn ystod y prydnawn, daeth yn bur amlwg nas gallem fyned i *Avignon* cyn iddi dywyllu, a chan fod yn anhawdd mordwyo yr afon o herwydd ei bod yn isel, gwelsom y byddai raid i ni dreulio y noswaith ar yr afon; nid oedd hyn yn bur gysurus, gan fod llawer o ymdeithwyr ar y bwrdd, a dim lleoedd cyfleus i gysgu. Yn mysg eraill, yr oedd genym amryw leianod (*nuns*), ac abbades, y rhai oeddynt yn myned i wyryfdŷ (*convent*) yn yr Aipht. Y mae llawer iawn o bontydd crogedig dros y *Saone* a'r *Rhone*; ac y mae un bont dra nodedig dros yr olaf, âg iddi ugain o fwäau; y mae yn un o'r pontydd hwyaf yn y byd. Treuliasom y noswaith ar yr afon, mewn lle a elwir *Roquemaur*, lle y darfu i Hannibal groesi y *Rhone*, ac aethom ymlaen i *Avignon* y boreu nesaf. Yma arosasom am bum niwrnod, gan fy mod i yn bur wael, ac eisieu gorphwys arnom eill dau, sef myfi a'm gwraig. Y mae hwn yn lle hynod o ddyddorol, ac mewn sefyllfa ddyddorol iawn; bu yn breswylfan y Pabau am rywfaint ychwaneg na 70 o flyneddau, ac y mae eu palas yn sefyll eto yn nghanol y dref, ar graig uchel. O *Avignon*, aethom i lawr y *Rhone* i *Arles*, dinas yn cynnwys amchwareufa (*amphitheatre*) eang, ynghyd â gweddillion

Rhufeinaidd eraill. Oddiyno aethom hyd y tir i *Marseilles*, lle y gwelsom gyntaf Fôr y Canoldir; gadawsom y porthladd hwn mewn agerlong, ar ddydd Mercher, Tach. 5ed, ond cawsom y fath dywydd ystormus, fel y gorfu i ni droi i mewn i *Toulon*, lle yr arosasom hyd ganol dydd Sul. Boreu Llun, cyrhaeddasom *Genoa*, prifddinas yr hen *Liguria*, o'r hon wlad y daeth y *Lloegrwys* i Brydain, gan adael eu henw ar y ffordd ar y *Loire*, yn Ffrainc. Tiriasom yn *Genoa* hyd y prydnawn. Y mae yn ddinas ardderchog, yn llawn o balasau, ac yn meddu angorfa dda; mae yr *Appennines*, neu yn hytrach yr *Alps* arfordirol, yn ymddyrchafu gerllaw iddi, o'r tu ol. Y boreu nesaf, tiriasom yn *Leghorn;* yna aethom gyda y rheilffordd i ddinas hynafol a dyddorol *Pisa*, lle mae clochdŷ yr eglwys gadeiriol yn gogwyddo cymaint o'r llinell unionsyth. Yr oedd genyf rai personau i ymweled â hwynt yn *Pisa*; oddiyno dychwelasom i *Leghorn*, ac aethom ar fwrdd llong eilwaith. Gan fod y tywydd eto yn parhau yn ystormus, nis gallem gyrhaedd i *Civita Vecchia* hyd onid oedd yn brydnawn dranoeth. Y dydd nesaf (y 13eg), daethom o *Civita Vecchia* i Rufain. Yr oedd rhan helaeth o'r ffordd wedi ei dyfetha yn fawr, trwy gael ei gorlifo gan yr afonydd o'r mynyddoedd; ac nis gallwn amgen na gweled gofal grasol a rhagluniaethol ein Duw, yn lluddias i ni gyrhaedd pen ein taith mor fuan ag y buasem yn gwneyd oni b'ai yr ystorm, oblegyd ar y dydd pan y dysgwyliem ni y byddem yn teithio tua Rhufain, yr oedd y ffyrdd wedi eu gorchuddio gan ddwfr i'r fath raddau ag i osod llawer o'r teithwyr mewn enbydrwydd dirfawr, a boddwyd rhai o'r marchogion (*postillions*).

Y mae yn ofer i mi feddwl am ddesgrifio Rhufain ar len o bapyr. Byddai genyf ormod i'w ddywedyd o lawer; canys, mewn gwirionedd, dyma y lle rhyfeddaf a welais erioed, neu a welaf byth ar y ddaear hon. Mae y ddinas ddiweddar yn gorwedd, braidd yn gwbl, o'r tu gogledd i'r un hynafol, o amser y Weriniaeth (*Republic*). Mae tri o'r saith fynydd braidd yn hollol wag o drigfanau, a dau eraill agos mor deneu a hwythau o dai. Holl weddillion yr hen Rufain ydynt yn adfeilion drylliedig, oddigerth y *Pantheon*, un bont, ac ychydig o bethau eraill o lai hynodrwydd. Y temlau o amgylch y *Fforum* ydynt, y rhan fwyaf o honynt, wedi eu claddu yn ddwfn yn y pridd ag sydd wedi hir gasglu; ac y mae y mwyaf o'r holl adfeilion, y *Colosseum*, wedi malurio yn mhob cyfeiriad, nes ei gwneyd yn anghenrheidiol i godi muriau mawrion i'w gynnal rhag cwympo yn raddol i lawr.

Er pan ddaethum yma, yr wyf wedi bod yn bur brysur mewn gwahanol lyfrgelloedd, ac hefyd mewn ymdrech i gael myned i mewn at y llawysgrif yn y *Vatican*, yr hyn sydd o'r pwys mwyaf. Nid wyf wedi llwyddo eto i'w chael i'w chymharu, er darfod i mi edrych arni amryw weithiau; ac yr wyf wedi cyfarfod â mwy nag ychydig o anhawsderau gyda hi. Mi a glywais yn fynych am eilun-addoliaeth Rhufain; ond cyn i mi ddyfod yma, a gweled drosof fy hunan, nis gellais amgyffred ei fod i'r fath raddau. Y mae yn y ddinas gannoedd o eglwysi, ac yn mhob un ddelwau cerfiedig, a darluniau o saint (yn enwedig y Forwyn Fair), ac hyd yn nod o Bersonau y Drindod! Yn eglwys fawr St. Pedr, y mae hen ddelw erchyll o bres, pa un a elwir yn awr yn "St. Pedr," ac y mae cannoedd o bobl bob dydd yn dyfod i gusanu ei droed deheu! Rai blyneddau yn ol, yr oedd yn anghenrheidiol adnewyddu ei droed, o achos fod rhan fawr o hono wedi ei gusanu ymaith; gwelais bobl o bob gradd yn addoli yr eilun hwn, hyd yn nod y

pab ei hun. Breiniau yr eglwysi ydynt mor fawr ag i beri syndod; ceir maddeuebion (*indulgences*) yn mhob un o honynt. Yn St. Ioan Lateran (eglwys gadeiriol Rhufain), y mae hysbysiad (*notice*) i'w weled, yn dywedyd fod maddeuebion yr eglwys hon mor liosog ag i fod yn anmhosibl i unrhyw berson eu cofio na'u rhifo, heblaw Duw Hollalluog ei hun! Gwelais y pab yn gyhoedd lawer gwaith, ac unwaith cefais ychydig o ymddyddan gydag ef. Arfer y Pabyddion yw cusanu croes ar ei droed deheu, ond nid ydyw yn dysgwyl am y fath anrhydedd oddiwrth Brotestaniaid.

Ac yn awr, gadewch i mi ddyweyd wrthych fy mod wedi cael trafferth, nid ychydig, mewn cysylltiad â gwrthddrych fy nyfodiad yma. Mewn gwirionedd, wedi oediadau, dysgwyliadau yn cael eu dal allan, gommeddiadau, addewidion, siomedigaethau, &c., yr wyf yn cael o'r diwedd, heddyw, na bydd iddynt ganiatâu i mi gymharu y llawysgrif, ag yr oedd arnaf mor neillduol eisieu ei chwilio. Cadwyd fi yma ar y dysgwyliad hwn wythnos ar ol wythnos, ac hyd yn nod pan roddid caniatâd pendant i mi gan y rhai sydd mewn awdurdod, byddai rhyw anhawsder yn cael ei godi yn wastad gan y rhai sydd yn cymeryd gofal llyfrgell y *Vatican*. Ac fel hyn yr aeth pethau ymlaen hyd oni bu i'r caniatâd ei hunan gael o'r diwedd ei alw yn ol yn hollol. Nid wyf yn gofidio am y drafferth a gymerais, oblegid yr wyf yn credu ei bod yn beth o bwys neillduol i'r llawysgrif hon gael ei chymharu yn fanylach; ac fe allai fod unrhyw boen a gymerwyd yn ei chylch megys yn wasanaeth i'r Arglwydd. Os bydd efe yn gweled yn dda, gall beri llwydd ar ymdrechiadau ei weision; os amgen, gall efe ddysgu iddynt amynedd ac ymostyngiad. Y mae un peth ag sydd yn llenwi yr enaid â llawenydd yn nghanol amryw brofedigaethau—"Iesu Grist yr un ddoe a heddyw, ac yn dragywydd." Y mae efe yr un yn ei gariad yn awr, yn ddyrchafedig mewn gogoniant, ag ydoedd pan roddes ei einioes i lawr, gan ddwyn arno ei hun bwys ein pechodau; ac y mae efe fel Bugail da bob amser yn gwylio, ac yn barod i goleddu pob un o'i ddefaid truain, anghenog, a digymhorth. Ac os ydym ni yn teimlo annhrefn a siomedigaeth ar bob llaw, nid yw amgen na rhywbeth i gyfeirio ein heneidiau ymlaen yn fwy llawen at y dydd y bydd yr holl bethau hyn wedi myned heibio am byth, pan y bydd i Iesu deyrnasu fel Pen y greadigaeth newydd, ac y cawn ninnau deyrnasu gydag ef. Y mae ar bobl yr Arglwydd eisieu amgyffred mwyfwy am werth person Crist, fel yr un ag y maent i ymorphwys arno yn wastadol. Os edrychwn ar amgylchiadau, byddwn o hyd yn cael rhywbeth i'n profi, ac i'n bwrw i lawr; ond ein lle ni yw cofio fod pob peth yn mherthynas i ni yn hysbys ac yn bresennol i feddwl Duw, cyn iddo roddi Crist drosom; a chan y gwyddai beth a fyddai pob anghen o'r eiddom, efe a wnaeth ddarpariaeth ar gyfer pob un o'r anghenion hyn. Bydded iddo ef, trwy yr Ysbryd Glân, ein dysgu ni fel hyn i ymorwedd ar Iesu.

Yn nghanol golygfeydd amrywiog y ddinas hon, meddyliais yn fynych pa faint mwy hyfryd a fuasai bod yn Ng——g F—r, ymhell oddiwrth yr aflonyddiadau hyn. Y mae gyda chwi, o leiaf, gyfleusderau i siarad am Iesu Grist, ac am iachawdwriaeth trwy ei waed, wrth bechaduriaid; ac hefyd gyfleusderau at gydgyfeillach Cristionogol, y cyfryw ag nad ydynt i'w cael yma. Fe allai yr ewyllysiech wybod paham y dymunwn gael fy nghyflwyno i'r pab. Fy nyben oedd hyn yn unig,—sef fy mod yn meddwl nad oedd yn iawn i mi adael unrhyw foddion cyfreithlawn at gyrhaedd fy ngwrthddrych heb roi prawf arnynt; ac am hyny, gan fod cyfleusdra,

gwnaethum y goreu o hono. Y mae y pab yn edrych yn hen ddyn cryf, pybyr, o un mlwydd a phedwar ugain oed; ei olwg mor dda ag i allu darllen ysgrifen heb wydrau, ei lais yn glir a chryf. Ymddengys fel yn ymdrechu i ddifyru ei ymwelwyr trwy siarad â hwynt ynghylch amrywiaeth mawr o bethau.

Yn awr, y mae yn debygol y byddaf yn myned yn bur fuan i Florence, i edrych rhai llawysgrifau sydd yno. Pe gallech ysgrifenu ataf lythyr yn bur fuan, wedi ei gyfeirio—*Poste Restante, Florence*, byddai yn llawen iawn genyf ei dderbyn. Nid wyf yn ewyllysio, modd bynag, eich rhoddi mewn unrhyw gyfran o draul y llythyrdoll, ac y mae yn ddrwg genyf nas gallaf ragdalu hwn ddim pellach na therfynau y taleithiau Rhufeinaidd.

Mae rhywbeth dyddorol, a phrudd, ar yr un pryd, mewn bod yn y fan hon, yn y ddinas lle y pregethodd yr apostolion, a'r lle y rhoisant i lawr eu bywydau dros enw Iesu, a thros y dystiolaeth am ei werthfawr waed. Yma yr ysgrifenodd St. Paul gynnifer o'r epistolau hyny a gynhyrfwyd gan yr Ysbryd Glân, ac a adawyd ar goffadwriaeth i'r holl oesoedd dilynol; ac at y saint a fuant *unwaith* yn y lle hwn y cyfeiriwyd yr epistol hwnw ag sydd yn rhoddi yr eglurhad cyflawnaf ar yr athrawiaeth sylfaenol o gyflawnhad trwy ffydd. Pa fodd y mae pethau wedi newid erbyn hyn! Mae pob peth yn dwyn ger ein bron bod Rhufain wedi bod yn brifddinas y pabau, yn llawer hwy nag yspaid cyfan ei holl lywodraethau eraill. Y mae adfeilion i'w gweled ar bob llaw o'r hyn *ydoedd* unwaith; ond y mae a wnelo ei gogoneddau a'i hadeiladau presennol â'r hyn y daeth iddo mewn ystyr eglwysig. Pa lawysgrifau bynag a ellir eu cael yn y *Vatican*, yn mherthynas i fonachlog C——g F—r, nid yw yn hawdd myned atynt, o achos nid oes yno yr un mynegai briodol, a'r llawysgrifau wedi eu gosod wrth y miloedd mewn cypyrddau. Y mae oriel hir y llyfrgell hon yn chwarter milltir o hyd, yn llawn o gypyrddau; y mae mewn gwirionedd yn un o'r lleoedd rhyfeddaf a welais erioed. Y mae palas y *Vatican* o eangder anferth, yn sefyll yn ymyl Eglwys St. Pedr, ac i'w weled yn ymddyrchafu yn uchel, uchel, i'r awyr. Dywedir y cynnwysa *un mil ar ddeg* o ystafelloedd, a llawer o'r rhai hyn o hyd dirfawr. Cynnwysa, heblaw yr ystafelloedd y mae y pabau yn byw ynddynt y gauaf, orielau hirion, ac ystafelloedd, wedi eu llenwi â hen gerf-ddelwau a cherf-ysgrifau, y llyfrgell, amgueddfa (*museum*) Aiphtaidd, amgueddfa Etruscaidd, amryw ystafelloedd wedi eu paentio ar ffresgaor (*in fresco*) gan Raphael, orielau hirion i'r pab i gymeryd ymarferiad ynddynt, rhai ystafelloedd yn cynnwys tua hanner cant o arluniau (*paintings*) gwerthfawr. Ymddengys Eglwys St. Pedr (er mor ryfeddol yw o ran maint), yn fechan wrth ei chymharu â'r palas hwn sydd yn ei hystlys.

Bu nifer mawr o Seison yn aros yn Rhufain y gauaf hwn, yn rhai dymunol fel cyfeillion, amryw o honynt, yn gystal ag yn Gristionogion prydferth. Dymuna Mrs. T. gael ei chofio yn garedig atoch ac at eich gwraig. A wnewch chwi fy nghofio innau hefyd ati, ac at y Cristionogion eraill o'ch amgylch, ag y cefais i unrhyw gymdeithas â hwy, pan oeddwn yna gyda chwi flwyddyn a hanner yn ol? Nis gwn pa bryd y gallaf ddysgwyl eich gweled eto; ond y mae amryw yn Ngogledd Cymru ag y bydd yn llawen genyf gael cyfarfod â hwy eto. Mae yr hinsawdd yma yn ei wneyd yn lle tra hyfryd i dreulio y gauaf ynddo, ac y mae llawer o rai methedig yn dyfod yma i'r dyben hwnw; ond yn yr haf y mae yn bur

boeth. Y coed *oranges* a'r coed *lemons* ydynt wedi eu gorchuddio yn dew eisoes â ffrwythau.

Os caniata yr Arglwydd i ni gael byth gyfarfod eto, gall y bydd genyf lawer o bethau i'w mynegu i chwi ynghylch Rhufain a'i thrigolion. Pa fodd yr ydych yn myned ymlaen gyda chwilio i mewn i ranau prophwydoliaethol yr ysgrythyr? Yr wyf yn credu mai po fwyaf a wypom am danynt, mwyaf yn y byd y cawn eu bod yn fuddiol, yn ddyddorol, yn gystal a dealladwy.

Gorphwysaf, anwyl gyfaill,

Eich brawd yn yr Arglwydd Iesu Grist,

Signor E. T., &c. S. PRIDEAUX TREGELLES.

---

# CHWAREUON CREFYDDOL.

"NID oes dim newydd dan yr haul; a oes dim y gellir dywedyd am dano, Edrych ar hwn, dyma beth newydd? efe a fu eisoes yn yr hen amser o'n blaen ni." Felly y dywedodd y doethaf o ddynion wrth fwrw golwg ar helyntion, darganfyddiadau, a dyfeisiau y byd cyfnewidiol a darfodedig hwn, yn enwedig y pethau y mae gorwychder, difyrwch, a gwageddau plant dynion yn ymddibynu arnynt. Er maint y bri a roddid ar y cyfryw bethau yn eu hamser, buan yr heneiddiasant, y gwywasant, ac y diflanodd y cof am danynt, a hyny mor llwyr ar ran y cyffredin o ddynion, a phe na buasent erioed wedi bod. "Nid oes goffa am y pethau gynt," medd efe; ac er adgodi ac ailffurfio hen ddychymygion a dyfeisiau drachefn a thrachefn, nes peri syndod aruthr i'r ehud a'r anwybodus; eto ni fydd adeg y rhai hyny yn hir, canys "Ni bydd coffa am y pethau a ddaw gan y rhai a ddaw ar ol."[1] Ië, er maint yr ymegnïa dynion i fytholi eu henwau trwy gynnyrch eu talentau, mae difrod amser yn eu prysur lyncu iddo ei hun, a hwythau a'u gweithredoedd, fel eraill o'u blaen, yn syrthio i dir anghof. Darparasai y brenin doeth hefyd "gantorion a chantoresau, a phob rhyw offer cerdd, difyrwch meibion dynion," a diammhau nad oedd dim yn fyr er gwneuthur y mwynhad yn ddymunol o fewn cyrhaedd cyfoeth, gogoniant, a doethineb dihafal; ond pan ydoedd yn edrych yn ol ar hyn, a llawer mwy, beth oedd ei brofiad ef? beth a gawsai efe ynddynt? "Wele," medd efe, "hyn oll oedd wagedd a gorthrymder ysbryd, ac nid oes dim budd dan yr haul;" *Preg.* ii. 8, 11, 12. Dyma brofiad Solomon, yr hwn a gawsai bob mantais i wneuthur prawf teg; ac os methodd efe a chael boddhad mewn difyrwch anianol, a rhwysgfawredd daearol, ofer ynte i neb arall freuddwydio am hyny, "canys beth a wnai y dyn a ddeuai ar ol y brenin?"

Addefir fod llawer o ddarganfyddiadau buddiol wedi ac yn cael eu gwneuthur o oes i oes, a thebygol iawn y ceir allan lawer mwy eto, a'r rhai hyny yn tueddu er lles a chysur dynolryw. Mae y pethau hyn yn fendithion gwerthfawr yn eu lle, a'r darganfyddwyr o honynt yn haeddu parch; ond os gosodir hyd yn nod y gwelliant mwyaf buddiol yn y celfyddydau fel gwrthddrych eithaf y meddwl i ymgyrhaedd ato, ac fel sail

[1] *Preg.* i. 9—11

dyddanwch yma, a hapusrwydd ar ol hyn, fe dry allan yn siomedigaeth. Rhaid i enaid dyn gael defnydd cysur, mwyniant, a dedwyddwch, o le uwch, neu fod yn dlawd yn y diwedd—heb ddim.

Os ydyw hyn yn wir am bethau buddiolaf y byd presennol, pa faint mwy am bleserau a difyrwch y rhai y mae eu rhan yn y bywyd yma? Beth am y rhai sydd yn cyfrif moethau beunydd yn hyfrydwch? Beth am y rhai na feddant ddirnadaeth am un mwyniant uwch na phleserau cig a gwaed? O! mae yr olygfa yn dlawd o'u blaen! Fe ā hafddydd brithinog bywyd byr heibio yn fuan, a nos dywyll tragywyddoldeb a'i dilyna; a pha beth am y nos hono sydd heb obaith y gwawria dydd ar ei hol yn oes oesoedd?

Trown ein golwg bellach at y byd crefyddol, fel ei gelwir; a pha fodd y mae pethau yn ymddangos yma? Mae bywyd ac anfarwoldeb wedi eu dwyn i oleuni drwy yr efengyl; ond a ydyw ei phroffeswyr yn gyffredin yn gallu edrych ymlaen "at ddydd dadguddiad meibion Duw?" A ydynt dan ddylanwad dysgeidiaeth yr efengyl yn "ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, ac yn byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon; gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw Mawr, a'n Iachawdwr Iesu Grist." Gresyn na byddent felly bawb oll sydd yn ymgyfenwi ar enw Crist! Odid fod geiriau Solomon yn fwy priodol i un amgylchiad na phan y byddo Cristionogion wedi colli sylwedd ac ysbrydolrwydd crefydd, yn gosod y cwbl o honi mewn rhwysgfawredd defodau allanol. Felly y mae eglwysi llygredig yn gosod y cyfan o grefydd mewn delwau a lluniau, allorau a chanwyllau, croesau a chreiriau, clychau a gwisgoedd gorwychion, mwngial gweddïau mewn tafodiaith annealladwy, côr-ganu, ymgroesi, ymgrymu, gorymdeithio, &c.; a'r deall yn cael ei adael heb ei adeiladu, gair yr Arglwydd yn cael ei fwrw o'r neilldu, a gwirioneddau syml yr efengyl yn cael eu llwyr orchuddio â defodau disynwyr a dilesâd: hanesion pwysig yr ysgrythyrau yn cael eu troi yn ddefnydd arddangosiadau a chwareuon ysbrydol, a chelfyddydau arluniad, a phaentio, a cherddoriaeth yn cael eu rhoddi ar waith er peri i goelgrefydd hoew daraw yn rymus ar y synwyrau allanol, nes dallu llygaid yr anwybodus gan ysplander ei hymddangosiad. Nid yw Cristionogaeth eglwysi dirywiedig Groeg a Rhufain, ac eraill a'u dilynant, ddim amgen na chylch o ddefodau eilun-addolgar, a chyfareddion paganaidd, ac yn cael eu cynnal i fyny drwy drais gorthrymus, a dyhewyd heb wybodaeth.

Yn y meddiant o ragorach a phurach ffydd, y mae Protestaniaeth er hyny yn ddiogel. Dymunem ei bod o eigion ein calon! Ond beth yw y chwareudai, ystafelloedd cyngherddau, cynnulliadau difyr, gwyliau, gwleddoedd, a gloddest, y wlad Gristionogol hon! Dim ond dangosiad galarus o ddynion wedi colli Duw, yn ymofyn yn ddyfal am ddedwyddwch yn mhob man ond yn y lle y mae i'w gael![1] Edrychwn hefyd ar ein gwlad a'n cenedl ein hunain, ar Gymru Ymneillduol, lle y gwnaeth yr efengyl gymaint o'i hol. A yw pethau fel y dylent, ac y gallesid dysgwyl iddynt fod, lle y mwynhawyd y fath gyflawnder o freintiau yn y chwe' ugain mlynedd a aethant heibio? Onid oes llawer o broffeswyr crefydd yn ein plith yn ymddangos fel wedi llwyr flino ar yr efengyl bur, wedi alaru ar y

[1] Un o brif achosion dirywiad gwerin-lywodraeth Athen oedd, hoffder o chwaräeyddiaethau.—"*Rollins Ancient History:*" cyf. ii., tudal. 586. Cymered Cristionogion addysg, ac eglwysi rybudd.

manna nefol, heb archwaeth at fara y bywyd, yn blysio pysgod, winwyn, a chennin yr Aipht, ac afalau Sodom; yn awchus am rywbeth i weini digrifwch, ac i beri iddynt chwerthin,—rhywbeth i lenwi y gwagle a deimlant o fewn. Ac os gellir cael y rhywbeth hwn mewn cysylltiad â chrefydd allanol, os gellir troi y Bibl yn llyfr difyrwch, a chael yn y tŷ addoliad, yr hyn y mae cenedloedd eraill yn eu ceisio yn y chwareudai, a hyny yn foddion i gael arian at ryw achosion daionus ac elusengar, tybiant fod pob peth yn dda, a'u bod hwy o'r diwedd wedi cael allan y gwir foddion effeithiol i adgenedlu cymdeithas, i foesoli y byd. Wele y ddyfais newydd sydd i ateb dyben lle yr oedd yr efengyl yn aneffeithiol; ïe, dybygid, dyma faen yr athronydd a dry hyd yn nod y plwm a'r alcan yn aur! y feddyginiaeth gyffredinol sydd i wella pob afiechyd!

Yr ydym yn cyfeirio at yr ymdrech sydd yn y blyneddau diweddaf hyn yn Nghymru, a chan y Cymry yn nhrefydd Lloegr, i geisio dwyn i arferiad fath o chwarëyddiaethau, cyngherddau, a threithganau, gan mwyaf ar eiriau a thestunau ysgrythyrol, a chan hyny yn cael eu hystyried yn gysegredig, ac o ganlyniad yn gyfaddas i ymarfer â hwynt mewn tai o addoliad. ac hyd yn nod ar y dydd Sabboth. I'r lliaws yr oedd hyn yn beth newydd; a rhyfedd fel y cerddodd y *canu newydd*, fel ei gelwid, ar hyd a lled y wlad, fel tân gwyllt mewn coedwig sych; a thra y parhaodd gwynt dirwest (Ow! dirwest!) i chwythu o'i blaid, yr oedd yn fflamio yn angerddol, ac fel y tybid yn anorchfygol. Ond wedi yr holl glecian a'r clindarddach, yr ymffrost a'r ymwrwst, nid oedd y canu newydd, o ran yr egwyddor o hono, ddim amgen na drychiolaeth o'r hen amser gynt, a'r oesoedd tywyll, digon brawychus yn wir i bawb oedd heb golli llewyrch eu llygaid. Y cyfryw ddefodau a chwareuon ydynt *hen* bethau yn cael eu hailgodi dan amgylchiadau newyddion, hen deganau wedi golchi ychydig ar eu gwynebau, a'u haddurno â mwy o gywreinrwydd celfyddyd, fe allai; ac fel yr hen bethau gynt, yn proffesu bod yn wasanaethgar i grefydd a moesoldeb; ond yn eu heffeithiau yn anfanteisiol i'r naill a'r llall. Hen yw pob peth cyfeiliornus; eto y mae y gwirionedd yn hŷn, ond nid yw byth yn heneiddio. Parchwn y gwirionedd, a glynwn wrtho, ac na huder ni ymaith gan wag-ymddangosiadau a rhith-gywreinrwydd.

Yr ydym yn ystyried pob chwarëyddiaeth grefyddol, gwyrth-chwareuon, moesolion, *interludes*, treithganau, a chyngherddau, oll yn perthyn yn agos i'w gilydd, ac megys aelodau o'r un teulu, wedi deilliaw o'r un âch, a hawdd y gellir dangos mai anachaidd yw hòno. Amcan ein hymchwil presennol, gan hyny, fydd olrhain hanes y dyfeisiau hyn, o'u dechreuad hyd yn awr, ac egluro eu natur a'u heffeithiau, a pha mor bell y mae yn gweddu i Gristionogion ymarfer â hwynt.

Dengys hanesyddiaeth fod gan y Groegiaid a'r Rhufeiniaid eu chwareuon a'u campau ar eu gwyliau cyhoeddus; eu digrif-gerddi a'u prudd-chwareuon (*comedies and tragedies*) oeddynt gynnyrch athrylith eu beirdd enwocaf, y rhai a dderbynient bob cefnogaeth yn eu gwaith. Yr oedd yr hen chwareuon hyny yn dra phoblogaidd, ac yn rhan a chyfran o grefydd y paganiaid;[1] yr oedd y deml a'r chwareudŷ yn anhebgorol y naill i'r llall; yno y moliannent eu duwiau, a chathlau o glodydd y duwiau oedd eu cydganau (*choruses*), y rhai a ganent gyda bywiogrwydd a dyhewyd mawr dros ben.

[1] "*Rollin's Ancient History*:" cyf. i., tudal. 557.

Dywedir mai Iuddew o'r enw Eseciel, tua diwedd yr ail ganrif, oedd y cyntaf a gyfansoddodd chwareu-gerdd ysgrythyrol, yr hyn a wnaeth ar gynllun Groegaidd, a'i destun oedd gwaredigaeth Israel o'r Aipht. Y prif bersonau yn y chwareu oedd Moses, Sepphora, a Duw yn llefaru o'r berth losgedig; a'r amcan oedd gwasanaethu achos *gau* Fessia, o'r enw Moses.[1] Ai tybed y rhaid i rai Cristionogion yn ein dyddiau ni gael gwyrth-chwareuon cyn y gallant gredu yn y *gwir* Fessia?

Yr ydym yn cael fod y prif Gristionogion yn fanwl a phenderfynol yn erbyn chwareudai a chwarëyddiaethau; ac ni oddefent neb yn aelodau eglwysig a fyddai mewn un modd yn gysylltiedig â hwynt. Gwrandawn beth a ddywed Cyprian am chwareuwr oedd yn ceisio proffesu Cristionogaeth, ac eto yn parhau i ddysgu eraill yn y gelfyddyd isel a dirmygus a ddysgasai efe ei hun. "Yr ydych yn gofyn," meddai, "pa un a ddylid ei oddef i barhau mewn cymundeb Cristionogol? Yr wyf yn ystyried ei fod yn dra anghytûn â mawrhydi Duw a rheolau yr efengyl, fod gwylder ac anrhydedd yr eglwys yn cael eu hanurddo â'r fath halogedigaeth cywilyddus." Dengys yna mor groes i air yr Arglwydd (*Deut.* xx. 5) ydoedd arferion penrhydd ac ystumiau anweddaidd y cyfryw chwareuwyr, ac mor ddinystriol i foesau oedd eu gwaith; mai ofer oedd i neb ymesgusodi ei fod ef ei hun wedi gadael y chwareudŷ, os oedd efe yn addysgu ac yn cymhwyso eraill eto i lenwi ei le; ac nad gwiw i'r fath ddadleu ei dlodi yn esgus dros ei gamymddygiad.[2]

Dyma oedd barn Cyprian, a diammhau ei bod yn ol y gwirionedd. Gwell goddef tlodi gyda chydwybod ddirwystr, nac ennill y cyfoeth mwyaf ar draul peryglu dedwyddwch yr enaid. Achwynai y rhai goreu o'r paganiaid yn erbyn penrhyddid y chwareufa, pa faint mwy ei ffieiddid gan Gristionogion effro, ffyddlawn! Mae y gyfundraeth chwareuol yn llygredig, a'r hyn sydd yn faeth i lygredigaeth a gaiff dderbyniad gyda'r lliaws; a'r hyn sydd yn hanfodol ddrwg, ofer yw meddwl am ei ddiwygio. Meithrinfa llygredigaeth oedd ac a fydd y chwareudŷ.

Yr oedd y Cristionogion cyntefig yn ystyriol o hyn, ac ymddangosai iddynt hwy yn anghysondeb dirfawr fod i un a aethai dan adduned ddifrifol i ymwrthod â rhodres a gorwagedd y byd anwir hwn, ymhyfrydu yn nifyrwch y chwareudŷ. Ystyrient hwy yn annichonadwy fod cymundeb rhwng eglwys Crist â'r chwareufa; ac yr oedd eu hymddygiad yn gyson â'u hegwyddorion. Ond beth a ddywedasai Cyprian, pe buasai fyw yn ein dyddiau ni? Buasai yn aruthr ganddo glywed fod perchenogion chwareudai, a chwareuwyr, a chwareuesau, yn casglu cyfoeth dirfawr, pryd y mae llawer o weinidogion ffyddlonaf yr efengyl prin yn cael anghenrheidiau bywyd, a hyny mewn gwlad Gristionogol; a bod duwinyddion mawr eu dysg yn ymrestru i wasanaeth y chwareuglwyd (*stage*), ac yn derbyn clod ac elw drwy ysgrifenu nodiadau ar y beirdd chwaryddol.[3]

Tertulian, yntau, a ddywed am y rhai yn eu bedydd a ymwrthodasant â diafol a'i rodres, nas gallant fyned i chwareudai heb droi yn wrthgilwyr. Eraill o'r tadau oeddynt yn dywedyd yn uchel yn erbyn y cyfryw a fedrent wrandaw digrif-chwareuaeth â'r un clustiau ag y gwrandawent ar bregeth efengylaidd. Chrysostom a alwai y chwareufa yn athrofa aflendid

[1] "*Penny Cyclopædia.*"
[2] "*History of the Church of Christ:*" cyf. i., tudal. 303. *Tract Society.*
[3] "*History of the Church of Christ.*"

ac anlladrwydd, a bod cyrchu i'r fath le yn cau allan o gymundeb, ac oddiwrth fwrdd yr Arglwydd. Barnai Awstin fod y sawl a fynychent chwarëyddiaethau cyhoedd, cynddrwg a'r rhai oedd yn eu darparu ac yn eu chwareu. Y cymanfaoedd eglwysig cyntaf hefyd a'u collfarnent fel pethau annheilwng o rai yn proffesu Cristionogaeth.[1] Y gwir yw, fod y rhai sydd yn ofni Duw, yn mhob oes, yn gytûn yn eu tystiolaeth yn erbyn y pethau hyn. Maent hwy yn deimladwy o ymdrech difrifol yn erbyn llygredd tufewnol, yr hyn nis gŵyr eraill am dano, fel nas meiddiant osod eu hunain yn agored i hudoliaeth a chymhelliadau oddiallan i bechod.

Er mwyn dial y sarhad a daflwyd ar baganiaeth drwy ddysgyblaeth fanol y brif eglwys, yn hyn a phethau eraill, gwnaeth Julian y Gwrthgiliwr, yr ymherawdwr, ddeddf yn gwahardd i'r Cristionogion gael eu dysgu mewn ysgolion cenedlig, na defnyddio eu dysgeidiaeth mewn un modd. Mewn canlyniad, ac i wneyd i fyny y diffyg, wele ddau o eglwyswyr dysgedig, er gwaethaf deddf yr ymherawdwr, yn cymeryd mewn llaw ddarparu addysg a difyrwch i'w brodyr Cristionogol, ar ddull llênyddiaeth y Groegiaid. Y rhai hyn oeddynt dad a mab o'r enw Apolinarius; y tad yn henadur, a'r mab yn ddarllenydd yn eglwys Laodicea, yn Syria, yn y bedwaredd ganrif. O herwydd eu hymgyfeillach âg athronydd paganaidd, ac am na dderbynient rybuddion yr eglwys, torwyd hwy allan o gymundeb. Hwythau, yn lle ymostwng, a ffromasant, ac a aethant yn flaenoriaid ar blaid o Ariaid, y rhai a wadent fod i'n Hiachawdwr enaid dynol. Er eu bod yn ddysgedig, yr oeddynt yn ddiffygiol mewn gostyngeiddrwydd a gwylder duwiol, yr hyn a barodd iddynt fod yn hyf a hyderus, yn anturiaethus a chywrain. Y mab, yn enwedig, wrth drin testunau ysgrythyrol, nid yn unig a efelychai y beirdd Groegaidd, ond hefyd a drodd amryw ranau o hanesion yr Hen Destament a'r Newydd, yn fath o chwareugerddi, ar gynllun Sophocles, a'r cyffelyb.[2]

Yn yr un ganrif, yr ydym yn cael i'r enwog Gregory Nazianzen, Patriarch Caer Cystènyn, gyfansoddi chwareuon allan o'r Hen Destament a'r Newydd, gan droi y cydganau cenedlig yn gathlau Cristionogol o ryw fath, a chymerodd y rhai hyn le yr hen goeg-chwareuon Groegaidd. Dywedir fod un o chwareuon Gregory eto ar gael, ac a elwir "Dyoddefaint Crist," pa un sydd efelychiad o waith cenedlig; a'r patriarch yn y chwareu hwn, meddir, oedd y cyntaf i ddwyn y Wyryf Fair ger bron ar y chwareuglwyd. Dyma un o'r moddau yr oedd "dirgelwch anwiredd yn gweithio" yn y canrifoedd hyn, a'r eglwys yn cydymffurfio â'r byd. Ac er mor llygredig ydoedd dechreuad y chwareuon crefyddol hyn, dirywiasant waethwaeth yn yr oesoedd tywyll, pryd, am ganrifoedd lawer, prif ddifyrwch gŵyliau y Nadolig a'r Calan, fyddai Gŵyl yr Ynfydion, Gŵyl yr Asen, &c., y rhai a gedwid gyda rhwysg mawr, ac â'r defodau mwyaf ynfyd a chywilyddus; eto, ystyrid hwy yn grefyddol![3]

Yn Itali, tua'r flwyddyn 1243, medd Dr. Burney, yr oedd chwarëyddiaeth crefyddol yn arferedig; ac yn 1264, sefydlwyd brawdoliaeth, neu urdd fynachaidd yn Rhufain, prif orchwyl y rhai oedd arddangos dyoddefaint Crist, yr wythnos o flaen y pasc, nid trwy bregethu, ond drwy chwarëyddiaeth. Yn y flwyddyn 1298, chwareuwyd y dyoddefaint yn Frioli; ac ar ŵyliau y Sulgwyn, yn yr un flwyddyn, yr oedd gwŷr llên Civita Vecchia

[1] "*Sandy's Christmas Carols*:" Rhagarweiniad; tudal. xv, xvi.
[2] "*History of the Church of Christ.*" [3] Yr un.

yn chwareu "Y Crist," hyny yw, ei ddyoddefaint, ei adgyfodiad, ei esgyniad, y farn, a disgyniad yr Ysbryd Glân. Yn 1304, chwareuent greadigaeth Adda ac Efa, cyfarchiad Mair, genedigaeth Crist, &c., yn y rhai y trinid pethau pwysig crefydd yn y modd mwyaf gwarthus, mewn ymadroddion isel a bras, a phersonau a phethau cysegredig yn cael eu dal allan yn y modd mwyaf gwawdlyd a dirmygus.

Yn y modd hyn, gwelwn fod Eglwys Rhufain, yn yr oesoedd tywyll, yn defnyddio yr hanesion ysgrythyrol yn destunau chwareuon i ddifyru y werin, er mwyn eu denu oddiwrth chwarëyddiaethau halogedig ar y ffeiriau a'r gŵyliau, neu yn hytrach, er mwyn dwyn y bobl yn fwy llwyr dan ddylanwad yr offeiriadon. Y chwareuon hyn a elwid yn ddirgeledigaethau (*mysteries*), gwyrth-chwareuon (*miracle plays;* yn y Gernyweg, *gware miracle*), moesolion (*moralities;* math o chwareuon allegawl), ac interlutiau (*interludes*); ac y maent eto yn cael eu cynnal yn y gwledydd Pabaidd, ac yn y conglau tywyllaf o'r gwledydd Protestanaidd, ymhlith y werin anwybodus. Yr oeddynt yn gynnwysedig o ganu bob yn ail, arddangosiadau, a chyflawniadau chwaryddol, ystumiau, a dawnsio, a phersonau yn ymddyddan ac yn gweithredu yn lle, neu yn cynnrychioli y personau a grybwyllid yn yr hanesion ysgrythyrol a ddefnyddid, a rhai dychymygol yn cael eu chwanegu atynt; a byddai y cyfryw goeg-chwareuon, weithiau, yn parhau amryw ddyddiau, a llawer iawn o ynfydrwydd gwatwarus yn cael ei gymysgu â phethau difrifol yr ysgrythyrau. Fel y gallo y darllenydd gael rhyw ddirnadaeth am y chwarëyddiaethau hyn, gosodwn yma restr o'r testunau mwyaf nodedig, wedi eu cymeryd allan o hen gasgliadau chwaryddol:—1. Y Cread. 2. Cwymp Dyn. 3. Marwolaeth Abel. 4. Dylif Noah. 5. Aberth Abraham. 6. Moses a'r ddwy lech. 7. Achau Crist. 8. Beichiogiad Anna.[1] 9. Mair yn y deml. 10. Dyweddïad Mair. 11. Y Cyfarchiad a'r Ymddwyn. 12. Dychweliad Joseph. 13. Yr Ymweliad âg Elisabeth. 14. Prawf Joseph a Mair. 15. Genedigaeth Crist. 16. Offrwm y Bugeiliaid. 17—18. Addoliad y Doethion.[2] 19. Y Puredigaeth. 20. Galanas y Gwirioniaid. 21. Crist yn dadleu yn y Deml. 22. Bedydd Crist. 23. Y Temtiad. 24. Y Wraig a ddaliwyd yn godinebu. 25. Lasarus. 26. Cynghor yr Iuddewon. 27. Mair Magdalen. 28. Bradychiad Crist. 29. Herod. 30. Prawf Crist. 31. Breuddwyd Gwraig Pilat. 32. Y Croeshoeliad. 33. Disgyniad Crist i Uffern (i waredu oddiyno Adda ac Efa, ac Ioan Fedyddiwr!). 34. Selio y Bedd. 35. Yr Adgyfodiad. 36. Y Tair Mair. 37. Crist yn ymddangos i Mair Magdalen. 38. Y Pererinion i Emmaus. 39. Yr Esgyniad. 40. Disgyniad yr Ysbryd Glân. 41. Dyrchafael y Forwyn. 42. Dydd y Farn.

Tybia rhai fod gan yr eglwyswyr Pabaidd amcan i daenu rhyw gymaint o wybodaeth ysgrythyrol drwy y cyfryw chwareuon, ond nid yw hyny yn debyg; prin oeddynt hwy bob amser yn nghyfraniad gwybodaeth i'r bobl, ac amlwg yw nad oedd ganddynt un dyben uwch na'u difyru â chwarëyddiaeth, a'u dal i lynu wrth yr eglwys, drwy gymeryd pethau

[1] Anna, yn ol traddodiad y Pabyddion, oedd fam y Wyryf Mair.

"*Anna* yn ddiwegi oedd wraidd y daioni,
A *Mari* oedd yn llenwi 'r llawenydd."
Achau Mair.—"Blodeugerdd;" tudal. 8.

[2] Y tri brenin:—Melchior, Gasper, neu Jasper, a Balthazar; neu gân y Cymry, Melsior, Shesbar, a Bethasar. "Blodeugerdd;" tudal. 150.

sanctaidd yn destunau cellwair a digrifwch, rhy wrthun a chableddus i'w hadrodd.[1] Tan ddylanwad y twyll offeiriadol hwn, gweled y chwarëydd-iaeth oedd y cwbl i gyd gan y bobl—yr olygfa er ei mwyn ei hun yn unig, ac nid er mwyn y mymryn bychan o wybodaeth ysgrythyrol a gynnwysid ynddi. Nid oedd yr offeiriaid eu hunain yn gwybod ond ychydig, lawer o honynt heb weled y Bibl erioed; ac nid oedd yr ychydig a wyddent ond traddodiadol, ran fynychaf; ond wrth weled y bobl yn awyddus am y cyfryw olygfeydd, yr oedd yr offeiriaid yn ymroddi i borthi eu chwidredd penchwiban, drwy wisgo yr hanesion ysgrythyrol â'r addurniadau mwyaf dychymygol, plentynaidd, ac ynfyd, nes bod yr hanes syml wedi ei lwyr orchuddio â phob rhyw ffolineb cableddus, a thuedd y cwbl i dywyllu y meddwl, halogi y serchiadau, a meithrin coelgrefydd, fel y bu yn eithaf naturiol—"un fath bobl ac offeiriaid;" *Hos.* iv. 9.

At hyn hefyd, ychwanegwyd yr hanesion perthynol i'r prif ŵyliau, megys y Nadolig, y Pasg, &c., er mwyn gwneuthur y bobl yn ddigon eiddgar drostynt, ac ymlyngar wrthynt. Hefyd, gwyrthiau a rhinweddau y saint a'r santesau a arddangosid gyda dyhewyd neillduol ar y gŵylmab-santau. Yr offeiriaid oedd ysgrifenwyr y chwareuon hyn, a hwy, yn benaf, a fyddent yn eu chwareu; ac er mwyn diogelu eu helw a'u dylanwad eu hunain, gwaharddent i'r bobl gyffredin ymyraeth â hwynt. Nid yn unig byddai yr eglwyswyr yn eu chwareu yn yr eglwysi, ond hefyd yn ymddangos ar y chwareu-glwyd, mewn lleoedd cyffredin, ac nid yn unig ar ddyddiau gwaith, ond hefyd ar yr uchel-ŵyliau a'r Sabbothau.[2]

Tystia hen ysgrifenwyr, y byddai yr offeiriaid gwladol yn arfer rhedeg yn eithaf brysiog dros wasanaeth y foreuol weddi ar y Sabboth, os byddai rhyw chwareuon, campau, dawnsiau, maeddu arth neu darw, rhedeg mulod, ymladd ceiliogod, neu y cyffelyb, i'w cynnal yn rhywle yn y plwyf yn y prydnawn; neu os byddai *interlude* i'w chwareu, os na cheid un lle arall, rhaid fyddai gwneuthur hyny yn y llan neu yr eglwys! Dyma oedd agwedd pethau mewn rhai manau mor ddiweddar ag amser y frenines Elizabeth, ac yn llawer diweddarach.[3] Ymwrthododd Shakspeare â thestunau ysgrythyrol, a defnyddiodd hanesion a thraddodiadau cyffredin yn eu lle, gan amcanu gwella chwaeth y chwareufa. Fel bardd, addefir ei ragoriaeth, ac y dichon dyn gael addysg drwy ddarllen ei waith, er fod llawer o ynfydrwydd ynddo; ond ni phetruswn ddywedyd yr ateba ei ddarllen y dyben yn llawer gwell na myned i'w edrych yn cael ei chwareu.[4]

Mae yn hysbys fod Huw Morus, y bardd, yn ei ddyddiau boreuol, wedi ysgrifenu chwareu-gânau cysegredig yn y Cymraeg; ond nid oes namyn ychydig ganiadau yn weddillion o honynt ar gael yn yr oes hon. Gellir eu gweled yn y casgliad o'i waith a gyhoeddwyd gan y diweddar Barchedig Walter Davies, yn 1823, dan yr enw "Eos Ceiriog:" llyfr ii., tudal. 13—20, a 60—67. Mae y flaenaf ar Ddammeg y Mab Afradlawn, a'r llall ar Ddammeg Nathan, ac edifeirwch Dafydd. Os cymer y darllenydd y drafferth i'w cymharu â'r treithganau diweddar yn ein hiaith, tybiem nas

[1] "*Cambro Briton:*" cyf. ii. tudal. 234, &c.
[2] "*Penny Cyclopædia.—Sandy's Carols:*" Rhagarwaeniad, tudal. xvii.
[3] "*Sandys' Carols;*" Rhagarweiniad, tudal. xx, xxi.
[4] Addefir fod "Samson Agonistes," eiddo Milton, yn farddonol; ond pa fudd a ellid gael oddiwrth ei chwareu yn gyhoeddus, nad ellid ei gael yn llawer mwy diberygl drwy ei ddarllen?

dichon iddo lai na gweled y tebygrwydd sy rhyngddynt, a bod yr hen fardd yn well duwinydd nag ambell fardd a cherddor parchedig yn ein dyddiau ni.

Yr oedd chwarëyddiaethau o'r fath yma yn cael eu harfer yn Nghymru hyd o fewn cof gan rai hen bobl. Adwaenem un a welsai *interlude* y brenin Dafydd yn cael ei chwareu, ac echrydus yn wir oedd y darluniad. Amcan proffesedig y chwareuaeth oedd dangos drwg y pechod y syrthiasai y brenin duwiol iddo; ond yr oedd ei thuedd drwyddi oll i danio nwydau mwyaf afreolaidd natur lygredig. Clywsom hynafgwr parchus yn darlunio yr un chwareuaeth mewn man arall, a darfod i flaenor y chwareuaeth gael ei argyhoeddi yn ddwys o bechadurusrwydd yr arferiad, ac iddo mewn canlyniad alw i fyny bob copi o'r *interlude* a fedrodd ei gael, i'r dyben o'u llosgi. Ar brydnawn Sabboth yn gyffredin y cynnelid y chwareuon hyn, a chesglid y bobl ynghyd drwy ganu cyrn ar hyd y gymydogaeth, ond weithiau fe 'u cyhoeddid yn y llanau yn union ar ol y gwasanaeth boreuol. Yr oedd Thomas Edwards, o'r Nant, yn hynod yn ei amser am yr oferedd hyn; yr oedd amryw o'i chwareu-gerddi ef ar destunau o'r Bibl, ond wedi eu gosod allan mewn ymadroddion isel, ac yn cynnwys yn fynych awgrymiadau tra anweddaidd. Pethau llygredig felly oedd yn cymeryd gyda'r werin anwybodus ac ynfyd, ac wrth borthi y chwidredd hwnw yr oedd y bardd yn myned yn boblogaidd, ond nid heb beth gofid oddiwrth ei gydwybod, fel yr addefa ef ei hun.[1]

Mae yn amlwg fod y llygredigaethau hyn yn myned yn waeth-waeth wrth eu harfer; ac yr oedd pobl o synwyr ac athrylith yn teimlo awydd am eu diwygio; a'r ddyfais y syrthiwyd arni, tuag at gael hyny o amgylch, oedd dwyn i arferiad dreith-gânau yn eu lle. Gelwir y rhai hyn yn gyfansoddiadau cysegredig, gan eu bod yn seiliedig ar hanesion ysgrythyrol mewn prydyddiaeth goethedig, neu weithiau ddetholion o adnodau o'r Bibl yn unig, wedi eu gosod ar gerddoriaeth o'r fath gywreiniaf. Maent yn cynnwys llawer o amrywiaeth, ond oll ar yr un tegwyddor, ac heb wahaniaethu dim o ran eu natur a'u dyben oddiwrth y "Dirgeledigaethau" gynt, ond fod y gerddoriaeth yn fwy cywrain—yn cynnwys adrodd-gânau, peroriaethau, deuodau, trïodau, pedrodau, a chyd-gânau; a'r chwareu yn benaf yn gynnwysedig yn y gerddoriaeth, yr hon yn fynych a geisir ei gwneyd yn ddynwaredol.

Dywedir mai offeiriad Pabaidd yn ninas Florence, sef S. Philip de Neri, oedd y cyntaf i ddwyn treith-gânau i arferiad, yn 1540. Wrth weled fod chwaeth yr Italiaid at ddifyrwch cerddorol, ac er mwyn swyno y bobl i lynu wrth eu heglwys,[2] penderfynodd y cai bonedd a gwreng gydfwynhau y cyfryw ddifyrwch ar y Suliau a'r gŵyliau, yn ei eglwys, ar ol y gwasanaeth; ac i'r dyben hwn rhoddes ar waith y prydyddion a'r cyfansoddwyr goreu i ysgrifenu ymddyddan-gerddi ar brif faterion yr ysgrythyrau, a chenid y cyfansoddiadau hyny gan y lleisiau goreu, a chyda phob math o offerynau. Y testunau fyddent y rhai hyn a'u cyffelyb:—Job a'i Gyfeillion, y Mab Afradlawn, yr Angel Gabriel a'r Forwyn, Dirgelwch yr Ymgnawd-

[1] Dengys rhai awydd mawr am adferu yr hen ofer bethau hyn, a ddinystriwyd gan oleuni yr efengyl, gan gynnyg gwobrau am gyfansoddiadau newyddion i'r pwrpas, ac am y casgliadau llawnaf o'r hen rai, dan nawdd Eisteddfodau. Nid rhyfedd myned eu hynfydrwydd yn amlwg i bawb, fel na fedrant gael cefnogaeth ddigonol.

[2] Yr oedd hyn yn fuan wedi dechreu yr ymosodiad egniol ar y Babaeth drwy y Diwygiad Protestanaidd.

oliad, &c. Ni arbedid dim er gwneuthur y cwbl yn ddeniadol, ac yr oedd newydd-deb a pherffeithrwydd celfyddydol y cyflawniadau yn tynu lliaws mawr o wrandawyr, y rhai a gyfranent yn helaeth, mewn taliadau arianol ar eu mynediad i mewn, at y costau a'r treuliadau. Dyma oedd dechreuad yr hyn a elwir yn awr yn dreith-gânau, neu arddangosiadau cerddorol cysegredig, at yr hyn y cafodd rhai o'r talentau dysgleiriaf eu cyflwyno gyda diwydrwydd ac ymdroddiad mawr. Mae yr enw *oratorio*, dybygid, yn deilliaw oddiwrth enw y lle y cynnelid y cyfryw chwareuon ar y cyntaf, sef yr *oratory*, neu gapel bychan a elwid felly.[1]

Handel oedd y cyntaf i ddwyn treith-gânau i sylw yn Lloegr, tua'r fl. 1720, pryd y gosododd efe y *tragedy* a elwir "Esther" ar gerddoriaeth, at wasanaeth Capel y Dug Chandos, yn Cannons. Aeth yn fuan yn fwy cyhoeddus, ac yr oedd y gymeradwyaeth a gafodd yn dra annogaethol. Tebygol ei fod yn amcanu dyddyfnu ei wrandawyr oddiwrth chwarëyddiaethau isel ac ofer, a meithrin chwaeth at gerddoriaeth ddiwylliedig; eto, amlwg yw mai ar yr un egwyddor yr oedd yntau yn gweithredu, sef troi pethau sanctaidd yn ddefnydd difyrwch yn unig. Er mwyn ennill dylanwad y mawrion o'i du, gwnaeth ei gyflawniadau hyn yn wasanaethgar i sefydliadau elusengar, haelionus, a dyngarol, a hyny gyda gradd helaeth o lwyddiant. Ei brif dreith-gânau a ymddangosasant o fewn ugain mlynedd o'r flwyddyn a enwyd, ac yr oedd yr enwocaf o honynt, y "Messiah," wedi ei chwareu yn gyhoeddus yn Llundain tua 'r flwyddyn 1741.

Nid oes a fynom â chelfyddgarwch y cynnyrchion hyn, a'u cyffelyb, nac â dysg a doniau eu cyfansoddwyr; y cwbl a amcenir yn yr olrheiniad presennol yw dangos fod yr holl gywrain bethau hyn, *yn eu cysylltiad â chrefydd*, yn seiliedig ar egwyddor gyfeiliornus; nad oes gyfaddasrwydd ynddynt i feithrin teimladau crefyddol priodol, ac nas bwriadwyd hwynt i hyny erioed. Mae yn eglur, dybygem, i bob dyn ystyriol, fod y treithgânau diweddar, y ceisir gwneuthur cymaint o honynt, o ddechreuad Pabaidd, a dyna eu gwir hanes; ac fe 'u dygwyd i fysg Protestaniaid, nid er gwasanaeth crefydd efengylaidd, ond er difyrwch i bendefigion y ddaear, y rhai a'u cefnogent. Pa rai o'r cerddorion enwog nid ymwelsant â phrifddinasoedd Pabaidd y cyfandir, ïe, â Rhufain ei hun, er perffeithio eu hunain yn eu celfyddyd? Ai i Rufain, ynte, wedi y cwbl, yr awn i ymofyn am gerddoriaeth grefyddol dda? Mae rhai dynion da, dybygid, o ddiffyg gwahaniaethu rhwng yr hyn sydd briodol ac addas i grefydd, oddiwrth yr hyn a fwriadwyd i ddifyrwch yn unig, yn agored i gamsynied am ei natur, rhag ofn cael eu hystyried yn ddichwaeth at gelfyddyd. Gyda gwylder y rhaid coffâu gair o eiddo yr enwog D'Aubigne, pan wrth sôn am ganiadaeth y Diwygiad, y dywed,—"Er amser Luther, y bobl a ganasant; y Bibl a gynhyrfodd eu caniadau, a'r cyffro yn nghyfnod y Diwygiad, a gynnyrchodd yn y blyneddau diweddar y treith-gânau ardderchog a ymddangosasant megys cyrhaeddiad uchaf y gelfyddyd hon" (cerddoriaeth).[2] Ni chydsaif y rhan olaf o'r dyfyniad hwn â'r hanes blaenorol a dderbynir gan brif amddiffynwyr y cyfryw bethau. Nid oes achos celu y gwir, er dangos fod Protestaniaeth yn fwy ffafriol i'r celfyddydau, nag yw y grefydd Babaidd. Am Eglwys Rhufain (cywilydd iddi!) ni fu hi erioed eto yn gefn i gelfyddyd a gwybodaeth o'i bodd, ddim

[1] "*Penny Cyclopædia.*"
[2] "*History of the Reformation in the Sixteenth Century:*" cyf. iii., llyfr x., pen. 9.

pellach nag y byddent yn wasanaethgar i'w rhwysgfawredd a'i huchafiaeth ei hun. Ond er fod dyben Cristionogaeth yn anfeidrol uwch na meithrin celfyddydau, yr hyn nid yw yn un rhan o'i chenadwri, nid rhaid ond cymharu gwledydd y byd Cristionogol â'u gilydd er cael prawf mai Protestaniaeth sy fwyaf ffafriol i'r celfyddydau a chynnydd gwybodaeth, ac yn eu defnyddio er gwareiddiad, cysur, a defnyddioldeb y bobl. Mae gan Babilon anghristaidd ei cherddorion a'i cherddoresau, ei chrefftwyr, a'i masnach o bob math, mae yn wir, a'r cyfan yn cael eu gwneuthur yn wasanaethgar i'w hudoliaeth a'i swyngyfaredd hi; ond mae mor wir a hyny, fod ei chân a'i cherddoriaeth, ei gwaith, ei masnach, a'r rhai a'u dygant ymlaen, i ddystewi am byth yn fuan bellach, er mor flodeuog yr ymddangosant yn awr. Na fyddwn gan hyny gyfranogion o'i phechodau hi; *Dad.* xviii. 21, 22.

Mae yr ystyriaethau canlynol yn dangos anghyfreithlondeb yr holl bethau y buom yn son am danynt.

1. Nis gall yr eglwys gydymffurfio â'r byd, hyd yn nod yn ei bleserau. Mae gan y byd ei *sacred drama*, *sacred music*, ei *sacred concerts*, ei *oratorios*, a mawr y dyrchafu sydd arnynt yn y *theatres* a chynnullfanau cyhoeddus; ond a raid i eglwys Crist droi a gwaeddi, Mawr! am bob peth a eilw y byd yn fawr? Na, os myn gadw ei dylanwad iachusol ar y byd afiach, ymogeled rhag blysio hyd yn nod ei ddifyrwch; 1 *Ioan* ii. 15, 16, 17. Pa gysondeb sydd mewn bod i weinidog yr efengyl ymddangos dan gymeriad chwareuwr, ac fel llywydd y chwarëyddiaeth? Oni ddinystria hyn ei ddylanwad gweinidogaethol? Yn moreu Cristionogaeth, ni oddefid y fath beth mewn aelodau cyffredin, rhagor swyddwyr yr eglwys.

2. Mae troi pethau cysegredig yn ddefnydd difyrwch i'r anystyriol a'r gwammal, yn eu darostwng i'r un sefyllfa a phethau cyffredin, ac yn tueddu i'w gwneyd yn aneffeithiol i'w dyben priodol; ac, ar yr un pryd yn codi difyrwch anianol yn uwch na mwynhad o hyfryd lais yr efengyl a gwleddoedd yr iachawdwriaeth. Mae penboethni a ffug ysbrydolrwydd yn arwain yn naturiol i eithafion o'r fath.

3. Mae natur y gerddoriaeth dan sylw, yn ei hanghymhwyso yn hollol i wasanaeth yr addoliad Cristionogol; nid oes gyfaddasrwydd ynddi i fod yn gynnorthwy i addoli, ond lle y byddo hyny yn cael ei osod yn gwbl mewn cyflawniadau allanol o ddefodau rhwysgfawr. Os bydd cywreinrwydd y gerddoriaeth yn gofyn y gofal manylaf i guro a chadw yr amser, cyfrif y banau a'r mynych adroddiadau, os bydd yn llawn gorchestion celfyddydol, ac yn myned allan o gyrhaedd cylch cyffredin y llais dynol, pa fodd y dichon y meddwl ddal ar bethau ysbrydol dan y fath amgylchiadau? Mae cerddoriaeth y chwareudŷ hefyd yn rhy gynhyrfus i'r addoldŷ, ac yn dyfetha y chwaeth at ganiadaeth syml ac adeiladol, fel y canfyddir yn amlwg yn y rhai mwyaf ymroddgar i'r fath gerddoriaeth; maent fel pobl wedi ymroddi i yfed *whiskey*, *brandy*, a'r fath wirodydd poethion gwenwynig, heb flâs ganddynt at ddwfr a llaeth iachus a rhinweddol. Cofied llwyrymattalwyr fod anghymedroldeb o bob math i'w ochelyd, os mynant fod yn gyson; ac y dylai y moddion a arferant fod yn gymhwys i gyrhaedd y dyben; os amgen, ofer yw dysgwyl llwyddiant.[1]—Ond am ganiadaeth

[1] Yr oedd yn resyn gweled mewn rhai Cymanfaoedd Dirwestol, gynnifer o gorau, ar ol misoedd o ymbaratoad llafurus, yn canu y fath rigymau; truenus dan yr enw o "Hymnau ac Anthemau Dirwestol." Pa fodd y mae yn ddichonadwy i waith da lwyddo, pan y cysylltir âg ef gymaint o ynfydrwydd, ac y dygir llawer mwy o eiddigedd dros

grefyddol, mae hono yn syml a gweddus, yn ddifrifol a tharawiadol, yn doddedig a dyddanus, yn siriol a gorfoleddus; ond nid yn orwyllt gynhyrfus, na chwyddedig a rhodresgar. Mae yn wybodaeth hawdd ei chyrhaedd heb ormesu ar derfynau dyledswyddau eraill. A ydyw crefyddwyr Cymru yn gwneyd chwareu teg â'r rhan hon o waith yr Arglwydd? A yw caniadaeth y gynnulleidfa yn cael yr ymgeledd a ddylai? Mae lle i ofni fod rhai yn treulio eu nerth a'u hamser gyda chôr-gantoriaeth a chyngherddau yn hollol i'r dyben o gael eu gweled a'u moliannu gan ddynion; a gwych y maent yn derbyn eu gwobr! Y fath ddyheuad am *encore;* a'r fath barodrwydd i roddi eithaf cymeradwyaeth trwy guro traed a dwylaw, drachefn a thrachefn, nes y byddo muriau yr addoldŷ yn diaspedain, a'r ffenestri yn crynu!

4. Mae yr arferion hyn yn parotoi ieuenctyd ein gwlad yn ebyrth i'r chwareudai, drwy feithrin chwaeth ynddynt at, a'u cynnefino â defodau y cyfryw leoedd. Os yr un, neu gyffelyb bethau a geir yn yr addoldŷ ag yn y chwareudy, neu os ar gynllun chwarëyddol y dygir ymlaen ganiadaeth y tŷ addoliad, pa reswm sydd i'w roddi yn erbyn myned i'r chwareudai, a lleoedd difyrwch, a phaham na ellid agoryd y cyfryw leoedd ar y Sabboth?[1] Onid ellid cael dynwared pregethu yno, fel y gellid dynwared gweddïo yn y capel? Mor bell oddiwrth attal neb rhag myned i'r cyfryw leoedd, ni wna chwarëyddiaeth yr addoldy ond cryfhau yr awydd i'r chwareudy, lle y ceir y difyrwch yn llawer perffeithiach, mor bell ag y mae celfyddyd yn cyrhaedd.

5. Nid yw cynnyrch arianol y cyfryw arddangosiadau at ddybenion elusengar neu grefyddol, ddim yn deilwng o'r enw "haelioni Cristionogol;" oblegid mae y cyfranwyr, yn eu tyb eu hunain, yn cael llawn werth eu harian mewn difyrwch. Os rhydd dyn hanner coron neu goron at gyngherdd, pryd na roddai dair ceiniog at yr elusen neu gasgl crefyddol oni bai eu cysylltu â'r gyngherdd, cyfranu y mae at gynnal difyrwch, ac nid at elusen neu achos crefyddol ar eu teilyngdod eu hunain. Nid oes yn

y ffoleddau hyny mewn canu ac areithio, na thros yr achos da ei hun? Goddefir i rai ddywedyd yn erbyn dirwest yn lled dawel; ond y neb a yngano air yn erbyn y pethau anweddaidd ac anfuddiol hyn, fe syrth dan yr anathema fawr, tebyg i'r esgymundod mwyaf. Daeth meddwdod i mewn i eglwys Corinth yn rhith cyfranogi o Swper yr Arglwydd; a phwy a fuasai yn meddwl y daethai llifeiriant o anystyriaeth i'n mysg ninnau yn nghysgod dirwest? Nid bai yr achos da oedd hyn, ac ni ddylid ei roddi i fyny o herwydd yr amryfusedd; ond dylai pawb a garant ei lwydd wneyd ymdrech i'w ryddhau oddiwrth bob cysylltiad tramgwyddus ac anffafriol. Pa nifer o gynlluniau buddiol, er planu a meithrin egwyddorion dirwestol a moesoldeb ymhlith y bobl, ac yn enwedig yn meddyliau y genedl ieuainc, sydd yn cael eu hesgeuluso ymron yn hollol? Pa ymdrech a wneir yn yr Ysgolion Sabbothol, ac yn y cynnulliadau eglwysig, trwy gynghori a dysgu mewn addfwynder, cariad, a phwyll; a thrwy ymweliadau o dŷ i dŷ, yn benaf lle y byddo pobl feddwon yn preswylio? Pa ddefnydd a wneir yn ein plith ni o'r wasg, mewn argraffu a thaenu traethodau buddiol—y pregethwyr dystaw ond effeithiol hyny—yn y manau y mae mwyaf o'u hangen? Rhaid addef mai nesaf peth i ddim; ond yn hytrach gwastraffu ugeiniau o bunnoedd ar gyfarfodydd mawrion, corau, banerau, a gwag-ddefodau; gwneyd penderfyniadau lawer, ond heb roddi dim mewn gweithrediad, oddieithr yr hyn ni ddylesid, sef ffurfio math o wasanaeth crefyddol nad yw debyg i ddim ond i chwareuaeth. Yn lle ymddibynu ar gynhyrfiadau a rhuthrau, gwell o lawer fyddai arfer diwydrwydd a chysondeb gyda moddion cyfaddas; felly y bydd y gwaith da, fel y lefain yn y blawd, yn gweithio yn ddystaw yn raddol, er hyny yn effeithiol a sicr.

[1] Gwel y traethodyn Seisnig buddiol, "*The Christian Sabbath scripturally considered,*" yn erbyn y bwriad o agor y Palas Gwydr yn Sydenham ar ddydd yr Arglwydd.

hyn le i gymeradwyaeth na gwobr, "gan ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd;" *Mat.* vi. 1; x. 40—42.

6. Heblaw hyn, nid oes rwymedigaeth ar Eglwys Crist i ddarparu difyrwch anianol i'r bobl ieuainc a'r gwrandawyr annychweledig. Pa ddifyrwch a all gymeradwyo i'r rhai sydd yn parhau yn anufudd i'r efengyl? Dim oll.[1] Dylai yr eglwys ymdrechu i wasgaru perarogledd gwir grefydd yn mhob man, a dangos i bawb fod ffyrdd doethineb yn ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau yn llwybrau heddwch, bod iau Crist yn esmwyth a'i faich yn ysgafn. Dylai crefyddwyr fel aelodau cymdeithas gefnogi addysg fuddiol, a sefydliadau daionus, hyd y gallont, a'u cadw yn ofalus rhag eu cysylltu â dim a fyddo yn ormes ar gydwybod. Ond mae defnyddio tai addoliad yn lleoedd o ddifyrwch cyhoeddus yn *dori ymddiried*, gan mai i'r dyben o gynnal addoliad ac addysg grefyddol yr adeiladwyd hwynt, ac y cyfranwyd tuag at eu hadeiladu. Digon chwithig yn wir yw clywed rhai yn ymgyfenwi ar enwau Puroniaid ac Anghydffurfwyr duwiol yr oesoedd a aethant heibio, yn medru galw eu brodyr crefyddol yn *rhith sancteiddiol*, am na feiddiant gydredeg â hwynt i'r fath eithafion peryglus; nid am fod y naill le yn fwy cysegredig na'r llall, ond ei fod yn *gysegr-yspeiliad* troi at wasanaeth cyffredin y tir a brynwyd, a'r tai a adeiladwyd, yn unig i ddybenion crefyddol, trwy gydroddion gwirfoddol pobl grefyddol, ac a ddiogelwyd trwy ammodau gweithredoedd trosglwyddiad y meddiannau i ymddiriedolwyr yr eglwysi i'r dybenion hyny.

Dealled y darllenydd, nad oes yn yr ysgrif hon ddim cyfeiriad at un enwad o grefyddwyr mwy nag eraill, ond y mae yn cael ei chyflwyno i sylw ystyriol Cristionogion Cymru yn gyffredinol, pob enwad fel eu gilydd. Ofnwn fod llawer yn ein mysg yn agored i gael eu hudo trwy ymddangosiadau teg, a thrwy hyny syrthio i ddirywiad. Na thwyller ni gan y byd dau wynebog; "canys y mae plant y byd hwn yn gallach yn eu cenedlaeth na phlant y goleuni," ac yn ddigon craff i ganfod anghysonderau crefyddwyr; deuant ond odid i'r gynghordd gysegredig, cewch eich ffafrio â'u cymeradwyaeth, ymunant â chwi i redeg i lawr y sawl a geisiant eich darbwyllo, a dywedant y gellid canu eich caniadau chwi yn y nefoedd ei hun (nefoedd Mahomet, fe allai); ond wedi myned allan, chwarddant yn eu llewis am ben eich gwiriondeb. Dylai dysgyblion Crist ofalu am fod "yn gyfrwys fel seirff, ac yn ddiniwed fel colomened." Gobeithiwn fod yr awgrymiad hwn yn ddigon ar hyn yma.

---

## TRIDIAU YN ABERTAWE.

ABERTAWE yw y dref fwyaf boblog yn Nghymru. Y mae ei phoblogaeth yn rhifo rhwng deg ar hugain a phymtheg ar hugain o filoedd. Tref go wastad yw, yn gorwedd yn ngodrau Cwm Tawy, ar yr aber lle yr ymarllwys yr afon i'r *Bristol Channel*, ar gŵr gorllewinol Morganwg. Cylchynir hi gan liaws o weithiau glo a chopr. Cynnydda ei masnach a'i thrigolion gyda buandra rhyfeddol. Y mae rheilffordd Deheudir Cymru wedi rhoddi

[1] Gwel "*James' Christian Father's Present to his Children.*" Pen. xv, xvi.

cyffroad mawr ynddi. Y mae ei llongborth yn prysur gael ei eangu, a bwriedir cychwyn yn fuan reilffordd newydd eto o honi i fyny trwy Bont-y-pŵl a Henffordd, i gysylltiad â'r *North Midland Railway*. Gwna hyn ddaioni annhraethadwy i fasnach y dref hon a'r cymydogaethau eto.

Er mai yn ngwlad Morgan Mwyn Mawr, yr hen Gymro, y mae Abertawe, Seisneg yw iaith gyffredin y trigolion, a Seison yw lliaws mawr o honynt. Ac er mai llef ei hysbryd mawr hi yw "Arian! arian! arian!" eto, y mae hi ar y cyfan yn dref go grefyddol. Y mae amlder ei haddoldai yn rhyw brawf o hyn. Ceir yn y dref a'i hamgylchoedd, dri o lanau mawrion; saith o addoldai gan yr Annibynwyr; Methodistiaid Calfinaidd, chwech; Bedyddwyr, chwech; Wesleyaid, dau; Iarlles Huntingdon, un; Pabyddion, un; Methodistiaid cyntefig, un; Unitariaid, dau; Cyfeillion, un; a chan yr Iuddew ei synagog; yr oll yn un ar ddeg ar hugain. Y mae ynddi hefyd ysgolion rhagorol, ac amryw sefydliadau daionus. Ymhlith cynnyrchion y wasg, daw allan o'r dref hon ddau newyddiadur wythnosol, ac un cylchgrawn misol. Ymwela miloedd o ddyeithriaid â'r dref bob haf, o'r gweithiau yn Morganwg a Mynwy, a'r cymydogaethau eraill, i newid awyr, ac i ymolchi ac ymiachau yn nyfroedd hallt y môr.

Treuliasom dridiau hynod o hapus yn y dref hon yn niwedd mis Ebrill diweddaf. Yn ychwanegol at y dyddordeb a'r pleser arferol a fwynhëir genym wrth ymweled â'r lle, dygwyddodd yn ffodus fod yno gyfarfod crefyddol mawr yn cael ei gynnal gan y Methodistiaid Calfinaidd ar y dyddiau. Daeth i'n clustiau y dysgwylid rhai o brif weinidogion yr enwad yn Nghymru yno, a thyrfa o'i swyddogion o holl siroedd y Deheudir. Yr oedd dylanwad y cyfarfod hwn wedi rhedeg i raddau pell trwy yr holl dref, a dyfodiad y miloedd dyeithriaid yn synu y trefwyr. Yr oeddym wedi meddwl rhoddi cipolwg i'r darllenydd ar y pethau a welsom yno—ar rai o brif gymeriadau y dref, a rhai cyfeillion y dygwyd ni ar eu traws yn ein hymweliad, ac yn enwedig, rai gweilch y buasai yn hapus genym roddi tipyn o ryddid i'r ysgrifell wrth redeg drostynt—fe allai y cawn gyfle ryw dro eto. Ond gan mai byr yw ein hysgrif bresennol i fod, a chan mai yn y cyfarfod hwn y treuliasom fwyaf o'n tridiau, ac mai ynddo y cawsom y pleser a'r mwynhad mwyaf, cyfyngwn ein helynt yno y waith hon, yn unig i air o'i hanes.

Rhwng dau a thri o'r gloch prydnawn dydd Mercher, gwelem dyrfaoedd yn ymarllwys o'r gwahanol ystrydoedd, tua 'r un cwr—i gae glas llethrog, wrth daleen Eglwys y Drindod. Yr oeddym ninnau yn eu plith, yn prysur hobio ymlaen, yn frwd ein bryd am wrandaw y bobl ddyeithr oedd yn myned i agor eu genau uwch ben y dyrfa fawr yn yr awyr agored. Cofiem fod hon yn hen ffasiwn o bregethu, wedi ei harfer gan Grist a'i apostolion, a'u canlynwyr ar eu hol. Yr oedd yno filoedd ynghyd cyn ein bod wedi cyrhaedd yr ysmotyn. Tybed, sibrydai ein meddwl, y medr siarad dau neu dri o'r bobl acw, ydynt ar yr esgynlawr döedig gyferbyn a ni, gadw y dyrfa yma ynghyd am ddwy neu dair awr, y rhai ydynt heb le i eistedd, ac awel deneu ogleddol Ebrill yn oeri eu cernau? Wedi dechreu yr addoliad trwy ddarllen pennod o'r Bibl, canu mawl, a gweddïo, yr oedd deng mil o lygaid yn edrych yn bryderus tua 'r areithfan. Yn fuan, gwelem ddyn bychan yn ymwthio ymlaen, yn esgyn i fyny, ac yn rhoi pennill allan. Yr oedd pob llygad yn craffu arno. Gallasem feddwl wrth y cwestiynau aml a sisielid o'n cwmpas, ei fod yn ŵr dyeithr yn yr ardaloedd hyny. Er mai

corff bychan a gwanaidd oedd ganddo, a'i wyneb yn deneu a gwelw, eto, addawai ei lygaid mawrion a myfyrgar fod enaid y tu cefn iddynt. Nid ydym yn mesur nac yn pwyso y *dyn* wrth ei gorff, byth oddiar pan ddarllenasom atebiad y gŵr i'r foneddiges am y Dr. Watts—"*The mind is the man.*" Yr oedd ganddo lais go fawr, a chlir; siaradai yn rhwydd, gan mwyaf yn yr un dôn; yr oedd yn brin ar ei ystumiau; triniai ei bwnc yn fedrus iawn, pob brawddeg yn llawn o synwyr. Yr oedd y gwirioneddau a drinid ganddo yn ei bregeth yn dysgleirio gan dlysni a phrydferthwch. Nid y wisg oedd yn dlôs, ond y corff; nid yr iaith, ond y gwirionedd oedd ynddi. Yr oedd ei bregeth fel y nant loew yn treiglo dros dywod o aur a pherlau, a'r rhai hyny yn gwreichioni eu dysgleirdeb tanbeidiol fwyfwy. Fel yr oedd yn myned rhagddo, yr oedd ei gymhariaethau (*illustrations*) yn amlhau, ac oll yn hynod darawiadol.

"Natur fawr a'i holl wrthddrychau
Oedd agored iddo ef,
Gwnai forthwylion o'i helfenau
Oll, i hoelio 'r gwir i dref."

Yr oedd y gemau gwerthfawr amryliw yn dysgleirio, y drychfeddyliau ysplenydd yn dilyn eu gilydd yn gyflym, gyflym, nes yr oedd yn cadw ei bwnc dan belydrau dysglaer yn ddidor. Yr oedd yn afradus ar ddrychfeddyliau. Braidd na fuasem am iddo greu ambell foment o dywyllwch, er mwyn yr hyfrydwch o weled hwnw yn cael ei ymlid ymaith gan belydrau tanbaid y goleuni. Wrth wrandaw ambell un, byddwn yn teimlo y gwres yn fwy na'r goleuni; ond tybiwn mai fel arall yn hytrach yr oedd yma. Buasai yn hyfryd genym allu ychwanegu am nerth corfforol y gŵr talentog; yr oedd ei nerth yn cilio, a'i bregeth yn gwella. Hoeliodd bob meddwl yn dŷn wrth ei bwnc, a chludodd y dyrfa fawr ymlaen, yn ddiarwybod iddi ei hun, i ganol rhyw ddydd mawr sydd yn dyfod, pryd na ddywed neb am genadwri yr efengyl, "Gweledigaeth bell;" nac am ei chenadau, eu bod yn "Prophwydo am amseroedd pell;" ond pryd y bydd trallod ac ing yr annuwiol, nid yn fygythion ar dudalenau y Bibl, ond wedi eu gwirio yn ei enaid; a holl ddedwyddwch y Cristion, nid yn yr addewid, ond yn ei brofiad—y cwbl wedi eu symud o'r gair a'r dystiolaeth i'r fynwes. Y dydd hwnw, y bydd holl lestri digofaint, a llestri trugaredd, wedi gorphen eu cylcho a'u cymhwyso, a'r Duw Mawr yn ymaflyd yn y Bibl, ac yn arllwys ei gynnwysiad i lenwi y naill o ddigofaint a gwae, a'r llall o ogoniant a gwynfyd. Ni raid dyweyd i'r llefarwr, wrth dewi, adael y gynnulleidfa fawr mewn teimladau dwysion, dan ddylanwad y gwirioneddau difrifol.

Ar ei ol, cododd gŵr o ymddangosiad parchus i fyny, yn agos yr un oedran a'r gŵr o'i flaen—ill dau dan ganol oed. Nid oedd hwn ychwaith yn fawr o gorffolaeth. Gwisgai ei wyneb gochni prydweddol o gylch ei drwyn Rhufeinig. Safai i fyny yn syth, ac edrychai yn wrol. Yr oedd ei eiriau dewisol, ei aceniaeth gadarn, a'i bwysleisiaeth priodol, yn arwyddo ei fod yn Gymreigiwr da. Torai gynffon ambell frawddeg yn go gwta. Wrth rai sylwadau, gallasech ddeall ei fod yn athronydd, ac wrth eraill, ei fod yn ysgolâig.

"Ei farn oedd yn gref, a'i ddeall yn fywiog,
Ei eiriau yn deilwng, a'i iaith yn odidog;
Nerth a grymusder oedd yn ei resymau;
Ei lygad yn dân, a'i feddwl yn olau."

Yr oedd ei bregeth yn gyfansoddiad cywrain a thlws; a thraddodid hi yn areithyddol ac effeithiol iawn. Yr oedd yn debyg i'r afon yn rhedeg dros wely a dorwyd iddi trwy y graig. Yr oedd ei dyfroedd yn cynnyddu wrth fyned ymlaen, a'r gwely yn myned yn fwyfwy serth. Byddai yn ymollwng yn ysgwd weithiau; ond eilwaith yn disgyn i'r cafn darparedig. Cymerodd ei bwnc i fyny—eglurodd ef; ac yna, daeth â chreadigaeth, rhagluniaeth, ac iachawdwriaeth ymlaen i'w brofi. Wrth fyned rhagddo, yr oedd ei resymau yn cryfhau, ei galon yn gwresogi, ei feddwl yn cynhyrfu, ei lais yn dyrchafu, a'i freichiau yn ymdaflu. Synem fod cymaint o nerth yn llechu mewn lle mor fychan. Os oedd mwy o'r naill na'r llall yn hwn, nid pelydrau goleuni, ond nerth teimlad oedd y mwyaf. Yn awr ac eilwaith adroddai ambell ddarn o hymn mor gydweddol â'i bwnc, ac mor rymus a tharawiadol, nes y byddai miloedd o galonau yn crychneidio wrth ei wrandaw. Teimlem y genadwri fawr yn disgyn arnom yn frwd o galon ferwedig.

Cawsom ymwasgaru o'r oedfa yma wrth ein bodd, wedi treulio dwy awr mewn awyrgylch nefolaidd, ac wedi cael arwyddion amlwg o foddlonrwydd a bendith y nefoedd arnom. Yr oedd y meddwl wedi cael cystal gwledd, ac un mor wirioneddol, ag a brofodd corff erioed. Yn yr hwyr, gwasgarwyd y cenadau drwy y dref a'r cymydogaethau o amgylch, i roi cyfleusdra i bawb i wrandaw geiriau bywyd tragywyddol.

Ond, daeth amser yr oedfa ddeg o'r gloch dranoeth. Dyma ddydd mawr yr ŵyl. Yr oedd *trains* penodol wedi eu rhagddarparu i gludo dynion yn brydlawn y boreu hwn o gyfeiriad Caerfyrddin, Caerdydd, a Merthyr. Ac nid anturiaeth ofer, dybygem, oedd hon i gwmpeini y rheilffordd. Yr oedd y dyrfa ar y llechwedd glas o flaen yr esgynlawr wedi lliosogi yn fawr er y prydnawn blaenorol. Bernid fod yno ddeng mil o leiaf. Dyna ddyn ieuanc golygus, canolig o faint, yn codi i fyny, ac yn rhoddi pennill allan yn uchel, araf, a llusgedig. Y mae y ddau lygad dysglaer sydd yn nghanol y wyneb llawn, crwn, goleu, a serchog acw, yn dynodi craffder synwyr, a nerth teimlad. Yr oedd ei iaith yn dda, ei bwyslais yn darawiadol, a'i holl ysgogiadau yn naturiol—yn llawn bywiogrwydd ac eglurhad. Cawsom ddeall a theimlo maes o law ei fod yn dduwinydd da, yn rhesymwr cadarn, yn gristion teimladwy, ac yn draddodwr medrus. Yr oedd a fynai â'r dyn oddimewn. Siaradai ac ymgynghorai â rheswm ac â chydwybod y gwrandawyr oll. Yr oedd deng

"Mil o glustiau wedi 'u hoelio
Wrth ei air yn ddigon tyn;
A phob llygad syllai arno,
Pawb yn ddystaw ac yn syn."

Dygai y deall yn gaeth â'i resymau, ac yna, yr oedd y galon yn ei law. Os cyffelybir ef i afon—yr afon yn ymdywallt dros y clogwyni serth, ac yn disgyn gyda ffyrnigrwydd dros erwindeb y graig ddanneddog ydoedd. Estynai ei fraich allan, rhuthrai ei waed i gochi ei wyneb, gwreichionai ei lygad gan sel a theimlad, dyrchafai ei lais fel llais udgorn ofnadwy, nes y tybiem fod yr awyrgylch uwch ein penau yn llawn o elfenau ystorm, a'i bod ar ddisgyn arnom—

"Ië, 'nawr 'r oedd wedi ymwisgo,
A chymylau Sinai draw,
Mellt yn saethu, t'ranau 'n rhuo,
Nes y cwynai 'r dorf mewn braw."

Gorphwysai foment yn fud, a'i fraich ar ei hyd yn estynedig. Yr oedd ei ddystawrwydd yn fwy ofnadwy na dim. Buasai yn well genym i'r mellt a'r taranau i ddal ymlaen yn ddidor, na'n cadw i ddysgwyl pan y gwelem fod rhagor i ddyfod. Torai ar y dystawrwydd fel craciad disymwth y daran, gyda bonllef uwch nag oll o'r blaen. Gloewai y deigryn ei lygaid, a gyrai y ddau air cyd-deimladol "*Bobl anwyl!*" i agoryd y pyrth o flaen y gwirionedd, y rhai a wnaent i ddagrau dasgu allan o filoedd o lygaid, a gwlychu gruddiau gwelw, dychrynedig, oedd o'i flaen. Yr oedd yno ruddfanau ac ocheneidiau trym-lwythog. Yn wir, yr oeddem bron yn gorfod gwaeddi allan neu lewygu. Ac oni buasai i'r pregethwr newid ei gwrs yn fuan, credwn y buasai yn un floedd wylofus dros y cae. Ond wele, newidiodd ei dôn. Chwalwyd y cymylau duon, a chwythwyd yr ystorm ymaith gan

"Awel o Galfaria fryn,"

a disgynodd pelydr hyfryd yr haul arnom; gorfoleddai y galon, llonai y wyneb, prysurai y dagrau wrth fesur mawr, a thorai bloedd gorfoledd allan gerllaw yr esgynlawr o ryw galon oedd yn rhy lawn i ddal. Teimlem fod y gonadwri gyda dylanwad dwyfol—teimlem ein holl enaid yn ildio i drefn gras. Mor chwith oedd genym fod y "DUW MAWR" wedi dyfod mor bell i'r dyben i'n hargyhoeddi, a ninnau wedi bod mor hwyrfrydig i dderbyn "ei dystiolaeth yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab." A phenderfynodd ein calon ynom y foment hono ger bron yr Arglwydd—"Os wyf eto heb gredu, mi gredaf yn awr; Arglwydd cymhorth fi."

Dyn gwylaidd a boneddigaidd yr olwg arno oedd y nesaf; cadarn o gorff, ac o wedd dywell. Rhoddodd y pennill allan gyda llais mwynaidd:—

"O haul cyfiawnder dysglaer cu,
Llewyrcha drwy bob cwmwl du," &c.

Yr oedd ei lais mwyn peraidd, fel y deheu awel ganol Mehefin, yn goglais llinynau ein calon. Yr oedd yn swyngar o beroriaethus, a chanddo gyflawnder o hono. Yr afon lydan deg, yn rhedeg yn araf drwy y dyffryn gwastad ydoedd hwn; a chludai ni yn hynod ddifyr, heb ein dwyn i olwg dim a'n dychrynai. Caethiwai bob meddwl wrth ei fater, a dylanwadai arnom "yn fawr dros ben." Nis gallwn roddi cyfrif am nerth ei ddylanwad. Nid mawredd na dyeithrwch drychfeddyliau—nid cywreinrwydd cyfansoddiad—nid iaith flodeuog—ac nid hyawdledd parabl gymaint; eto, rywfodd, parai i'n calon lamu; gwnai i ni wenu yn llon, ac wylo yn hidl; ac nid yn hawdd y gallasem ddyweyd am beth y chwarddem neu yr wylem. Sicr ei fod wedi cael gafael ar yr agoriad i'r galon ddynol, ac wedi dysgu y gelfyddyd anhawdd o guddio celfyddyd. Yr oedd y gynnulleidfa dan y bregeth fel cnu gwlân dan gawod o wlaw mân mwynaidd. Tybiwn fod y pennill canlynol yn ddesgrifiad go gywir o hono, ac o'n teimladau ninnau wrth ei wrandaw:—

"Byddai'r galon ddynol hithau
Megys telyn yn ei law;
Chware 'i fysedd ar ei thannau
Wnai, a'i holrhain drwyddi draw:
Fel y gwlith disgyna 'i eiriau,
Mor effeithiol oedd ei ddawn,
Nes bai 'r dyrfa 'n gwlawio dagrau
Dan ei weinidogaeth lawn."

Yn yr oedfa nesaf, cyferchid ni gan ddyn go dal a theneu. Yr oedd ei drwyn Rhufeinig a'i edrychiad llym yn codi dysgwyliad ynom. Meddai ar lais clir a hapus, ei sylwadau yn naturiol ac eglur; ei gymhariaethau yn gymhwys, a holl duedd ei bregeth yn dda. Ar ol hwn, cododd dyn mawr, tal, a chyfan i fyny; amser a blinderau yr anialwch yn dechreu rhychio ei wyneb agored. Ymddangosai yn hynod ddifalch a dirodres—yn union fel hen Gymro gonest a pharchus. Parai ei symledd a'i synwyr i'n meddwl redeg weithiau at "F'Ewythr Robert."

"Addfwyn, siriol, gostyngedig,
Gonest, gwrol, yr un pryd:
Cyfaill cywir, diangfrydig,
Oen, ac ych, a llew ynghyd."

Yr oedd hwn hefyd yn feistr y gynnulleidfa. Gwrandawem arno wrth ein bodd; byddai rhai o'i gymhariaethau yn ddigrif, ond hynod gymhwysiadol. Byddai weithiau yn ddifyr iawn; bryd arall yn dra difrifol. Meddai ar lawer o arabedd a *wit*, ac nid ydym yn cofio cyfarfod â mesur helaethach o'r peth a elwir yn gyffredin yn *common sense* da mewn un bregeth erioed. Ni wnai un ystumiau ar ei gorff—nid oedd yn gwaeddi, nac yn canu, ond *dysgu* y dyrfa. Yr oedd, nid yn unig yn ŵr cadarn yn yr ysgrythyrau, yn gyfarwydd yn y gair; ond yn medru "iawn gyfranu gair y gwirionedd" gyda deheurwydd mawr. Hynod mor agos atom oedd y gŵr ffraeth, ac mor debyg i ni y tybiem ei fod: a meddyliem, pe cawsem gyfle, y buasem yn ysgwyd dwylaw a breichiau hyd yr ysgwydd; ac nad allasem eistedd yn hir yn ei gyfeillach heb ddywedyd "Fy mrawd" o'r galon wrtho. Ac yr oedd y meddwl hwn am dano, a'r teimlad yma tuag ato, yn myned ymhell i berswadio ein calon i dderbyn y gwirioneddau a bregethai.

Gallasem ychwanegu; ond rhaid talfyru. Tangnefedd i'r gwŷr da, a'u brodyr oll.

Gwelsom a theimlasom yn Abertawe nad yw dyddiau "Sassiwn" wedi myned heibio yn Nghymru eto. Clywsom hen weinidogion yn dywedyd ei bod yn un o'r cymanfaoedd goreu drwyddi y buont ynddi erioed. Yr oedd gweinidogion y Testament Newydd yn agor eu genau yn hyf; ac nid oedd eu gweinidogaeth "mewn gair yn unig, ond hefyd mewn nerth, yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr." Yr oedd cariad a brawdgarwch Cristionogol yn uchel trwy y gymanfa a'r dref; a'r lliaws yn ymddangos yn gwledda ar ddanteithion breision yr efengyl yno. Credwn fod yr olygfa oedd ar y cae, yr olwg hynaws, wylaidd, a thoddedig, oedd ar y miloedd wrth wrandaw "yr ymadrodd am y groes," yn gwneyd i lawer angel wenu yn llon wrth syllu arnynt. Yr oedd y llawr llaith llethrog wedi ei anghofio; yr awel deneu oer yn cael ei chynhesu gan awelon balmaidd y cariad y soniai y pregethwyr am dano, a deng mil o feddyliau wedi eu hoelio wrth *un* meddwl, ac wedi eu llyncu gan *un* pwnc.

Pa beth, tybed, oedd y dylanwad mawr hwn a deimlem? Ai nerth rhesymeg, athroniaeth, areithyddiaeth, neu farddoniaeth ydoedd? Nid ydym yn ammheu nad oedd y pethau yma oll i raddau pell yn cydgyfarfod yn y pregethau yno; ond a allai y pethau hyn gyrhaedd y cyfryw ddylanwad ar dyrfa mor gymysgedig—a'r un dylanwad ar y meddwl coeth a dysgedig oedd âg M.A. neu D.D. ar ol ei enw, ag ar feddwl yr hen wreigan anllythyrenog? Na, yr oedd yno rywbeth mwy, annhraethol fwy.

**Y pethau uchod dan eneiniad a nawdd yr Ysbryd Glân ydoedd: holl alluoedd enaid y genad, a theimladau ei galon, wedi eu lefeinio a'u hysbrydoli gan gariad Crist, a hwnw yn tywallt ei ysbryd allan yn gefnllif bywiol i eneidiau ei wrandawyr, nes oedd ef a hwythau dan ddylanwad yr un meddwl, yn llawn o'r un teimlad, yn cael eu hysgogi gan yr un cyffröad, a Christ yn cael ei ffurfio yn eu calonau.**

**Canasom yn iach i'n cyfeillion yn y dref, a'n calon yn llawn boddhad, wedi treulio y tridiau mwyaf hapus ac adeiladol erioed yno, a'n dymuniad yn gryfach nag erioed gyda hen fardd Pant-y-celyn—**

**" Doed i waered i'r Deheudir**
**Ddoniau Gwynedd fel yn lli';**
**Aed torfeydd o dir y Deheu**
**Trwy Feirionydd fyny fry;**
**Fel bo cymysg ddoniau nefol**
**Yn rhoi 'r gwleddoedd yn fwy llawn,**
**'Falau, a photelau llawnion,**
**O lâs foreu hyd brydnawn."**

---

# GOHEBIAETH.

## BROWN AR EPISTOL CYNTAF PEDR.

GYFAILL.—Darllenais gyda manylrwydd y dyfyniadau a wnaed yn y "Traethodydd" am Ebrill diweddaf, o waith Dr. Brown ar Epistol cyntaf Pedr; ond nis gallaf, mewn un modd, gytuno â'r ganmoliaeth a roddir i'r eglurhad a rydd o'r ddau fan a grybwyllir. Nid yw yn wir fod y gŵr dysgedig yn dyweyd dim a anghytuna â'r gwirionedd dwyfol; a'i fodd o osod allan ei feddyliau sydd eglur a threfnus iawn; eto, ni thybiaf ei olwg o ystyr y manau hyn yn gywir. Gan mai rhy faith fyddai enwi, yn olynol, yr hyn a feddyliaf yn wrthwynebol i'r golygiadau a gymer, gwnaf yn gyntaf roi cyfieithiad o ran olaf o'r drydedd bennod, ac o ran gyntaf o'r bedwaredd, gan eu bod yn gysylltiedig; ac ni ddylasent gael eu gwahanu oddiwrth eu gilydd, wrth ranu yr epistol i bennodau; ac yna attodaf ychydig o nodau, er amlygu yr olwg a ddylem, fel y tybiaf, gymeryd o'r manau hyn.

1 PEDR iii. 13—22.

13 A phwy yw yr hwn a'ch niweidia, os dilynwyr fyddwch o'r hyn sydd dda ?
14 Ië, os hefyd y dyoddefwch o herwydd cyfiawnder, dedwydd *fyddwch.* Ond
rhag eu hofn, nac ofnwch, ac na thralloder chwi ; eithr anrhydeddwch yr
15 Arglwydd Dduw yn eich calonau ; gan fod hefyd yn barod bob amser i roi
ateb i bob un a ofyno air genych am y gobaith sydd ynoch, gydag addfwyn-
16 der ac ofn ; a chenych gydwybod dda, fel am yr hyn a ddywedant yn eich
erbyn megys drwgweithredwyr, y cywilyddiont hwy, a edliwiant eich ymar-
17 weddiad da yn Nghrist : canys gwell dyoddef, os ewyllys Duw a'i myn, am
wneuthur da nag am wneuthur drwg.
18 O herwydd Crist hefyd unwaith dros bechodau a ddyoddefodd, y cyfiawn yn lle 'r
anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw, gan gael ei farwolaethu yn y cnawd, ond
ei fywhau gan yr Ysbryd (trwy 'r hwn yr aethai hefyd ac y pregethasai i'r
19 ysbrydion *yn awr* yn ngharchar, gynt yn anufuddion, pan arosodd wrthynt
20 hir amynedd Duw yn nyddiau Noa, tra y darperid yr arch ; yn yr hon yr achub-
wyd ychydig eneidiau, sef wyth, trwy ddwfr ; yr hwn y gwna cynllun o
hono, sef bedydd, ein hachub ni hefyd (nid bwrw ymaith fudreddi 'r cnawd,
ond ymateb cydwybod dda tuag at Dduw), trwy adgyfodiad Iesu Grist) yr

22 hwn sydd ar ddeheulaw Duw, gwedi myned i'r nef, angelion a thywysogaethau
a galluoedd yn ddarostyngedig iddo.

1 PEDR iv. 1—6.

1 Yna gan i Grist ddyoddef trosom yn y cnawd, arfoger chwi hefyd â'r un
bwriad (o herwydd yr hwn a ddyoddefodd yn y cnawd, a beidiodd a phechod)
2 fel nad mwyach y treulier y rhan sy 'n ol o'r amser yn y cnawd yn ol
chwantau dynion, ond yn ol ewyllys Duw: canys digon i chwi yr amser a
3 aeth heibio o'r bywyd i weithredu ewyllys y cenedloedd, gan rodio mewn
trythyllwch, trachwant, gwin-ormodedd, cyfeddach, diotta, ac anfad eilun-
4 addoliaeth.[1] O herwydd hyn y synant, gan *eich* goganu, am na chydredwch
5 â hwynt i'r un rhysedd o afreolaeth; y rhai a gânt roi cyfrif i'r Hwn sy 'n
6 barod i farnu y byw a'r meirw. Er mwyn hyn yn ddiau hefyd yr efengylwyd
i'r meirw, fel eu collfarned gan ddynion yn y cnawd, ond y caffent fywyd
gan Dduw trwy 'r Ysbryd.

Y peth cyntaf i'w nodi yw y *testun* sydd gan yr apostol: hwn yn amlwg yw, dyoddef erlidigaeth, ïe, hyd angeu, yn achos crefydd. Cofiwn mai hyn yw y testun—y peth y llefara yn ei gylch. Yr oedd dau beth yn yr erlidigaeth hon, gwaradwydd a pherygl bywyd; a defnyddid y rhai'n i'r dyben i ddwyn credinwyr yn ol i'w hen arferion. Tuag at eu cefnogi i wrthsefyll y profedigaethau hyn, cyfeiria yr apostol hwynt at Grist ei hun, yn ei *ddyoddefaint* ac yn ei *ddyrchafiad:* os canlynent ef yn y cyntaf, caent hefyd gyfranogi o'r diweddaf; os dyoddef a wnaent, caent hefyd eu hadgyfodi a'u dyrchafu i'r nefoedd. Hyn, yn ol yr olwg sydd genyf, yw cynnwysiad y rhan hon o'r epistol.

Dygir Crist i mewn, fel cynllun, yn *adn.* 18 o'r drydedd bennod. Cafodd ei roddi i farwolaeth o ran ei ddynoliaeth, a elwir yma ei "gnawd,"[2] megys mewn manau eraill: gwel *Act.* ii. 26; *Ephes.* ii. 15. Er hyny cafodd ei fywhau, ei ddwyn i fywyd, gan yr Ysbryd. Y mae hyn yn cywir gyfateb i'r peth a olygai yr apostol, sef dangos i'w frodyr y caent gyfodi i fywyd gwell, os byddai iddynt gael eu rhoi i farwolaeth, yn ol yr hyn a ddygwyddodd i Grist ei hun. A dywed wed'yn, yn *adn.* 22, am ei ddyrchafiad i'r nef. Cyfeiriasai yn flaenorol, yn y *bennod* gyntaf, *adn.* 3, at adgyfodiad Crist fel sail gobaith i ni. Y cysylltiad yma sydd rhwng *adn.* 18 ac *adn.* 22; a dylid gosod *adn.* 19—21, o fewn cromfachau, gan fod yr apostol ynddynt megys yn myned allan o'i lwybr, er mwyn rhoddi cynddelwad o ddiogelwch y rhai sydd yn Nghrist, megys Noa a'i dylwyth yn yr arch. Diwedda yr osgoad hwn, gan nodi yn bendant yr adgyfodiad, yr hyn a arwyddoceir, fel y tybiaf, yn y geiriau yn niwedd *adn.* 18. Gwelir gyffelyb droad o lwybr y peth mewn llaw yn yr ail *bennod, adn.* 10, hyd ddiwedd *adn.* 12. Arferasai y gair "Ysbryd," wrtho ei hun, am yr Ysbryd Glân ddwy waith o'r blaen; *pen.* i. 2, a 22.

Yn nechreu y bedwaredd bennod, gwna 'r apostol gymhwysiad o'i athrawiaeth: dyoddefodd Crist yn y cnawd, felly y dylent hwythau arfogi eu hunain â'r penderfyniad i wneuthur yr un peth, os byddai gofyn, heb ymollwng i'r profedigaethau a'u hamgylchent, heb ddychwelyd i'r llygredigaethau y buasent yn byw ynddynt. Dylid rhoddi diwedd yr adnod gyntaf o fewn cromfachau, fel y gwna Griesbach, gan gyfeirio at Grist; er cymaint ei ddyoddefaint, eto ni phechodd, ni fethodd ei benderfyniad na 'i amynedd. Dywedir yr un peth yn yr ail bennod, *adn.* 22. Mae 'r ail adnod yn gysylltiedig â'r geiriau, "arfoger chwi hefyd," &c., yn yr adnod gyntaf. Gwelir hyn yn eglur oddiwrth yr hyn a gynnwys y drydedd adnod: "Canys digon *i chwi,*" ac nid "*i ni,*" yw 'r darlleniad mwyaf addas a chymhwys.

[1] Mae'r rhai hyn oll yn y rhif liosog yn yr iaith wreiddiol, ond ni chydwedda â'n hiaith ni eu gosod felly. Rhoir rhai o honynt yn y Seisneg yn y rhif unigol, ond rhai yn y rhif liosog; ond gwell yn y Gymraeg yw arfer yn gyfan y rhif unigol.

[2] Yr un peth yn ddiau a feddylir yma ag yn nechreu y bennod ganlynol, "Yna gan i Grist ddyoddef trosom *yn y cnawd,*" &c. Dywed yr apostol hefyd yn yr ail bennod, *adn.* 24, i Grist "ddwyn ein pechodau yn ei *gorff* ar y pren." Ei amcan oedd dangos mai ei ddynoliaeth a roddwyd i farwolaeth, er cau allan y dychymyg i'r Duwdod ddyoddef.

Deuwn yn awr at y *chweched* adnod, a eglurheir mewn amryw fodd. Sonia yr apostol, yn yr adnod flaenorol, am y Barnydd megys un ar ddyfod i farnu 'r byw a'r meirw, yn enwedig yr annuwiol. Yna, yn y chweched adnod, cyfeiria yn neillduol at y rhai oeddent gwedi marw yn achos crefydd, a gosod allan mai un dyben o bregethu 'r efengyl i'r rhai oeddent y pryd hyny ymhlith y meirw, oedd, fel y byddai iddynt ddyoddef marwolaeth o'u hachos, a chael eu cyfodi drachefn gan Ysbryd Duw (*Rhuf*. viii. 11). Dyma 'r golygiad a gymer *Scott* ar yr adnod. Gwelir yn wir yr un peth yn cael ei draethu yn yr ail *bennod, adn*. 21; yr hwn a gyfieithaf fel y canlyn:—"I'r dyben hyn yn ddiau y galwyd chwi [sef i ddyoddef, yn ol yr adnod flaenorol]: o herwydd Crist hefyd a ddyoddefodd trosoch, gan adael i chwi gynddelwad, fel y dilynech ei gamrau." Mae y geiriau "cnawd" ac "Ysbryd" yma, megys ag yn y drydedd *bennod, adn*. 18; a'u hystyr, mae 'n ddiau genyf, sydd yr un; ond yma perthynant i aelodau Crist, ac yn y lle uchod, i Grist ei hun.

Canfyddir cysondeb yn yr olwg hyn; cyfateba hefyd â bwriad yr apostol, a chytuna â rhanau eraill o'r epistol.

*Thrussington.* J. O.

---

## ORGRAFF GYMREIG.

SYR,

Wrth chwilio yn mysg hen bapyrau yn fy meddiant, daethum o hyd i lythyr a dderbyniais oddiwrth TEGID, y diweddar fardd ac ieithydd enwog, wedi ei ddyddio, "Nan' Hyfer (Nevern), Mai 23ain, 1842." Mewn ol-ysgrif i'r llythyr, rhydd nodiadau ar orgraff amrywiol eiriau; a chan y gall y sylwadau hyny weini addysg a chyfarwyddyd i ysgrifenwyr ieuainc, hyderaf y rhoddwch le iddynt yn mysg *Gohebiaethau* y "Traethodydd." Gwelir hefyd eu bod yn rhesymu dros yr orgraff a arferir genych chwi.

Yr eiddoch, &c.,

CALLESTR.

The aspirate *h* is to be continued in the infinitions of verbs ending in *au*, until another sign for an aspirate can be found; for the circumflex ^ cannot be deemed an aspirate: as *glanhâu*, rather than *glanâu; mwynhâu*, &c.

To use *ca* for *ceiff* is not to be tolerated. *Gwna* as well as *gwneiff* is correct.

*Dweyd* is incorrect for *dywëyd;* the word being composed of *dy-gwëyd*, and that also from *dy-gwedyd: dywe[d]yd: gwed, gwedyd. Gwed, dywedyd; gwed, dywëyd:* all correct. *Gwnëyd* is more correct than *gwneud*. See *gwnëyd* in Dr. O. Pughe's Dict. The verbs *gwneuthur*, and *gwneuthyd* is from *gwnaeth;* and *gwneyd* from *gwna*. "Brenin Assyria a *ddug* bobl;" yn hytrach a *ddyg*, neu a *ddwg:* from *dwg*. *W* never mutates into *u*, but into *y; as dwg, dygyd.*

*Tragywydd*, from *tra-cy-gwydd;* and *tragwydd*, from *tra-gwydd*, are both correct. Therefore to write the word thus, *trag'wyddawl* for *tragywyddawl*, when *tragwyddawl* is right, is the act of one ignorant of etymology. So also, to write *yn ol ei 'wyllys* for *ei wyllys* has sprung from the same source. The root is *gwyll;* hence the English word *will*. *Ei wyllys* is correct. *Ewyllys*, is compounded of *e-gwyllus*.

The prefix *cy* rather than *cym* to be used before words beginning with *c, p, t;* as *cynghall* (*cy-call*); *cymhorth* (*cy-porth*); *cynhes* (*cy-tes*). I would prefer *cym* to *cy* in words beginning with *b*, for the sake of the more easily and clearly to distinguish the root; as *cymmrawd* (*cymbrawd*); *cymmod* (*cym-bod*).

# NODIADAU AR LYFRAU.

*Traethawd ar Swyddogaeth Barn a Darfelydd, mewn Cyfansoddiadau Rhyddieithol a Barddonol: Ynghyd â Phryddest ar yr Adgyfodiad.* Gan y Parch. W. Jones, Periglor Nefyn. 8plyg.

Y mae y gyfrol ddestlus hon, a'i chymeryd gyda'i gilydd, yn un o'r pethau goreu a gynnyrchodd y wasg Gymreig er's rhai blyneddau.

Gyda golwg ar y "Traethawd ar Farn a Darfelydd," yr hwn a leinw hanner y llyfr, gallwn ddywedyd yn ddibetrus na ddarllenasom ddim ar y pwnc, nac yn Gymraeg nac yn Seisneg, gyda mwy o foddhad a hyfrydwch; a phrin y meddyliwn y bydd i neb a'i darlleno gyda manyldeb amrywio llawer oddiwrthym yn hyn o farn. Ymddangosodd ychydigyn o'r traethawd yn un o'r grealon Cymreig ynghylch ugain mlynedd yn ol; "ond mewn dull," fel y sylwir yn y rhagymadrodd, "nad oedd ond nifer fechan o ddarllenwyr yn ei ddeall, o achos y llythyreniad a arferwyd." Ond nid oedd y llythyraeth, er mor anmhoblogaidd ydoedd, yn un rhwystr i ni ei ddarllen, eithr yn hytrach yn foddion i dynu ein sylw ato; a'i ddarllen a wnaethom, drosodd a throsodd drachefn, a hyny lawer blwyddyn cyn bod genym y dychymyg lleiaf pwy a allasai fod yn awdwr o hono. Nid oeddym y pryd hwnw ond llanc, yn dechreu darllen y cyhoeddiadau Cymreig; ond ys dywed Gronwy Owain,

"Cofio wna hoglanc iefanc,
Yn llwyd hyn a glybu'n llanc;"

felly ninnau; nid aeth y traethawd byth o'n cof, gan yr ystyriem ef hyd yn nod fel yr oedd y pryd hwnw, yn un o'r traethodau rhagoraf yn yr iaith; ac nid bychan oedd ein llawenydd, pan, ychydig wythnosau yn ol, y gosodwyd ef yn ein llaw, mewn "gwisg eglur, ac wedi ei ddiwylliaw a'i helaethu yn fawr."

Traetha yr awdwr ar "Swyddogaeth Barn a Darfelydd," gyda medrusrwydd mawr, a dyddordeb nid ychydig, fel y maent yn cael eu harddangos yn mhrif gynnyrchion y crebwyll dynol, ymhlith gwahanol genedloedd ac yn ngwahanol oesau y byd, mewn iaith rydd yn gystal ag ar fesur cerdd. Trinir y pwnc yn feistrolaidd yn ei amrywiol ganghenau a'i gysylltiadau; amlygir beth yw swydd briodol pob un o'r galluoedd hyn pan y gweithredont ar wahan, a pha beth yw yr effeithiau a gynnyrchir ganddynt yn eu hunol weithrediadau; a dangosir mai "y gweithiau a weinyddant fwyaf o addysg i'r byd, yw y rhai hyny a gyfansoddwyd gan yr awduron a ddysgyblasant eu galluoedd yn y fath fodd ag y gallant arddangos cywirdeb barn, heb dywyllni, a phrydferthwch darfelydd, heb chwyddiaith na gormodedd."

Yn attodedig i'r traethawd, ac megys diweddglo iddo, ond heb fod yn dwyn perthynas uniongyrchol âg ef, y mae sylwadau tra synwyrgall ar deilyngdod cymharol y *gynghanedd gaeth*, a'r *mesurau rhyddion;* ynghyd â hanes y ddadl yn eu cylch, o amser Eisteddfod Caerfyrddin, yn y flwyddyn 1819, hyd Eisteddfod Tremadog yn 1851. Fel y mae yn eithaf hysbys, y mae cryn dwysged wedi cael ei ysgrifenu ar y ddadl anorphen hon o bryd i bryd, yn enwedig yn ystod y tair blynedd diweddaf; ond dyledus cyfaddef o honom, na welsom ni ddim hyd yma wedi ei ysgrifenu yn fwy teg a rhesymol na'r hyn a geir yn y tudalenau hyn; ac nis gwyddom chwaith am ddim cyn debyced i roi dyrnod angeuol ar ben cadwynau y gerdd, y rhai sydd wedi eu goddef hyd yn hyn i lyffetheirio awen Cymru, ac i ddifwyno ei llenoriaeth. Ac er nad ydym yn perthyn o'r nawfed ach nac i brophwyd nac i ddewin, rhyfygwn brophwydo fod dydd goruchafiaeth y mydrau caethiwus hyn wedi myned heibio yn dragywydd; ac y gwelir beirdd y Dywysogaeth cyn hir yn arfer y rhyddid y galwyd hwy, a phob creadur rhesymol arall, i'w fwynhau.

Am y "Bryddest ar yr Adgyfodiad," yr hon a leinw yr hanner arall o'r gyfrol, nid ein bwriad mewn un modd yw ei chymharu â'r pryddestau eraill sydd eisoes wedi ymddangos ar yr un testun. Pethau cas, yn marn pawb, yw cymhariaethau; ac am hyny ni ddywedwn ychwaneg am dani ar hyn o gyfle, na bod ei chynllun yn eang ac yn newydd, ei mydryddiaeth gan mwyaf yn llithrig, a'r syniadau yn uchelwych. Fel y canlyn y dadgan yr awdwr ei olygiadau ei hun ar y bryddest:—"Gwylaidd yw syniadau yr awdwr am wneuthuriad y cyfansoddiad. Nid ei orchwyl ef yw barddoni. Ambell adeg a all hebgor oddiwrth orchwylion eraill, i ymgyflwyno i wasanaeth yr awen. Nid llawer a gyfansoddodd cyn ymwneyd â'r ganiad hon. Bydd yn rhyw foddlonrwydd ganddo ei fod wedi cyflwyno rhai o'i oriau hamddenol i osod mewn mydryddiaeth, ei syniadau am Iachawdwr y byd, yr hwn hefyd a lywydda anian fawr."

Ond os "gwylaidd" ei syniadau am ei gynnyrch ei hun, y mae ganddo feddyliau tra uchel am gyfansoddiadau ei gydymgeiswyr ar yr unrhyw destun dyrchafedig, fel y gellir yn amlwg weled wrth y dyfyniad canlynol o'i sylwadau ar nodweddion pryddestau Ieuan Glan Geirionydd ac Eben Fardd:—"Os i ddilyniad y testun yn ei symlder ysgrythyrol; os i amdraethiad arno nes bod pob pwynt mor oleu ag y gellir ei wneyd â geiriau eglur, lluniau barddonol, a ffugyrau heirdd, gan gadw mewn golwg lesâd cyffredinol; ac os i lifiant dymunol a gwir santeiddiol o deimlad yn rhedeg drwy yr holl gyfansoddiad, a hwnw yn rhagorol yn ei gynlluniad, y dylid rhoddi y gader farddonawl mewn Eisteddfod, ymddengys i mi fod y beirniaid wedi cyflawni eu swydd yn gywir yn Eisteddfod Rhuddlan. Ond os cywreinrwydd a gwreiddioldeb mewn cynlluniad, a chreadau uchelwych ac awenyddol; os nertholdeb digymhar mewn syniadau, ac ieithwedd gywir, soniarus, ac anghyffredin; os darluniadau dychymygol, eto, digon cydweddol âg anian y testun, a'r cwbl yn addurnedig â'r teimlad mwyaf crefyddol a ddichon dyn ei anadlu, a deilyngant yr urddiant cadeiriol, pryddest Eben Fardd a'i piodd."

Prin y mae yn rheidiol crybwyll na fedr Mr. Jones ysgrifenu mewn iaith anmhur, anghoeth, ac aflerw; ac od yw yn colli mewn dim, yn mhriodwedd neu rediad anianol yr iaith, y mae yn colli. Haws dethol geiriau Cymreig diledach, nag ysgrifenu brawddegau Cymreig diledryw. Priodwedd Seisnig sydd yn anurddo y rhan fwyaf o lyfrau Cymraeg yr oes hon; a'r hyn sydd yn gwneuthur y gwrthuni yma yn ddigrif tros ben ydyw, mai y rhai sydd yn deall leiaf o Seisoneg, yn gyffredin, yw y rhai parotaf i syrthio i'r amryfusedd hwn. Ymddengys fod rhai o'n hysgrifenwyr wedi tybied, ond iddynt ymgadw yn ofalus rhag defnyddio geiriau estronol neu fasdarddaidd, a rhag troseddu un o reolau gramadeg, y byddant, fel peth o wir ganlyniad, yn ysgrifenu Cymraeg glan loew, yr hon nis gellir ac nis dylid dywedyd yn ei herbyn, heb gofio bod neillduolion lawer yn perthyn i bob iaith dan haul, y rhai nis geill na gramadeg na geiriadur byth mo'u dysgu. Ac i'r cyfeiliornad tra chyffredin hwn y gellir, i raddau helaeth, olrhain dirywiaeth ieithwedd Gymreig y dydd heddyw, oddiwrth yr hyn ydoedd yn nyddiau ein tadau gynt. Yr oedd yr hen ysgrifenwyr yn ofalus nodedig am gadw at briodwedd yr iaith, ac ymwrthod yn hollol â phob dull ar ymadroddi a fyddai anghydweddol â hi. Eu gwaith yn ymgadw yn ddiesgeulus fel hyn at deithi y Gymraeg, sydd yn taflu y fath swyn dros ysgrifeniadau Morus Cyffin, Edward James, y Dr. Davies, Charles Edwards, Elis Wynn, Edward Samwel, a Theophilus Evans. O ran cywirdeb gramadeg, gellir ymgystadlu â hwynt; o ran purdeb geiriau, gellir rhagori arnynt; ond o ran ysgrifenu yn syml, ac yn rymus, ac yn ystwyth, yn ol rhediad naturiol yr iaith, y maent braidd yn ddihefelydd; ac nid yw y goreuon o ysgrifenwyr yr oes hon, o'u cyffelybu â hwy, ond megys ceiliogod rhedyn yn ymyl meibion Anac.

Da genym, modd bynag, weled y llyfr o'n blaen mor rhydd oddiwrth y gwallau a gyfrgollwn; a gobeithiwn gael cyfarfod yr awdwr eto yn fuan yn rhai o gysegredig rodfëydd llenyddiaeth.

---

OLWYD-WASG: DINBYCH, ARGRAFFWYD GAN T. GEE.

# Y TRAETHODYDD.

---

## LLYFR MICA.

TRIGAI Mica yn Moresa, tref ar gyffiniau y Philistiaid. Prophwyd oedd i Iowda ac Israel, yn enwedig i'r cyntaf. Yr oedd yn byw yr un amser ag Isaia, ond ni fu mor hir yn prophwydo. Mica oedd ei enw, ac nid Micaia, yr hwn oedd fyw ynghylch can' mlynedd o'i flaen; 1 *Bren.* xxii. 8.

Prophwyda am ddinystr Samaria ac am ddinystr Ierusalem, am y dychweliad o gaethiwed, ac am gyflwr dedwydd a llwyddiannus yr Iddewon wedi eu hadferiad i'w gwlad eu hun, am ddyfodiad Crist, a helaethrwydd, llwyddiant, a pharhad ei deyrnas. Rhydd i ni hefyd ddarluniad o agwedd anfoesol y trigolion yn ei ddydd, yn enwedig o ormes a chreulondeb y llywodraethwyr. Nid yw ddim yn dyweyd cymaint a'r prophwydi eraill am eilun-addoliaeth—pechod cyffredin y ddwy genedl. Llygredigaeth yr oes a noda yn fwyaf neillduol.

Y mae, fel Hosea, yn eirfyr, yn myned yn gyflym o un peth i'r llall, ac yn fynych yn cyfnewid y dynsodau, *mi* a *ni*, *ti* a *chwi*, *efe* a *hwynt*. Mae rhai manau yn hynod o odidog, megys y *ben.* iv. 1—7; a vii. 18—20. Cyfeirir at ei brophwydoliaeth yn *Ier.* xxvi. 18, 19; a dwywaith yn y Testament Newydd; *Mat.* ii. 5, 6; a *Ioan* vii. 42.

### PENNOD I.

1 Gair Iehofa, yr hwn a ddaeth at Mica y Morasthiad, yn nyddiau Iotham, Achas, Hesecia, breninoedd Iowda, yr hwn a welodd am Samaria ac Ierusalem,—

2 Gwrandewch bobloedd,—bawb o honynt;
Clyw, wlad, ïe, oll sydd ynddi;[1]—
Bydd, ïe, yr Arglwydd Iehofa yn eich erbyn yn dyst—
Yr Arglwydd o deml ei sancteiddrwydd:
3 Canys wele Iehofa a ddaw allan o'i le;
Ië, disgyn a cherdda ar uchelfanau 'r wlad;
4 A thawdd y mynyddoedd tano,
A'r glynoedd a ymholltant;

[1] Yn lythyrenol, "ei llawnder." Nid y ddaear, sef y byd, a feddylir, ond gwlad Canaan, fel y dangos yr hyn a ganlyn—"yn eich erbyn." "Bydd, ïe yr Arglwydd" &c, dyma'r hyn yr oeddent i wrandaw. Gwahodd yr holl lwythau, "y bobloedd;" ac er eu cynhyrfu yn fwy, enwa y wlad a'r hyn oll a gynnwysai: yr oeddent oll i ystyried fod Duw yn dyst i'w herbyn. Yna darluniai yr hyn yr oedd Duw ar wneuthur yn yr adnodau a ganlynant.

Fel cŵyr o flaen y tân,
Fel *gan* ddyfroedd yn rhuthro ar orwaered.[1]
5 Am drosedd Iacob *y bydd* hyn oll,
Ac am bechod tŷ Israel.

Beth yw trosedd Iacob? onid Samaria?
A pheth yw pechod[2] Iowda? onid Ierusalem?
6 Am hyny gwnaf Samaria yn garnedd y maes,
Yn blanigfaoedd gwinllan;
A pharaf dreiglo i'r dyffryn ei cheryg,
A'i sylfeini a ddadguddiaf:
7 A'i holl gerf-ddelwau a ddryllir,
A'i holl wobrau a losgir yn y tân,
A'i holl eilunod a wnaf yn ddifrod;
Gan mai o wobr putain y casglodd *hwynt*,
Yn wobr putain hefyd y dychwelant.[3]

8 O herwydd hyn gwnaf iddi alaru ac udo,
Paraf iddi gerdded yn ddiosgedig ac yn noeth,
Gwnaf iddi alaru fel môrfilod,
Ac wylo fel estrysiaid:[4]
9 Canys anaele *fydd* ei dyrnod;[5]
Yn ddiau y daw hyd at Iowda,
Gan nesau hyd at borth fy mhobl,
Hyd at Ierusalem.

10 Yn Gath na fynegwch *hyn*,
Gan wylo na wylwch;[6]

[1] Mae y pedair llinell hyn yn ol y drefn a ganfyddir yn aml yn y prophwydi; mae y gyntaf a'r drydedd yn perthyn i'w gilydd, a'r ail a'r bedwaredd: tawdd y mynyddoedd fel cwyr, ac ymhollta 'r glynoedd fel gan ddyfroedd a ddisgynant o serthle.

[2] Felly y dylai fod, yn unol â'r *Septuagint*, y *Targum* a'r *Syriac*. "Trosedd Iacob" oedd eilun-addoliaeth, a Samaria oedd y ffynnonell, a "phechod Iowda" oedd addoli y gau-dduwiau a'r gwir Dduw ynghyd; a gwreiddyn y drwg oedd yn Ierusalem. Penaethiaid, yr uchelradd a'r dysgedig, ydynt yn gyffredin yn blaenori mewn cyfeiliornadau. Gellid cyfieithu y geiriau fel hyn,—

P'le mae trosedd Iacob? onid yn Samaria?
A p'hle mae pechod Iowda? onid yn Ierusalem?

[3] Sef yr eilunod, a oreurid; am hyny yn werthfawr. Y cerf-ddelwau a wnaed o goed, a llosgid y rhai'n; ond yr eilunod a orchuddid âg aur neu arian, a gaent eu difrodi neu anrheithio. Casglwyd hwynt, sef yr eilunod, trwy buteinio, neu eilun-addoli. Mae eilun-addolwyr bob amser yn hael iawn yn y gwaith o addurno eu heilunod. Ond byddai gwobrau puteindra i ddychwelyd er cynnal puteindra ymhlith eu gelynion—y Ninifeaid.

[4] Mae y perwyddiad yma yn y cyflwr achosawl *(hiphil)*: yn ol yr ystyr hyn y mae y *Septuagint*, y *Targum* a'r *Syriac*. Nid yw yr ystyr arall yn cydweddu â'r hyn sy'n canlyn. "Môrfilod,"—tybir mai y *dolphins* a feddylir, gan y gwnant 'pan eu delir' gwynfan tra alaethus. "Estrysiaid,"—yn llythyrenol, "merched yr estrys." Dywed haneswyr y gwna y rhai'n alaeth hynod gyffrous ar amserau yn y nos.

[5] "Dyrnod" oedd y farn a ddaeth arni trwy frenin Assyria, pan ei caethgludid. A dyrnod oedd a ddaeth yn agos iawn i Iowda; prin y diangodd. Gwel *Esay* xxxvi. a xxxvii.

[6] Nid oeddent i fynegu barn Duw ar y bobl i'w gelynion, y Philistiaid, nac i ddangos yn gyhoedd eu galar. Yna canlyn yr hyn a ddygwyddai iddynt pan ddaethai Sennacherib brenin Assyria i ymosod ar wlad Iowda, gwedi goresgyn a chaethgludo gwlad Israel. "Saphir" a gai fyned ymaith i gaethiwed, "yn noeth" neu yn amlwg ei "gwarth." Ni ddeuai "Sanan" allan i alaru o'i herwydd gan ofn y gelyn, na chwaith

Yn nhŷ Ophrah mewn llwch ymdreigla;
11 Dos erddot ymaith breswylferch Saphir,
Yn noeth *dy* warth;
Na aed allan breswylferch Sanan gan alaru;
Tŷ Asel, cymered genych ei sefyllfan:
12 Diau dihoena am dda breswylferch Maroth,
Canys disgyn ddrwg oddiwrth Iehofa hyd borth Ierusalem;
13 Rhwymed wrth y cerbyd
Y buan-farch, breswylferch Lacis;
Dechreuad pechod *fu* hi i ferch Sïon,
Canys ynot y cafwyd troseddiadau Israel;
14 Am hyny y rhoddi anrhegion i Moreseth-Gath;
Tai Acsib, yn gelwydd *fyddant* i freninoedd Israel:
15 Eto etifedd a ddygaf i ti, preswylferch Moresa;
Daw ef hyd Adulam, gogoniant Israel.

Ymfoela ac eillia am blant dy hoffderau;
Ymhelaetha dy foelni fel yr eryr,
O herwydd mudwyd hwynt oddiwrthyt.[1]

PENNOD II.

1 Gwae y rhai a ddychymygant drawsder,
Ac a weithredant ddrwg ar eu gwelyau!
Ar oleuni y boreu gwnant ef,
Pan fyddo yn ngallu eu llaw.
2 Pan chwennychent feusydd, ysglyfaethant;
Neu dai, cymerant hwynt ymaith;
Ië, gormesant ŵr a'i dŷ,
A dyn a'i etifeddiaeth.

3 Am hyny fel hyn y dywed Iehofa,
Wele fi yn dychymygu i'r teulu hwn ddrwg,
Yr hwn ni thynwch rhagddo eich gyddfau,
Ac ni rodiwch yn uchelfryd,
Canys amser drygfyd a fydd.
4 Yn y dydd hwnw y cyfodir am danoch ddiareb,
A galarir galar galarnad,[2]

"tŷ Asel." Yspeilid "Maroth" oedd agos i Ierusalem, a dyhoenai am y pethau a gollasai. "Lacis," er dianc rhag y gelyn, a rwymai y cerbyd wrth y march buan, a rhoddai anrhegion i Moreseth-Gath er ei choleddu. "Tai" neu drigolion "Acsib" a droent yn anffyddlawn i Israel ac i Iowda. "Morasa," a arwydda etifeddiaeth, oedd i gael ei pherchenogi gan y gelyn, megys pe buasai yn etifedd iddi; a deuai yr etifedd hwn i Adulam, a gyfrifid yn ogoniant i Israel. Yr oedd y lleoedd hyn oll yn ngwlad Iowdea: ac y mae cyferbyniad yn yr hyn a arwyddoca amryw o'r enwau â'r hyn a ddywedir am danynt. "Ophra" yw llwchfan; yr oedd i ymdreiglo mewn llwch: "Saphir" yw lle teg neu brydferth; deuai ei "gwarth" yn amlwg: "Sanan" yw mynediad allan, ond nid oedd i fyned allan. "Asel" a arwydda agos; yr oedd i ddilyn yr hyn a wnaethai Sanan oedd yn agos iddi. "Maroth" yw chwerw; dihoenai am golledion a fyddai yn chwerw. Mae cyd-lythyreniad yn yr Hebraeg rhwng y "buan-farch" a "Lacis." Gan mai etifeddiaeth a arwyddai "Morasa," deuai "etifedd" i'w pherchenogi.

[1] Samaria a feddylir, ac nid Morasa. "Fel yr eryr," sef pan y byddo yn colli ei phluf, yr hyn a ddygwydd iddi bob blwyddyn.

[2] Hyn yw yr Hebraeg yn gywir. "Diareb" yma yw ymadrodd a arferid yn gyffredin, ac yr oedd yn "alarnad." Brenin Assyria a newidiai y "rhan" a rodded gan Dduw i

A dywed yr anrheithiedig, "Anrheithiwyd ni!
Rhan fy mhobl a newidia;
Pa fodd yr ymadawa er fy mwyn!
Yn lle dychwelyd, fy meusydd a rana!"
5 Am hyny ni bydd i ti neb a fwrio linyn coelbren,
Yn nghynnulleidfa Iehofa.

6 "Na phrophwydwch a brophwydant;"
Ni phrophwydant i'r cyfryw;
Ni symudir gwaradwyddiadau.[1]
7 Ai a ddywedir gan dŷ Iacob,[2]
"A fyrhaodd Ysbryd Iehofa?
Ai y cyfryw ydynt ei weithrediadau?"
Oni wna fy ngeiriau ddaioni
I'r neb a rodio yn uniawn?
8 Ond fy mhobl er cynt, yn elynion y cyfodant;
Oddiar yr hugan y diosgwch y clôg[3]
Oddiam y rhai a dramwyant yn hyderus,
Yn dychwelyd o ryfel:
9 Gwragedd fy mhobl a yrwch allan,
*Pob un* o dŷ ei hoffderau;
Oddiar ei phlant y cymerwch ymaith
Fy addurniad dros byth.[4]
10 Codwch ac ewch ymaith,
Am nad hon yw *eich* gorphwysfa;
O herwydd ei halogi, dinystrir hi,
A'r dinystr *fydd* yn nerthol.
11 Os gau-ddywed neb, sy'n dilyn yr ysbryd a thwyll,
"Prophwydaf i ti am win a diod gadarn;"
Yna daw yn brophwyd i'r bobl hyn.

12 Gan gasglu casglaf Iacob,—ti oll,
Gan gynnull cynnullaf weddill Israel;
Ynghyd y gosodaf hwynt fel defaid yn Bosra,

Israel. Nid oedd argoel yr ymadawai, gan y rhanai ymhlith ei ddeiliaid "y meusydd," yn lle eu "dychwelyd" i blant Israel.

[1] Dywediad y bobl yw y llinell gyntaf; ateb Duw yw y ddwy a ganlyn: ni wnai brophwydo iddynt, gan eu gadael yn eu "gwaradwyddiadau," heb ymdrechu eu symud. Neu fel hyn;—

"Na phrophwydwch; prophwydant hwy,
Y rhai na phrophwydant am y cyfryw bethau;
Nid ymadawa gwaradwyddiadau!"

Yn ol hyn, geiriau y bobl ydynt oll. Gwarafunent y gwir brophwydi, darlunient y rhai oeddent i brophwydo, ac achwynent eu bod yn cael eu gwaradwyddo yn barhaus. Gwel *adn.* 11. *Dyhidlo*, yw y gair a arferir yma am *brophwydo:* "Na ddyhidlwch," &c. Gwel *Esec.* xx. 46; *Amos* 7. 16; "nac yngan," yn *Amos*, a ddylai fod "na ddyhidla," sef, na phrophwyda.

[2] Neu, yn ol darlleniad rhai copïau, "A ddywedodd tŷ Iacob." Arferir y gair "byrhau" am ddiffyg amynedd a diffyg nerth. Yr achwyniad oedd, naill ai bod "Ysbryd Iehofa" yn fyr o ran amynedd, gan y digllonai yn fuan; neu yn fyr o ran nerth, gan nad allai gyflawni ei amcanion. "Ai y cyfryw," &c., iaith gwawd.

[3] Neu "fantell." Er eu bod yn bobl iddo er cynt, er hir amser, eto, cyfodant megys gelynion yn erbyn ei awdurdod.

[4] Yr addurniad oedd eu dillad: cyfeirir fel y tybir, at *Ecsod.* xxii. 25.

Fel praidd yn nghanol eu corlan,
A drystiant o herwydd dynion:
13 Esgyn y rhwygydd ger eu bron;
Rhwygant trwodd a thramwyant trwy 'r porth;[1]
Yna hwy a änt allan trwyddo,
A thramwya eu brenin o'u blaen,
A Iehofa yn ben arnynt.

PENNOD III.

1 A dywedais,[2]—gwrandewch attolwg, benaethiaid Iacob,
A llywodraethwyr tŷ Israel:
Onid i chwi y perthyn gwybod barn?—
2 Yr ydych yn casau 'r da ac yn caru 'r drwg;
Yn blingo eu croen oddi am danynt,
A'u cig oddiwrth eu hesgyrn!
3 Ac o herwydd y bwytasant gnawd fy mhobl,
A'u croen oddi am danynt y blingasant,
A'u hesgyrn y drylliasant ac y briwasant,
Fel yr hyn sydd yn y crochan,
Ac fel cig sydd o fewn y badell;[3]
4 Ië, er y gwaeddant ar Iehofa,
Eto nid ateba hwynt;
A chuddia ei wyneb rhagddynt y pryd hwnw,
O herwydd yn ddrwg y gwnaethant eu gweithredoedd.

5 Fel hyn y dywed Iehofa,
Am y prophwydi a ŵyrdroant fy mhobl,[4]
Y rhai a gnoant â'u dannedd,[5]
Ac a waeddant, "Heddwch;"
Ond y neb na roddo yn eu penau,
Darparant yn ei erbyn ryfel:
6 O herwydd hyn nos *fydd* i chwi, heb weledigaeth;[6]
A thywyllwch *fydd* i chwi, heb ddewiniaeth;
Ië, machluda 'r haul ar y prophwydi,
A dua arnynt y dydd:
7 Yna cywilyddia y gweledyddion,
A chythrudda y dewiniaid;[7]

[1] "Rhwygant," sef y rhwygydd a'i ganlynwyr. Gosodir allan Iacob ac Israel wedi eu cynnull fel defaid mewn corlan, sef yn eu dinasoedd. Mae y rhwygydd a'i ganlynwyr yn dyfod ac yn tori trwy y porth ac yn myned i mewn. Yna änt hwy, sef y cynnulledig, allan, a'u brenin hefyd, a than dywysiad Iehofa. Tybia rhai, mai addewid o ddychweliad a gynnwys y ddwy adnod hyn, ond nid addas i hyn y ceir y geiriau.

[2] Wedi cyhoeddi y farn oedd ar ddyfod yn niwedd y bennod flaenorol, cyfeiria yma ei ymadrodd at benaethiaid y bobl—y barnwyr; dengys eu creulondeb trwy eu cymharu i gigyddion; ac o herwydd y creulondeb hwn, pan ddelai y farn, ni byddai i Dduw eu gwrandaw, er gwaeddi o honynt arno.

[3] Dryllid yr esgyrn i'w rhoi mewn crochan; briwid y cig i'w roi mewn padell.

[4] Neu, "a dwyllant fy mhobl;" hyny yw, trwy addaw iddynt heddwch pan nad oedd heddwch.

[5] Sef cnoi bwyd; tra y caffent ymborth, yr oeddent yn prophwydo heddwch; ond os na chaent "y dorth a'r pysgod," cyhoeddent ryfel yn y fan.

[6] Neu, "yn lle gweledigaeth," ac felly yn y llinell nesaf, "yn lle dewiniaeth." Felly y cyfieitha *Calvin*.

[7] Neu daroganwyr, y rhai a ragddywedant am bethau i ddyfod. Nid ystyr dda sydd

A gorchuddiant eu genau, bawb o honynt,
Gan na fydd ateb oddiwrth Dduw.
8 Ond diau myfi, llawn wyf o nerth gan Ysbryd Iehofa,
O iawn-farn hefyd ac o wroldeb,[1]
I ddatgan i Iacob ei drosedd
Ac i Israel ei bechod.
9 Clywch attolwg hyn, benaethiaid tŷ Iacob,
A llywodraethwyr tŷ Israel;
Y rhai a ffieiddiant farn
A phob uniondeb a ŵyrdroant;
10 Gan adeiladu Sïon â gwaed,
Ac Ierusalem â chamwedd![2]
11 Ei phenaethiaid, am wobr y barnant,
A'i hoffeiriaid, am gyflog y dysgant,
A'i phrophwydi, am arian y dewinant;
Eto ar Iehofa y gorphwysant,
Gan ddywedyd, "Onid yw Iehofa yn ein canol?
Ni ddaw arnom ddrwg."
12 Am hyny, o'ch achos chwi,
Sïon *fel* maes a erddir,
Ac Ierusalem yn garneddau a fydd,
A mynydd y tŷ[3] fel uchelfanau coedwig.

## PENNOD IV.

1 Ond bydd yn niwedd y dyddiau,[4]
Y bydd mynydd tŷ Iehofa
Yn cael ei osod yn ben y mynyddoedd,[5]
A dyrchefir ef uwchlaw y bryniau;
A phobloedd a ddylifant iddo;
2 Ac ä cenedloedd lawer, a dywedant,
"Deuwch ac esgynwn i fynydd Iehofa,
Ac i dŷ Duw Iacob;
A dysg i ni ei ffyrdd,
A rhodiwn yn ei lwybrau:"
Canys o Sïon y daw allan gyfraith,
A gair Iehofa o Ierusalem;

i'r gair yn gyffredin; a gelwir felly, y rhan amlaf, y gau-brophwydi. "Gorchuddio 'r genau," oedd nôd o alar ac o warth. Gwel *Lef.* xiii. 45; *Esec.* xxiv. 22.

[1] "Nerth." Gwel *Luc* i. 17; xxiv. 49. "Nerth" oedd y gallu goruwchnaturiol a dderbyniasai tuag at gyflawni ei swydd fel prophwyd. Ynghyd â hyn oedd "iawn-farn" i wahaniaethu rhwng pethau; a "gwroldeb," neu ddewrder ysbryd, i wynebu pob dirmyg a gwawd: tri pheth anghenrheidiol eto er cyflawni y swydd weinidogaethol.

[2] Wrth "farn" y deallir yn aml iawn, farn, neu farniad cywir. Ffieiddient hyn, a chollfarnent y gwirion er cael ei feddiannau i adeiladu Sïon. Gŵyrdröent y peth oedd gywir, a dyma y "camwedd" a ddefnyddient er adeiladu Ierusalem. Gellir troi y geiriau, "A phob peth union a gamant."

[3] Sef y deml, a elwir yn neillduol "y tŷ."

[4] Dylai "ond" fod yma, o herwydd yr hyn a ddywedir yn niwedd y bennod flaenorol.

[5] Felly y gellir cyfieithu y geiriau. Yr oedd y mynydd hwn i fod yn ben ar yr holl fynyddoedd; yr ystyr a roddir yn fwy amlwg yn y llinell a ganlyn; canys nid yw y gair am "fryniau" yn dynodi lleoedd iselach na mynyddoedd, ond gellir ei gyfieithu "bannau:" unrhyw uchelfanau a feddylir.

3 A barna rhwng pobloedd lawer,[1]
A cherydda genedloedd cedyrn hyd ymhell;
A churant eu cleddyfau yn sychau,
A'u gwaewffyn yn bladuriau;
Ni chyfyd cenedl yn erbyn cenedl gleddyf,
Ac ni ddysgant mwyach ryfel;
4 Ond eisteddant pob un dan ei winwydden,
A than ei ffigysbren, heb neb yn peri dychryn;
Canys genau Iehofa y lluoedd a lefarodd *hyn*;
5 Canys yr holl bobloedd sy'n rhodio,
Pob un yn enw ei dduw ei hun,
A ninnau hefyd, rhodio a wnawn
Yn enw Iehofa ein Duw dros oesoedd a byth.[2]

6 Yn y dydd hwnw,[3] medd Iehofa,
Casglaf y gloff, a'r gwasgaredig a gynnullaf,
A'r hon a gystuddiais;
7 A gwnaf y gloff yn weddill,
A'r hon a yrwyd ymhell yn genedl gref;
A theyrnasa Iehofa arnynt,
Yn mynydd Sïon, o'r pryd hyn hyd byth.
8 A thi, tŵr y praidd, caer merch Sïon,
I ti y dygwydd;[4]
Ië, daw y llywodraeth flaenorol—
Y deyrnas, i ferch Ierusalem.

9 Yn awr, pam y gwaeddi waedd?[5]
Ai nid oes brenin genyt?
A yw dy gynghorydd wedi marw?
Canys cymerodd di wewyr
Fel eiddo gwraig wrth esgor.
10 Bydd mewn gwewyr a gruddfana,
Ferch Sïon, fel gwraig wrth esgor;

[1] Pwy neu beth oedd i farnu? "Gair Iehofa," medd rhai, ond Iehofa ei hun medd eraill. Mwy cymhwys yw cymeryd y gair, "A cherydda," &c., neu, "Ac argyhoedda." Arwydda y gair arddangos peth yn eglur trwy brofion, a hyny er argyhoeddi neu geryddu.

[2] Nid cyson y cyfieithiad cyffredin â dechreu y bennod, lle dywedir am bobloedd yn dylifo i Sion, a'r "holl bobloedd," fel ei cawn yn *Esay*, yr ail bennod, lle y rhoir y brophwydoliaeth hon ymron air yn ngair, ond heb y ddwy adnod olaf hyn. Yr oedd "yr holl bobloedd" yn rhodio y pryd hyny yn enw eu duwiau, ond deuai'r amser y byddent hwy ac Israel i rodio yn enw Iehofa.

[3] Sef y dydd y cyfeiria ato yn nechreu y bennod, hyny yw, dydd yr efengyl yn ei gyflawn ystyr, a dydd dychweliad o Babilon fel cysgod o hono. Y mae'r ddau beth yn cael eu golygu, ond yn benaf, dydd yr efengyl.

[4] Dywed yn y llinellau a ganlynant beth oedd i ddygwydd neu i ddyfod iddi, sef y llywodraeth flaenorol. Gan lwyth Iowda yr oedd y llywodraeth o'r blaen. Llwyth Iowda a drigai yn Ierusalem, oedd eto ei chael, ac felly y bu.

[5] Neu, fel y gellir cyfieithu y geiriau,

"Yn awr pam y gwaeddi 'Drygfyd?'"

Gwedi rhoddi addewid o waredigaeth, try at ei genedl oedd mewn mawr drallod, a gofyn yr achos. Yr oedd ganddi eto frenin a chynghorwyr, am mai felly y dylid ystyried y ddau ofyniad. Eto yr oedd mewn gwewyr fel gwraig wrth esgor. Nid addawa iddi seibiant; rhaid iddi fod mewn gwewyr hyd onid aethai i gaethglud; ac wedi hyny y cai esgoriad neu waredigaeth. Hynod o ddarluniadol yw y rhan hon:

Canys allan yr ëi yn awr o'r ddinas,
A thrigi yn y maes, ac ëi hyd Babylon:
Oddiyno y gwaredir di,
Yno yr achub Iehofa di o law dy elynion.

11 Ond yn awr ymgasglodd yn dy erbyn[1]
Genedloedd lawer, y rhai a ddywedant,
"Haloger hi, ac edryched ar Sïon ein llygaid."
12 Ond hwy, ni wyddant fwriadau Iehofa,
Ac ni ddeallant ei gynghor;
Canys casgla hwynt fel ysgubau i'r llawrdyrnu:[2]
13 Cyfod a dyrna, ferch Sïon,
Gan y gwnaf dy gorn yn haiarn,
A'th garnau a wnaf yn bres,
Fel y drylliot bobloedd lawer;
A chysegri i Iehofa eu helw,
A'i meddiannau i Arglwydd yr holl ddaear.

## PENNOD V.

1 Yn awr ymfyddina ferch y fyddin,[3]
Gosod gynllwyn yn ein herbyn:
A gwialen y tarawant ar y gern farnwr Israel.
2 Ond ti Fethlehem Ephrata,
Bychan i fod ymhlith miloedd Iowda,
O honot y daw *un* allan i mi,
I fod yn llywodraethwr yn Israel;
A'i fynediad allan sydd er y cynfyd,[4]
Er dyddiau yr oesoedd.
3 Am hyny rhydd hwynt i fyny,
Hyd y pryd yr esgoro yr hon sydd i esgor,
Ac y dychwelo gweddill ei frodyr at feibion Israel.
4 Yna saif a phortha, yn nerth Iehofa,

[1] Rhydd yma ddarluniad o amgylchiad y genedl yn amser ei chaethgludiad; llawer yn ei herbyn â'u bryd i'w dinystrio. "Haloger hi," hyny yw, "dinystrer hi." Mae "edrych" ar un yn arwyddo goruchafiaeth neu fuddygoliaeth. Gwel *Salm* xxii. 17. "Yn edrych arnaf," sef fel un wedi ei oresgyn. Gwel hefyd *Salm* cxviii. 7. "Am hyny caf edrych ar fy nghaseion;" felly y dylid cyfieithu. "Edrych ar Sïon," oedd gorfoleddu o herwydd ei darostyngiad.

[2] Nid oedd y rhai a orfoleddent am iselhad Sïon yn gwybod y caent hwythau eu goresgyn. Addewir yma eu casglu fel ysgubau i'w dyrnu, a gelwir ar Sïon i'r gwaith hwn. Y drefn o ddyrnu y pryd hyny oedd sathru yr ŷd gan draed ychain; am hyny y dywedir yma am "gorn" a "charnau." Y peth a feddylir yw, y byddai Sïon, sef pobl Israel, yn cael ei chynnysgaethu â gallu digonol er goresgyn ei gelynion, ac y byddai iddi gysegru yr "elw," sef aur ac arian, a'r "meddiannau," sef pethau gwerthfawr eraill, i wasanaeth Duw.

[3] Geilw Babilon yn "ferch y fyddin," gan ei bod yn rhyfelgar. Gwahodd hi i ddyfod i Ierusalem, a noda y dirmyg a gai y brenin. Yna try yn union at frenin a llywodraethwr arall ag oedd i ddyfod, er rhoddi gobaith i Israel tan eu gofid. Crist yn ddiau yn fwyaf a feddylir; eto, fel cysgod o hono, Ierubabel, yr hwn oedd o lwyth Iowda.

[4] Neu, "A'i fynediadau allan *ynt* er y cynfyd." Y cyfeiriad sydd at yr addewidion a wnaed o hono o'r dechreuad. Cafwyd y geiriau, "er dyddiau tragywyddoldeb," o'r *Vulgate*. Gwel yr un geiriau yn *Mica* vii. 14, ac a gyfieithir "dyddiau gynt." Gwel hefyd *Esay* lxiii. 9. 11.

Yn mawrhydi enw Iehofa ei Dduw;[1]
A dychwelant, canys y pryd hyn mawr a fydd
Hyd eithafoedd y ddaear;
Ac efe a fydd yn heddwch.

5 Yr Assyriad, pan ddelo i'n gwlad,[2]
A phan sango yn ein palasau,
Yna cyfodwn yn ei erbyn saith bugail,
Ac wyth ddyn eneiniog;[3]
6 A difrodant wlad yr Assyriad â'r cleddyf,
A gwlad Nimrod yn ei chyffiniau:[4]
Ië, gwaredir ni rhag yr Assyriad,
Pan ddelo i'n gwlad,
A phan sango yn ein terfyn.

7 A bydd gweddill Iacob ymhlith pobloedd lawer
Megys gwlith oddiwrth Iehofa,
Megys mân wlaw ar laswellt;
Yr hwn nid erys wrth ddyn,
Ac ni ddysgwyl wrth feibion dynion.[5]
8 Bydd hefyd weddill Iacob ymhlith cenedloedd,
Yn nghanol pobloedd lawer,
Fel llew yn mysg bwystfilod y goedwig,
Ac fel cenaw llew ymhlith diadellau defaid;
Yr hwn, os ä trwodd, a sathra ac a larpia,[6]
Heb neb i fod yn waredydd.
9 Dyrchefir dy law ar dy orthrymwyr,
A'th holl elynion a dorir ymaith.

10 A bydd yn y dydd hwnw,[7] medd Iehofa,
Y toraf ymaith dy feirch o'th ganol di,
Ac y dinystriaf dy gerbydau;[8]
11 Toraf i lawr hefyd ddinasoedd dy wlad,[9]
A dadymchwelaf dy holl gaerau;

[1] Yn ol y drefn a ganfyddir yn aml, yr ystyr yw, "Saif yn mawrhydi," &c., a "phortha yn nerth," &c., neu "bugeilia yn nerth," &c.

[2] Byddai hyn yn ol y dychweliad o Babilon. Er bod y brophwydoliaeth ragflaenol yn cyfeirio yn benaf at Grist, eto cynnwys addewid o adferiad o gaethiwed Babilon. Ac yma, ac hyd at ddiwedd y bennod, yr hyn a ddygwyddodd ar ol yr adferiad hwnw a ddynodir yn fuan neillduol.

[3] Felly y gelwid tywysogion, "dugiaid Sehon," yn *Jos.* xiii. 21, ydynt yn llythyrenol "eneinogion Sehon." Nid yw "saith" nac "wyth," i'w cymeryd yn llythyrenol, ond dynodant nifer digonol.

[4] Yn llythyrenol, "agoriadau," neu fynediadau i mewn.

[5] Mae hyn yn dangos y byddent yno, nid trwy drefn neu ddarbodaeth dyn, ond trwy drefn a rhagluniaeth Duw. Nid yw'r gwlith na'r gwlaw yn ymddibynu dim ar ddyn.

[6] Y peth a arwyddir yw, y byddai yr Iuddewon yn meddu cymaint o allu a chymeradwyaeth fel y byddai eu hofn ar y cenedloedd y byddent yn byw yn eu plith.

[7] Cyfeiria hyn yn neillduol ac yn llythyrenol at yr Iuddewon, pan eu halltudiwyd i Babilon, yr amser a ddynodir yn nechreu y bennod. Nid oedd y pethau a enwir yma yn eu plith wedi eu dychweliad.

[8] "Meirch" a "cherbydau" rhyfel: yn y rhai hyn yr oedd eu hyder, ac nid yn yr Arglwydd.

[9] Yr oedd y rhai hyn wedi eu hamgylchu â muriau, er diogelwch. Nid Duw a wnaent yn amddiffynfa; ond moddion dynol, yn groes i orchymyn Duw.

12 Ië, toraf ymaith swynion o'th derfyn,[1]
A dewiniaid ni fyddant i ti;
13 A thoraf ymaith dy gerf-ddelwau
A'th golofnau[2] o'th ganol di,
Fel nad ymgrymot mwy i waith dy ddwylaw;
14 Diwreiddiaf hefyd dy lwyni o'th ganol,
A dyfethaf dy addurniadau:[3]
A gwnaf mewn dig ac mewn digllonedd,
Ymddial ar y cenedloedd,
Y rhai ni wrandawsant.[4]

## PENNOD VI.

1 Clywch, attolwg, yr hyn a ddywed Iehofa:
Cyfod, dadleu ger bron y mynyddoedd,
A chlywed y bryniau dy lais:
2 Clywch, fynyddoedd, ddadl Iehofa,
A chedyrn sylfeini y ddaear;[5]
Canys dadl sydd rhwng Iehofa a'i bobl,
Ac âg Israel yr ymresyma:
3 Fy mhobl, beth a wnaethum i ti?
Ac yn mha beth y blinais di?
Tystiolaetha i'm herbyn:
4 O herwydd dygais di i fyny o wlad yr Aipht,
Ac o dŷ y caethiwed y gwaredais di,
Ac anfonais o'th flaen
Moses, Aaron, a Miriam.
5 Fy mhobl, cofia, attolwg,
Beth a gynghorodd Balac, brenin Moab,
A pheth a atebodd iddo Balaam, mab Beor,
*A pheth a fu* o Sittim hyd Gilgal,[6]
Fel y gwybyddot gyfiawnderau Iehofa.
6 A pha beth y cyfarfyddaf â Iehofa,[7]
Yr heddychaf[8] Dduw yr uchelder?

[1] Felly yr arwydda'r gair. Gwel *Esec.* xlviii. 1.

[2] Felly ei cyfieithir yn *Deut.* xii. 3. Gwel 2 *Bren.* x. 26, 27.

[3] Gan yr enwid "dinasoedd" o'r blaen (*adn.* 11) nid tebyg eu henwi eto yma, yn enwedig mewn cysylltiad â "llwyni." Cyfieithir y gair gan rai, "gelynion," ond nid yn addas yma gyda "llwyni." Rhydd un copi air arall, a gynnwys un lythyren wahanol, *d* yn lle *r*, dwy lythyren debyg iawn i'w gilydd yn yr Hebraeg; ac ystyr y gair hwn yw "addurniadau," pethau perthynol naill i ddelwau ac allorau y llwyni, neu i wisgoedd yr addolwyr. Gwel *Esec.* xvi. 16.

[4] Sef, ar y bygythiadau o ran eu creulondeb tuag at blant Israel.

[5] Felly y gelwir y mynyddoedd a'r bryniau, ger bron y rhai yr oedd yr achos yn cael ei ddwyn. Gwnaed y rhai hyn yn farnwyr, er dangos fod y ddadl mor amlwg fel y gallai megys y ddaear fud annirnadol ei benderfynu, a chyfaddef iawnder Duw.

[6] Nis gellir cysylltu y geiriau â'r llinell flaenorol. "Sittim" oedd yn ngwlad Moab, ond "Gilgal" tuhwnt i'r Iorddonen, yn ngwlad Canaan. Cyfeirir yma at yr hyn a gymerodd le gwedi ymadael o Sittim hyd pan ddaeth y bobl i Gilgal. Rhoer y llinell yma fel y mae yn y *Targum*, ac yn ddiau yn iawn.—"Cyfiawnderau" o herwydd cyflawniadau oeddent o addewidion. O flaen brawdle cyfiawnder yn unig a olygir.

[7] Ateb y bobl ydyw hwn: yr oeddent wedi cael eu gwysio o flaen y frawdle. Cydnabyddent eu bai, a gofynent beth a wnaent er cyfarfod â Duw yn y ddadl hon.

[8] Neu, yn fwy llythyrenol, "Yr ymostyngaf i Dduw," &c, gan roddi i fyny yr achos

A wnaf ei gyfarfod â phoethoffrymau,
A lloi blwyddyn oed?
7 A foddlonir Iehofa â miloedd o hyrddod,
A deng mil o ffrydiau olew?
A roddaf fy nghyntafanedig am fy nhrosedd,
Ffrwyth fy lwynau am bechod fy enaid?[1]—
8 Dangosodd i ti ddyn beth sydd dda;
A pha beth a ofyn Iehofa oddiwrthyt,
Onid gwneuthur uniondeb, a charu trugaredd,
Ac ymostwng i rodio gyda 'th Dduw?[2]

9 Llef Iehofa! ar y ddinas yn galw;[3]
(A'r doeth a ofna dy enw)
Gwrandewch y wialen, a phwy a'i gosododd:
10 A oes eto yn nhŷ yr anghyfiawn drysorau anghyfiawnder,
A'r mesur prin, llwyr adgas?
11 A wnaf ei chyfrif hi[4] yn lân sydd ganddi glorianau anghyfiawn,
A chôd o bwysau twyllodrus?
12 Yr hon y bu ei chyfoethogion[5] yn llawn trais,
A'i thrigolion yn traethu celwydd,
A'u tafod yn ddichellgar yn eu genau;
13 Tra yr oeddwn I hefyd wedi dechreu dy daro,
Dy ddifrodi o herwydd dy bechodau.[6]
14 Bwyta a wnai di, ond ni'th ddigonir,
A'th wendid fydd o'th fewn;[7]
Ymafli[8] hefyd, ond ni waredi,
A'r rhai a waredi, i'r cleddyf a roddaf:
15 Ti a haui, ond ni fedi;
Sethri di yr olewydd, ond nid eneini âg olew,
A'r gwin newydd, ond nid yfi win.
16 Gan y cedwir deddfau Omri,[9]
A'r hyn oll a wnaed gan dŷ Ahab,

mewn dadl, a cheisio ymheddychiad. Dyma yr ystyr a roir gan y *Targum*, y *Septuagint*, a'r *Syriac*. "Boddloni" yw y gair cyferbyniol yn yr adnod a ganlyn.

[1] Dengys yr ateb y cyfeiliornadau echrydus a goleddai y bobl; yr oeddent yn meddwl fod Duw y nefoedd fel y gau-dduwiau yn derbyn plant yn boethoffrwm! Yr oedd yr arfer ganddynt i offrymu eu plant i Moloc (*Ier.* xix. 5.) a gofynent a fyddai hyn yn gymeradwy gan Dduw.

[2] Sonia yn gyntaf am ddyled dyn tuag at ei gymydog, fel y peth mwyaf amlwg; ac yna ei ddyled tuag at Dduw. Gwneir hyn yn aml, er argyhoeddi rhagrithwyr. "Ymostwng," &c., dyma yr Hebraeg yn gywir, ac nid yn ol y Seisneg. Balchder yn enwedig sydd yn cadw dynion rhag duwioldeb.

[3] Y "ddinas" oedd Ierusalem.

[4] Sef y ddinas.

[5] Dyma eiriad o nodwedd neillduol, "yr hon," ac "ei," yn dynodi yr un peth; felly yn gywir yr Hebraeg.

[6] Hynodrwydd ymddygiad Ierusalem oedd, fod ei thrigolion yn gormesu, yn celwydda, ac yn dwyllodrus, hyd yn nod pan oedd Duw yn eu cosbi, yn eu "taro," ac yn eu "difrodi."

[7] Sef, o herwydd afiechyd tufewnol, nid o herwydd prinder.

[8] Neu yn ol darlleniad arall, "symudi," hyny yw, symudi i le dirgel blant neu deulu er eu diogelu; er hyny caent eu rhoddi i'r cleddyf. Yr un yw'r ystyr, yr "ymaflu," oedd er eu diogelu.

[9] Omri oedd sylfaenydd Samaria, a thad Ahab oedd, a chefnogydd gau-grefydd Ieroboam. Gwel 1 *Bren.* xvi. 16—28.

Ac y rhodiwch yn ol eu cynghorion,
Am hyny, gwnaf di yn anghyfannedd,
A'th drigolion yn hwtian,[1]
A gwarth pobloedd a ddygwch.

PENNOD VII.

1 Gwae i mi! canys yr ydwyf[2]
Fel casglwyr ffrwythau haf,
Fel lloffyddion gwinllan;
Nid oes un pwng i'w fwyta,
Y cynnar ffrwyth a ddymuna fy enaid.
2 Darfu am y trugarog[3] o'r wlad,
A'r uniawn ymhlith dynion nid oes un:
Hwynt oll, am waed y cynllwynant;
Pob un a hela ei frawd â rhwyd.
3 Ar wneuthur drwg y mae eu dwylaw,
Yn lle gwneuthur da;
Y tywysog a ofyn,[4] a'r barnwr *a ofyn* am wobr;
Ië, y gŵr mawr a ddywed am ddymuniad ei enaid,
"Hwn *ydyw*;" yna cydblethant ef.[5]
4 Eu dyn da[6] *sydd* fel mieren,
A'r uniawn yn waeth na pherth ddrain.
Dydd dy wylwyr,[7] dy ymweliad, sy'n dyfod!
Yna y bydd eu dyrysni!

5 Na chredwch gyfaill,[8]
Na hyderwch mewn cydymaith;
Rhag yr hon a orwedd yn dy fynwes
Cadw ddrws dy enau:
6 Canys mab a anmharcha dad,

[1] Neu, "yn wawd;" byddant i gael eu hwtio a'u dirmygu gan eu gelynion.

[2] Cyffelybai ei hun i rai yn casglu lloffion gwinllan, heb gael cymaint a "phwng" neu byngiad (*cluster*) i'w fwyta. Pan chwiliai am ddyn da a chywir, nid oedd un i'w gael; megys ffrwyth gwinllan, yr oeddynt i gyd wedi eu casglu.

[3] Felly y gelwid y dyn da cymwynasgar. Yr "uniawn" oedd yr hwn a wnaethai gyfiawnder heb ormesu eraill. Gwel *pen.* vi. 8, lle yr enwir "uniondeb a thrugaredd." Nid oedd neb yn uniawn, am y "cynllwynent am waed;" ac nid neb yn drugarog, canys fel y dywedir yn yr adnod a ganlyn, "ar wneuthur drwg yr oedd eu dwylaw yn lle gwneuthur da," neu ddaioni, neu gymwynasgarwch i'r tlawd a'r anghenus. Gwelwn yma gysondeb yn y cwbl; a chadarnheir yn ddiammheuol y cyfieithiad a roddir o ddechreu y drydedd adnod, a eglurheir (neu yn hytrach a dywyllir) gan lawer mewn amryw ffyrdd.

[4] Neu "a wna gais;" gofynai gymwynas gan y barnwr, a'r barnwr yntau a ofynai am wobr. "Y gwr mawr," oedd "y tywysog."

[5] Sef yr achos mewn llaw. "Cydblethu," yw y gair yn llythyrenol, a thra addas yw.

[6] Sef, a gyfrifid yn dda, neu y goreu yn eu plith. "Trugarog," a arferai yn *adn.* 2; ond cawn "uniawn" eto.

[7] Arferid "gwylwyr" yn amser perygl: delai y dydd pan y gelwid y rhai hyn i'w swydd. Yna y deuai ar y mawrion a'r barnwyr "ddyrysni," neu gyfyng-gynghor, heb wybod beth i'w wneuthur.

[8] Rhydd yma ddarluniad hynod o gyflwr diraddiedig y bobl. Nid allai gredu yr hyn a ddywedai cyfaill, na hyderu ar addewid cydymaith neu arweinydd, fel y dynoda y gair. Nid allai neb chwaith ymddiried yn ei wraig, a phob perthynas wedi colli y serch a'r cariad a'r ffyddlondeb perthynol iddi. Hyn oedd nodwedd trigolion Ierusalem! nodwedd hollol waradwyddus.

Merch a gyfyd yn erbyn ei mam,
Y waudd yn erbyn ei chwegr;
Gelynion pob un ydynt ddynion ei dŷ.—
7 Ond myfi, at Iehofa y troaf fy ngolwg,
Dysgwyliaf wrth Dduw, fy ngwaredwr;
Fy ngwrandaw a wna fy Nuw.

8 Na lawenha, fy ngelynes, o'm herwydd;
Er syrthio, gwnaf gyfodi;
Pan eisteddwyf mewn tywyllwch,
Iehofa *a fydd* yn oleuni i mi:
9 Digder Iehofa a ddyoddefaf,
(O herwydd pechais yn ei erbyn)
Hyd y dadleuo fy nadl,
Ac y gwnelo farn drosof;
Yna dwg fi allan i'r goleuni,
A chaf weled ei gyfiawnder.
10 Gwel *hyn* hefyd, fy ngelynes;[1]
A gorchuddia hi gywilydd,
A ddywedasai wrthyf, "P'le mae Iehofa dy Dduw?"
Fy llygaid a edrychant arni;[2]
Y pryd hyn y bydd yn sathrfa,
Megys tom yr heolydd.

11 Dydd i adeiladu dy furiau!
Y dydd hwnw, ymbellheir y ddeddf;[3]
12 Y dydd hwnw, atat hefyd y deuant
O Assyria, a dinasoedd amddiffynfa,
Ac o amddiffynfa hyd afon a môr,
O fôr, ac o fynydd i fynydd.
13 Eto bydd y wlad yn anghyfannedd,
O achos ei thrigolion,
O herwydd ffrwyth eu gweithredion.

14 Portha dy bobl â'th ffon,
Praidd dy etifeddiaeth,
A drigant yn unig yn y goedwig.[4]

Yn nghanol Carmel y porant,[5]
Yn Basan a Gilead, fel yn y dyddiau gynt:
15 Fel yn nyddiau dy ddyfodiad di allan o dir yr Aipht,
Paraf iddynt weled ryfeddodau;
16 Gwel *hwynt*[6] y cenedloedd,

[1] "Y gelynes" oedd Babilon; gwel *Ier.* l. 11; ond dywed rhai mai Edom a feddylir; Gwel *Obad. adn.* 12. Iaith ffydd yw hon —iaith un yn credu addewid Duw.
[2] Edrych ar elyn a arwydda oruchafiaeth arno.
[3] Yr hon oedd yn gwarafun adeiladu Ierusalem.
[4] Dyma weddi y prophwyd. Y "goedwig" oedd gwlad eu caethiwed; lle llawn o beryglon yw y goedwig, o herwydd creaduriaid rheibus; felly yr oedd gwlad estronol i Israel. Yr oeddynt "yn unig," sef, ar eu pen eu hunain. Ceisiai gan Dduw eu porthi, neu eu bugeilio â'i "ffon," offeryn i amddiffyn y praidd rhag bwysfilod y maes.
[5] Yr ateb oedd, y caent eto ddychwelyd i'w gwlad eu hun, a phori yno, ac enwa rai o'r manau goreu o ran porfa, Carmel, Basan, a Gilead; y cyntaf o du dwyrain i'r Iorddonen, a'r ddau le arall o du deheu iddi.
[6] Sef, "y rhyfeddodau" a wnelai Duw er gwaredu y bobl.

A chywilyddiant o herwydd eu holl nerth;[1]
Gosodant *eu* llaw ar *eu* genau,
Eu clustiau a fyddarant;[2]
17 Llyfant lwch fel y sarff,
Fel pryfed y ddaear dychrynant o'u llochesau;
Rhag Iehofa ein Duw yr arswydant,
Ac ofnant o'th herwydd di.

18 Pwy Dduw fel tydi?[3]
Yn dileu camwedd ac yn maddeu trosedd:
Yn erbyn gweddill ei etifeddiaeth
Ni ddeil dros fyth ei ddigofaint,
Canys yn hoffi trugaredd y mae efe:
19 Dychwel a thosturia wrthym,
Gorchfyga ein camweddau;[4]
Ië, tefli i waelodion y môr eu holl bechodau:
20 Cyflawni y gwirionedd i Iacob,
Y drugaredd i Abraham,[5]
Yr hon a dyngaist i'n tadau,
Er y dyddiau gynt.

[1] Sef, nerth, neu gadernid, neu wroldeb plant Israel. Ond darllen rhai, "am eu holl nerth," sef y cenedloedd; cywilyddient am na fyddai eu nerth o un lles iddynt i wrthwynebu Israel.

[2] Gosod llaw ar y genau, yw bod yn ddystaw; bod yn fyddar, yw gochelyd gwrandaw unrhyw newydd rhag ofn o'i fod yn anffodus. Llyfu y llwch, yw llwyr ddarostyngiad. "Pryfed," neu ymlusgiaid, y rhai a lochesant mewn cudd-fanau.

[3] Diwedda y prophwyd mewn syndod o herwydd mawredd trugaredd Duw. Trefnir yma y llinellau yn y fath fodd ag i ddangos yr hyn a ddywed y prophwyd *wrth* Dduw, a'r hyn a ddywed *am* Dduw.

[4] Golygir "camweddau" megys gelynion; am hyny dywedir yn y llinell a ganlyn y teflid hwynt megys Pharo a'i lu i waelod y môr.

[5] Pam "wirionedd" i Iacob, a "thrugaredd" i Abraham? Yr addewid i Abraham oedd rad; tarddai o drugaredd: ond yr addewid wedi ei gwneuthur, gwirionedd oedd yn gofyn ei chyflawniad. Gwel 1 *Ioan* i. 9.

---

## A YDYW YN BOSIBL GWNEYD Y GOREU O'R DDAU FYD?

[*Is it possible to make the best of both Worlds?* By T. BINNEY. Second edition. London: Nisbet and Co. 1853.]

A YDYW yn bosibl gwneyd y goreu o'r ddau fyd? Dyma ofyniad sydd yn llawn o bwysigrwydd, a dylem ystyried y dyn a'n cynnorthwya i'w ateb, yn gymwynaswr. Os nad ydym hyd yn hyn wedi cyrhaedd golygiad sefydlog ar y mater, ac wedi ffurfio barn sydd yn ddigon cref i roddi ei ffurf ar ein bywyd, ac i blygu ein hamcanion a'n gweithredoedd i'w hystum ei hun, y mae yn llawn bryd i ni ymofyn am danynt. Mae llawer, heb fyned i'r drafferth i geisio ffurfio barn ar y pwnc, yn cymeryd eu llywodraethu gan ryw opiniwn a ddygwyddodd ymaflyd ynddynt; a llawer eraill,

heb feddwl dim y naill ffordd na'r llall, yn eu gollwng eu hunain i ddylanwad y foment bresennol, gwnaed â hwy fel y byddo da yn ei golwg. Nid oes dim tebyg i gysur i'w ddysgwyl wrth fyned ymlaen yn y dull yma. Nid all y dyn deimlo yn sicr ei fod yn gwneyd ei ddyledswydd, a chan hyny y mae yn agored i'w luchio fel chwareubeth o flaen pob ymosodiad; ac nid yw yn gwybod dim, pan y mae rhyferthwy yn tyrfu oddiallan, beth ydyw cydwybod oleuedig yn sibrwd acenion tangnefedd oddifewn, ydynt yn ddigon cryfion i darfu broch y dymhestl. Y mae mewn *ansicrwydd*—ac nid oes dim yn effeithio yn fwy na hyn i wanychu a lladd pob rhagoriaeth yn nghymeriad y dyn. Mae yn ofni edrych iddo ei hun. Er ei fod wedi dewis gyrfa benodol i redeg ynddi yn ei fywyd, ni ŵyr paham y gwnaeth; a chan nad yw yn gallu teimlo yn benderfynol, y mae yn troi ei lygaid draw, yn rhedeg ymlaen; a chan ei fod yn ofni hyd yn nod i'w galon ei hun fyned i'w gwestiyno, y mae yn byw o'r neilldu, yn aros yn y tywyllwch, yn ffoadur oddiwrtho ei hun. Ac nid yn y sefyllfa yma, fe ŵyr pawb, y mae yn bosibl iddo ddarostwng y gelynion sydd am ddifa ei enaid a'i galon, a chyrhaedd yr hunan-feddiant a'r nerth sydd yn anghenrheidiol i sicrhau dedwyddwch a defnyddioldeb. Mae llawer iawn o bobl ar ryw adeg o'u bywyd, wedi ymdrechu, fe allai, i edrych y gwirionedd yn ei wyneb, a gofyn beth a ddylent wneyd? "Dyma fi yn awr mewn un byd, a dyma fi yn gwynebu ar fyd arall, ac y mae pethau y ddau fyd yma yn hollol groes i'w gilydd; mae yn ymddangos na allaf wneyd y goreu o'r naill, heb esgeuluso yn gyfangwbl y llall; beth ddylwn i wneyd?" Y mae rhyw adegau, rhyw fynydau, yn mywyd pob dyn, sydd rywfodd yn cynnwys ei fywyd i gyd. Dywed Schiller,—

> "The moments are
> But seldom in the life of man, that are
> Sublime and weighty."

Er eu bod yn anfynych, *y maent* yn sicr; ac y maent yn aml mor arddunol, mor bwysig, fel y maent yn cynnwys ei fywyd oll yn y fynyd fer, ïe, yn pwyso ei dynged dragywyddol gyda tharawiad ei amrant. Os yn unman yn ngyrfa bywyd, yn y fan yma, yn enwedig, y mae arnom eisieu help o'r nef. Pan mae pethau mawrion iawn yn ymddibynu ar bethau bychain iawn, mae yr anmherffeithrwydd lleiaf yn y pethau bychain hyny, er iddo fod yn effaith diofalwch, anwybodaeth, neu anfedrusrwydd, yn achosi ac yn cynnwys y camgymeriad anferth sydd yn y diwedd yn gydbwys â maint y pethau mawrion eu hunain. Mae yr anmherffeithrwydd lleiaf yn offeryn y seryddwr, er iddo fod yn anghanfyddadwy i'r llygaid, mewn mesuriadau mawrion yn ei ddadblygu ei hunan i filiynau o filltiroedd o gamgymeriad. Y mae hyn yn eglurach fyth i'w weled yn y mater dan sylw. Pan mae dyn yn gofyn cwestiwn, yr hwn y mae yr ateb a dderbynia iddo yn meddu gallu ar ei ddedwyddwch yn y byd hwn, mae pwysau annedwyddwch ei oes yn gynnwysedig yn y mymryn camgymeriad a bair iddo dderbyn atebiad cyfeiliornus; ac yr un modd pan y mae yr atebiad yn meddu gallu ar ei helynt dros byth, mae yr anwybodaeth neu y diofalwch sydd yn peri iddo ymfoddloni ar atebiad anmherffaith, y mymryn bach yna o ddiffyg, yn cynnwys ynddo ei hun y cyfanswm ofnadwy o dragywyddol wae. Nid ydym yn dyweyd fod yn anmhosibl cywiro y camgymeriad cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar—gwyddom, trwy drugaredd, fod; ond eto teimlwn yn sicr, pan y mae rhyw opiniwn ar fater pwysig, boed

gau boed gwir, wedi ymaflyd yn enaid dyn, fod ei gafael ynddo yn llawer cryfach nag y mae efe yn feddwl; a siarad yn gyffredinol, hi sydd yn ffurfio ei fywyd, ac yn ei llaw hi y mae sel ei dynged mewn anfarwoldeb. Mae yr egwyddor lywodraethol yn gref yn angeu, yn anfarwol fel y dyn ei hun. Os ydyw yn gyfeiliornus, y mae yn dwyn i'w chanlyn ei gosgordd o drueni. Trwy ba anffawd bynag yr ennillodd yr arglwyddiaeth, yna y mae, ac y mae ei chanlyniadau yn anocheladwy. Rhaid i ni benderfynu na roes rheswm goleuedig erioed dderbyniad iddi. Fe ymwthiodd i fewn rywfodd yn nerth elfenau anmherffeithiach, y rhai yr oedd eu berw yn ddigon syfrdanllyd i foddi llais y cenadwr oddi fry yn yr enaid, a'i daflu o'i awdurdod. Mae y nerth yn yr enaid a fuasai yn ei gyfarwyddo i gylymu ei dynfa wrth orsedd Duw, wedi ei daflu heibio, a rhywbeth arall yn cael gweithio yn ei le, yn cael gyru y dyn ymlaen yn safn y llifeiriant nes ei ddryllio yn nghreigiau dinystr. Ni fyn rheswm y dyn arddel y gallu sydd yn ei yru ymlaen wrth ei ewyllys; ac eto gan y rheswm a'r farn y dylasai fod yr awdurdod i gau y drws ar ddannedd y gorthrymwr, ac i ddal eu gafael yn yr awenau eu hunain. "Os bydd y *goleuni* sydd ynoch yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch?"

Un o'r adegau mwyaf arddunol yn mywyd dyn ydyw yr adeg y gofyna iddo ei hun y cwestiwn dan sylw,—"Beth ddylwn i wneyd gyda golwg ar y ddau fyd?" Y mae hyny yn ddealledig wrth ddechreu, fod eisieu gwneyd y goreu o honynt, eisieu tynu iddo ei hun y daioni penaf, sut bynag y mae i'w gael. Y mae hon yn ymddangos i ni yn egwyddor ogoneddus yn nghymeriad dyn—yn un o'r elfenau hyny yn nghyfansoddiad ei galon sydd yn dangos, hyd yn nod yn ei ddirywiad, ei berthynas agos â'r Anfeidrol. Y mae un o'n beirdd goreu wedi rhoddi geiriad i farddoniaeth y gragen, ac mae'n debyg ei fod ar ei ben ei hun braidd yn llênyddiaeth y byd, ac y pery felly, fe allai, hyd y diwedd. Dyma fo,—

"Pleased, it remembers its august abode,
And murmurs as the ocean murmurs there!"

Felly y mae y galon ddynol yma yn ei hymestyniad pryderus—yn ei hawydd arteithiol, braidd, am gyrhaedd yr hyn a dybia y daioni penaf. Fel y gragen fach, wedi ei thaflu ar y traeth o bellder y môr mawr, y mae fel pe byddai yn adgofio yn felus, er yn ddiarwybod iddi ei hun, am y dyfnder mawreddig—ei hen gartrefle; ac i ddangos mor bell ydyw oddiwrth feddwl am wadu y berthynas—y mae yn awr yn murmur, fel y mae yr eigion yn murmur draw! Er fod y dyn wedi colli ei burdeb, nid ydyw wedi colli ei ddynoliaeth—yr hyn sydd yn ei wneyd yn ddyn. Y mae ei enaid eto, yn ei nerth a'i dreiddgarwch, yn dwyn hyd yn nod trwy yr anmherffeithrwydd "ddelw ac argraff" yr Hwn a'i gwnaeth; ac y mae ei galon eto, yn ngrym ac eangder ei hymdeimladau, er ei holl ddrygioni, yn dangos fod mawredd yr Hwn a'i ffurfiodd yn anchwiliadwy; a'i fod wedi ei gwneyd yn y fath fodd fel na all yn dragywydd gyfarfod â'i digonolrwydd ond yn ei gyflawnder Ef ei hun. A dyma y cwestiwn yn yr ymchwiliad dan sylw,—*y mwynhad mwyaf cyflawn, y daioni penaf*, a hyny gyda golwg ar y ddau fyd. Mae yn briodol sylwi fod twyll-resymeg beryglus iawn yn dueddol i ddyrysu dynion yn y fan yma, sydd yn codi oddiar derfynolrwydd, neu o'r hyn lleiaf yr hyn a ystyrir yn derfynolrwydd galluoedd dyn. Cymerir yn ganiatäol yn fynych fod ymadferthoedd dyn yn rhy weiniaid i ymestyn tros lawer o dir, mai yr unig obaith

iddo wneyd rhywbeth o honi hi gyda golwg ar weithio neu fwynhau ydyw, crynhoi ei alluoedd i ryw un pwynt, a'u gosod i weithredu mewn rhyw un cyfeiriad. Mae hyn wedi peri i liaws mawr o ddynion, a dynion da hefyd, benderfynu nad oedd yn bosibl iddynt fyw i'r Arglwydd, a gwneyd y goreu o'r byd a ddaw, heb gilio o ganol sŵn, a thrafferthion, a themtasiynau y byd hwn, i ymneillduedd y mynachlogydd neu yr anialwch. Yr oeddynt hwy fel yna yn foddlawn i fforffedu y byd hwn i gyd, os gallent ennill y byd a ddaw. Mae y byd bellach wedi myned yn rhy hen i ni ddyweyd fod hyn yn gamgymeriad. Nid yw y ffolineb yma yn cael ei lochi ond yn y conglau tywyll. Mae duwiolion ein hoes ni yn teimlo eu bod i wasanaethu Duw ger bron ei haul, ac yn nghanol ei greadigaeth, ac nad ydyw eu crefydd bersonol eu hunain ond ymddiried y mae Efe yn roddi yn eu llaw i ledanu ymhellach ei ogoniant yn iachawdwriaeth y byd. Os ydyw sŵn a thrafferth y byd yn peri i ni awyddu dianc o'i ganol, mae hyny yn dangos ein bod ni yn barnu fod y Doethineb ei hunan wedi camgymeryd cryn lawer na fuasai yn trefnu i ni gael agor ein llygaid ar unwaith yn Mharadwys, neu yn gosod i ni fynedfa esmwyth rhwng gwelyau o berlysiau o'r bru i'r Jerusalem newydd. Ac os ydyw temtasiynau y byd yn peri i ni gilio o'r ymdrechfa, sut y cyrhaeddwn ni y nerth calon ac ysbryd a ennillir yn unig yn nhrwst ac egni y gâd, a sut y cyrhaeddwn ni y llawryf a'r gogoniant sydd yn gyrhaeddadwy yn unig i'r buddygoliaethwyr? Mae Cicero, mewn un araeth gampus o'i eiddo, wrth amddiffyn y gŵr y cymerai ei blaid, mewn un man yn cyfarfod gwrthddadl ei erlynwyr ynghylch ei fuchedd; dywedent ei fod wedi bod yn Asia, ac ystyrid hyny yr un peth braidd a dyweyd ei fod wedi ymlygru trwy ei moethau, &c.; ond dywed yr hen Rufeinwr,—"Do, O farnwyr! fe fu yn Asia, ac yr ydoedd yn gymhorth mawr yn mheryglon, yn gysur yn llafur caled, ac yn cydlawenhau yn muddygoliaeth y dyn ardderchog hwnw, ei dad. Ac os oes rhyw ddrwgdybiaeth o foethusrwydd yn perthyn i Asia, nid peidio erioed a gweled Asia, ond bod wedi *byw yno yn rhinweddol* sydd yn ganmoladwy." Myn yr apostol Paul, yn 1 *Cor.* v., i nid deall nad ydyw yn dysgwyl am fynyd i ni feddwl ei fod yn ein cynghori i gilio o fysg annuwiolion, "oblegid felly," meddai, "rhaid fyddai i chwi fyned allan o'r byd," ac y mae yn ystyried nad oes eisieu iddo gymeryd trafferth i ddangos mor afresymol fyddai hyny. Yn hytrach, y gamp fawr ydyw, peidio "cydymgymysgu" â'i annuwiolion: byw yn y byd heb ymlychwino â'i fudreddi, a thynu nerth o galon Duw a'n galluogo i droi draw rywfaint o rym ei lygredigaeth. Ond y mae y camgymeriad a dynir yn yr eithaf arall, oddiwrth y dyb am derfynolrwydd ein galluoedd, yn llawer gwaeth. "Beth bynag am y byd a ddaw, mae y byd hwn o fy mlaen, ac o fy amgylch—mae ei ffynnonau yn lliosog, ac yn llawn o ddwfr, ac a ydyw yn beth doeth i mi, gan nad allaf wneyd y goreu o'r ddau, freuddwydio am fwyniant mewn ffydd, ac esgeuluso mwyniant mewn ffaith?" Cwestiwn pwysig, ac yn swnio yn dda. Neu, fe allai, "Beth bynag am y byd a ddaw, yr wyf yn gorfod teimlo fy mod yn byw yn y byd hwn—yr ydwyf yn rhwym yn ei gadwynau, ac yn gaethwas i'w drafferthion; y mae genyf deulu i ofalu am danynt, a chymaint a allaf fi, er gofalu â'm holl galon, a gweithio â'm holl egni, ydyw darpar ar eu cyfer. Nis gwn beth a ddysgwylir oddiar fy llaw gyda golwg ar y byd arall; ond gwn, pe yr esgeuluswn fy nyledswyddau gyda golwg ar y byd hwn, y byddai Duw a dyn yn fy ffieiddio, y byddwn

yn "waeth na'r di-ffydd." Fel yna y mae dyn yn fynych iawn yn ymresymu ac yn meddwl yn ei galon,—y bydd ei drafferthion yn y byd hwn yn esgusawd iddo yn y diwedd am ei ddiofalwch gyda golwg ar y byd a ddaw. Neu os nad ydyw, yn llythyrenol, yn credu hyn, y mae yn gadael i'r dybiaeth yma gyrhaedd arglwyddiaeth crediniaeth arno, ac yn ymfoddloni i fyw yn greadur ei drafferthion. Y mae y naill a'r llall, gan eu bod yn meddwl nad allant wneyd y goreu o'r ddau fyd, yn penderfynu gwneyd y goreu o hwn—y byd sydd o flaen eu llygaid a than eu traed; y cyntaf am sugno ei ddedwyddwch o'i fwynderau, a'r ail am fynu ei ennill o'i fanteision. Ond a ydyw y naill a'r llall, yn gystal a'r meudwy sydd yn cilio o'r byd, a'r dyn duwiol sydd yn rhy ddiofal yn ei gylch, yn peidio bod yn camgymeryd? Tybed nad oes yna rhyw dwyll yn llechu yn rhywle yn eu hymresymiadau? Ai ni ellir cael gafael ar ryw egwyddor a gysyllto yr eithafoedd gwrthgyferbyniol mewn man digon safadwy i ddyn sefyll arno gyda golwg ar y ddau fyd? A raid fforffedu y byd er mwyn cadw yr enaid? Neu a raid damnio yr enaid er mwyn ennill y byd? Mewn gair, gan fod y mater yn mhob ystyr mor bwysig, *Ai ni ellir gwneyd y goreu o'r ddau fyd?*

Dyma y cwestiwn a roddwyd i'r Parchedig Thomas Binney, un o'r gweinidogion goreu sydd yn awr yn y brifddinas, i'w ateb mewn darlith, yr hon ydoedd yr olaf o gyfres o ddeuddeg o ddarlithiau a draddodid gan wahanol bersonau yn *Exeter Hall*, i aelodau y "*London Young Men's Christian Association.*" Traddododd Binney ei ddarlith ar y degfed o Chwefror, 1852, ac yr ydoedd i'w pharotoi i'r wasg i'w chyhoeddi gyda y darlithiau eraill yn un gyfrol, ond rhwystrwyd ef i wneyd hyny gan afiechyd. Addawodd, pa fodd bynag, ei pharotoi i'r wasg yn llyfryn ar ei ben ei hun mor fuan ag y gallai; a phan, yn mhen llawer o amser, yr aeth at y gorchwyl o'i hysgrifenu, canfyddodd ei bod yn ymchwyddo dan ei ddwylaw, ac yn cymeryd i fewn liaws mawr o bethau na chynnwysid yn y traddodiad o honi yn *Exeter Hall;* ond gan fod y pwnc mor bwysig, ac nad ydoedd bellach yn cael ei gaethiwo at derfynau culion y ddarlith, ysgrifenodd ymlaen, a gadawodd i'r anerchiad dyfu yn llyfr. Dyma hanes y gyfrol brydferth hon. O ran ei hymddangosiad nid yw yn annhebyg i'r argraffiad hardd o "Ddrych y Prif Oesoedd," a gyhoeddwyd yn ddiweddar yn Nghaerfyrddin; a gallwn sicrhau i ieuenctyd Cymru, nad allant wneyd yn well â'u deunaw na'i phrynu yn ddioed, ac ymroi ati hi i'w hastudio. Y mae yn trin pwnc sydd o'r pwysigrwydd mwyaf iddynt oll, ac yn ei drin yn y fath fodd ag sydd yn deilwng o'r synwyr cryf, y nerth mawr, y difrifwch ymroddgar, a'r dyddordeb neillduol yn y bobl ieuainc, ydynt yn llinellau mor arbenig yn nghymeriad Thomas Binney. Yr oedd un o'r dynion dysgedicaf, yn lled ddiweddar, wrth feirniadu ar ryw adran yn nhraethawd Aristotle ar farddoniaeth, lle y tybiai, oddiwrth wendid y sylwadau yn yr adran hono, ei bod wedi ei dodi i fewn gan ryw hurtiaid o adysgrifwyr, ac fod yr hen athronydd cawraidd ei hun yn ddieuog o'r ynfydrwydd, yn dywedyd,—Ei fod ef bob amser yn teimlo rywfodd fel pe byddai yn anmhosibl i Aristotle, dyn o farn mor gref, o lygaid mor graff, ac o synwyr mor ymarferol, ddyweyd dim tebyg i faldordd. Buasai ei deimlad ef yn barod i gymeryd yn rheol, pe buasai yn golygu ei weithiau,—Pob da oddiwrth Aristotle, a phob drwg oddiwrth ei adysgrifwyr a'i esbonwyr. Nid pell fuasem ninnau oddiwrth feddwl yn debyg gyda golwg

ar y llyfr yma, lle y mae dyn fel Binney yn llefaru wrth y bobl ieuainc, a hyny wrth geisio rhoddi ateb i gwestiwn mor bwysig ag "A ydyw yn bosibl gwneyd y goreu o'r ddau fyd?"

Buasai genym air i'w ddyweyd am lenyddiaeth y gwaith. Mae rhai o'r beirniaid yn cwyno fod ei arddull yn ddiffygiol mewn seibiant, prydferthwch, a gorphenrwydd; rhaid i ni addef ein bod i ryw fesur yn ymdeimlo â phriodoldeb y sylw. Ni wiw i ddyn ddysgwyl cyfarfod yn Binney y perffeithrwydd uchel a welir yn ffurfiad brawddegau dyn fel Foster; ond eto yr ydym yn tybied fod arddull Binney ymhell o deilyngu yr hyn y mae rhai o'n beirniaid proffesedig yn ddadgan yn ei chylch, ei bod yn dynwared ffaeleddau arddull Emerson, &c. Y gamp fawr yn arddull Binney, yn ol ein barn ni, ydyw ei bod mor hanfodol naturiol, mor hanfodol briodol i Binney ei hun. Mae yn wir fod pob arddull dda yn cydgyfarfod mewn llawer o briodoliaethau sydd yn gyffredin i'r oll; ond heblaw hyny, mae pob dyn o athrylith yn gosod argraff ei bersonoliaeth ei hunan ar ei arddull, fel y mae mor hanfodol wahanol i arddull pawb eraill, ag ydyw ei berson ef ei hun oddiwrth bersonau pobl eraill. "Y mae arddull pob dyn," medd Howe, "mor briodol iddo ei hunan ag ydyw ei wynebpryd neu ei lais; ac yn ymddibynu mor uniongyrchol ar ansawdd ei feddwl, ag y mae y lleill ar gyfansoddiad ei gorff, neu drefniant ei beiriannau ymadrodd. Yr hyn sydd fwyaf priodol i ddyn, yn yr ystyr yma, ydyw yr hyn y mae yn llithro iddo yn ddiarwybod, heb fwy o fwriad nag sydd ganddo i gerdded yn y dull yma neu y dull arall; trwy yr hyn, er hyny, y mae llawer o bobl yn adnabyddus, ac yn hawdd i'w gwahaniaethu oddiwrth bobl eraill." Pe buasech yn edrych ar y darlithydd enwog hwn yn Neuadd Exeter y noswaith hòno, â'r fath lu mawr o ddynion ieuainc o'i flaen,—wrth weled mor annibynol yr oedd yn edrych, mor hunan-feddiannol, mor awdurdodol, ac ar yr un pryd mor ddifrifol awyddus am ddyweyd rhywbeth fuasai yn gwneyd lles i'r dyrfa ddyddorol yna o wrandawyr,—llewys ei *goat* wedi eu troi i fyny, fel pe buasai am fyned o ddifrif afael yn afael â chaledwaith, ei wallt teneu fel yn chwiwiaw oddiar ei dalcen dyrchafedig, ei lygaid yn edrych egni, treiddgarwch, a meistrolrwydd,—buasech, oddiwrth bobpeth yn ei ymddangosiad, yn dysgwyl iddo siarad yn union fel y siarada y ddarlith hon. Yr ydym yn dywedyd *siarad*, oblegid dyma ydyw y neillduolrwydd mwyaf arbenig sydd yn perthyn i'w arddull. Nid ydyw byth yn ymestyn, fel yr areithwyr, am frawddegau gorphenedig, a llawn o gynghanedd areithyddiaeth: y mae yn gadael hyny i gyd o'r neilldu, ac yn *siarad* efo 'i wrandawyr. Braidd na ddywedem am dano yn ngeiriau Baxter, am Bates,—"*There is a noble negligence in his style: for his great mind could not stoop to the affected eloquence of words.*" Pa fodd bynag, nid oes fawr o ol hyny yn y ddarlith hon; yn hytrach y mae yn dangos dyn difrifol, hollol ddirodres, o ysbryd iachus a chartrefol, ac yn ei ddangos yn *siarad*, yn *cwestiyno*, yn *ateb*, yn *taeru*, yn *cynghori*, ac yn *rhybuddio*, a'r cyfan â'i holl galon. Ond sut bynag y mae yn siarad, y mae ei feistrolaeth ar ei bwnc, gwreiddioldeb ei feddyliau, a difrifwch ymroddgar ei enaid, yn gwneyd i'w frawddegau fỳnu eu gafael ar y meddwl, ac yn fynych iawn yn peri iddynt gario calon y gwrandäwr yn nerth eu llif i'r argyhoeddiad y mae yn amcanu ei weithio iddo. Y mae yn feistrolgar yn mhob ystyr; ac os na chaiff yr efrydydd ei swyno gan dlysni ei ymadroddion, gall gael lles mawr hyd yn nod wrth astudio ei arddull, wrth weled

peth mor gref a phwrpasol ydyw iaith yn llaw y dyn mawr a fedr ei gwneyd yn fynegai o'i athrylith.

Ond nid fel gwaith llenyddol y mae a fynom â'r llyfr hwn. Y mae arnom eisieu edrych arno mewn golygiad annhraethol bwysicach. Dymunwn alw sylw ein darllenwyr ato fel cynnygiad o eiddo gŵr da a difrifol at ateb y cwestiwn pwysig iawn—"A ydyw yn bosibl gwneyd y goreu o'r ddau fyd?" Y mae, wrth ddechreu, yn derbyn y gofyniad gyda'r dealldwriaeth, yn gyntaf, *fod* dau fyd; ac yn ail, fod dwy ffordd i fyned trwy y naill a'r llall, gwell a gwaeth. Sylwa fod yn y ddau bâr yma o dybiaethau, bwnc o ffaith a phwnc o dyb. Y mae yn *ffaith* ein bod yn awr yn byw; y mae yn *dyb* llawer y byddwn fyw eto mewn byd arall. Ac y mae yn *ffaith* fod gwell a gwaeth yn y byd hwn i wahanol bersonau; ac y mae yn *dyb* dosbarth helaeth o ddynolryw y bydd yr un gwahaniaeth yn canlyn yn ngweinyddiad llywodraeth foesol y byd a ddaw. Y mae am drin y ffaith yn y naill achos a'r llall fel ffaith; ac nid yw am hòni mwy na'i gwerth i'r dyb yn y ddau achos, nes profi fod y dyb yn meddu sylwedd ffaith. Dyma y safle y mae am gymeryd trwy yr ymresymiad i gyd. Hefyd, y mae yn galw sylw neillduol at yr ystyriaeth ei fod yn llefaru wrth *ddynion ieuainc*, pan yn ceisio ateb y cwestiwn yma mewn perthynas i'r ddau fyd, sef wrth ddynion y mae y ddau fyd ganddynt *o'u blaen*, a'r *prawf o fyw* yn bosibl iddynt. Beth bynag am yr hen, gyda golwg ar y byd arall, mae y *byd hwn* wedi myned o'u gafael,—

"Fel y niwl o afael nant,"

ac ni chânt gynnyg arno mwy. Y mae yn rhaid siarad ar y dybiaeth fod y prawf, fod yr *experiment* i gael ei wneyd ar *ddynion ieuainc*. Mae hyn, o anghenrheidrwydd, yn llefaru yn gryf am bwysigrwydd yr ymchwiliad i bobl ieuainc.

Ar ol gwneyd y sylwadau yna, y mae yn derbyn y cwestiwn,—"Ai ni ellir gwneyd y goreu o'r ddau fyd, heb esgeuluso y naill na'r llall?" neu, "Ai ni ellir ymaflyd yn y byd sydd yr awr hon yn ei ddefnydd crai, a'i weithio a'i wau i fyny yn y fath fodd, fel ag i'w wneyd yn beth ysplenydd a phrydferth, yn unig fel meddiant presennol a thros dymmor,—y dyn yn teimlo yn llawen ei fod wedi cael ei eni, pe na byddai yr un enedigaeth newydd iddo i sefyllfa uwch?—ac hefyd, ai ni ellir gwneyd hyn oll ar y fath egwyddor, fel, a thybied *fod* ail sefyllfa, y byddo manteision a dedwyddwch y sefyllfa hòno wedi eu sicrhau a pharotoi ar eu cyfer?"

Y mae am ateb y gofyniad yn gadarnhaol; a'r rheswm y mae am ddwyn ymlaen i esbonio ei gyfundraeth am y ffordd i gyrhaedd y "goreu," pa un bynag ai o'r byd hwn, ai o'r byd a ddaw, ai o'r ddau ynghyd, ydyw *rhinwedd*. Teimla y gall gymeryd ei safle yn ddiysgog ar y tir yma i gynnyg i bawb y goreu o bob peth y medr creadigaeth Duw, yn mhob byd, estyn i greaduriaid fel nyni. Y mae yn dyfod â'r ynfyd ymlaen yn y fan yma efo gwrthddadl;—"Os y byd yma ydyw pob peth, paham na cha' i fyn'd ymlaen i wasgu cymaint o rawn ag a fedraf i gwpan bywyd, i fwynhau cymaint mewn bwyta, yfed, a phleserau, ag y mae yn bosibl i'r byd hwn ganiatau?" Ond dengys mai dyna y ffordd i wneyd y gwaethaf o'r byd yma; fod y dyn sydd fel yn cymeryd ei ruthr bendramwnwgl i ganol pleserau, yn annhraethol fwy truenus na'r dyn cymedrol, sydd yn cydffurfio ei fywyd â deddfau prydferth llywodraeth foesol y byd. Yna

y mae yn ateb gwrthddadl o eiddo yr athronydd, yr hon a ddygir i sylw fel y llall, gyda llawer o gelfyddgarwch, fel pe buasent yn cael eu galw ymlaen o ganol y neuadd i'r esgynlawr, iddynt hwythau gael "ateb eu rhan, a dywedyd eu meddwl." Mae yr athronydd o syniadau pur ddyrchafedig. Mae yn annhraethol uwchlaw cyfundraeth Bentham a Paley, ac ni fŷn am foment oddef y meddylddrych fod rhinwedd yn derbyn ei gwerth oddiwrth y *fantais* a ddug i ddyn, pa un bynag ai yn y byd hwn, ai yn y byd a ddaw; siarada yn dda am y gwerth a'r gogoniant cynnwynol sydd mewn rhinwedd, pe byddai pob drychfeddwl am wobr a chosb wedi myned i ebargofiant; a theimla yn eiddigus rhag fod y darlithydd am ddangos rhinwedd i'r bobl ieuainc fel offeryn manteisiol (fel palf y gath gan yr epa i estyn y bytaten o'r ulw poeth) i gyrhaedd mwynhad. Y mae efe, wrth gwrs, yn caru rhinwedd er ei mwyn ei hun, ac am fod yn rhinweddol, pe byddai raid iddo fyned i uffern oblegid hyny. Ond i hyn y mae y darlithydd yn ateb, fod ganddo yntau olygiadau llawer rhy ddyrchafedig am rinwedd a rhwymedigaeth foesol i feddwl am eu darostwng at gyfrifiadau isel hunan a mantais; ond ar yr un pryd, gofyna iddo,—"Er nad ydym i fyw yn rhinweddol er mwyn y manteision hyny, os ydyw hyny yn dygwydd bod, yn ol natur pethau, fod dedwyddwch yn canlyn bywyd rhinweddol, ai nid ydyw y ffaith yna i gael ei chydnabod? ïe, ai ni ellir ei defnyddio hefyd fel cymhelliad wrth berswadio dynion i fyw yn rhinweddol, a'r cwbl heb ddarostwng dim ar urddas cynnwynol rhinwedd? Hefyd, nid ydyw bywyd rhinweddol, ond yn anfynych iawn, yn gofyn yr aberth a'r hunan-ymwadiad mawr y mae gwerth rhinwedd yn haeddu? er fod parodrwydd i ddyoddef er mwyn rhinwedd yn gorwedd, fel ffaith, wrth wraidd calon pob dyn rhinweddol, pe byddai hyny yn anghenrheidiol, eto yr ydym yn canfod nad ydyw yr alwad i ddyoddef er mwyn rhinwedd ond peth eithriadol iawn, tra, er fod dynion rhinweddol yn barod i wneyd hyny, fod y dyn da, fel rheol, yn mwynhau daioni, ïe, mwy o ddaioni, ar y cyfan, na phobl eraill, a hyny *ar gyfrif* ei rinwedd. Ac, er nad y fantais sydd i fod yn gynhyrfydd bywyd rhinweddol, ai nid ydyw yn berffaith ddiniwed i ni gymeryd hyn i fewn hefyd fel ystyriaeth, neu fel cymhelliad, er nad fel *y* cymhelliad, i fywyd o rinwedd? Gall dyn ymddangos yn hunan-ymwadol, a siarad yn hyawdl, wrth son am garu rhinwedd, pe byddai yn rhaid myned i drueni am hyny, ond gŵyr fod yn anmhosibl i'r fath beth fod. Yn hytrach, y mae deddfau llywodraeth Duw wedi eu ffurfio ar egwyddorion anfeidrol well, ac ar egwyddorion sydd yn gyfaddas i gyfarfod â'i greaduriaid fel y maent. Mae yn anmhosibl meddwl am rinwedd fel peth sydd yn gofyn ei brynu â gwerth mor ddrud a llond dau fyd o ddedwyddwch. A chan fod yn eglur fod rhinwedd yn anhebgorol er sicrhau ein dedwyddwch mewn *un* byd, y mae yn eithaf priodol i ni ymofyn—Ai ni ellir ymestyn am dani ar y fath egwyddor ag a'i gwnelo yn fanteisiol i ddedwyddwch *y ddau*?"

Y cwestiwn y symuda ato yn awr, i ddechreu, ydyw,—"Beth sydd yn gynnwysedig mewn gwneyd y goreu o'r byd hwn?" Ond cyn myned i enwi dim o'r pethau hyny, rhydd ar ddeall i ni nad ydyw yn cymeryd y geiriau, "gwneyd y goreu" o'r byd yn yr ystyr uchaf sydd yn bosibl iddynt. Nid yw am eu cymeryd fel yn arwyddo cydgyfarfyddiad yn yr un dyn, ac am oes hirfaith, o bob peth sydd yn werthfawr a chyfrifol yn y byd yma, yn gyfaddas i lenwi uchelgais, ac i foddio holl dueddiadau dyn;

byddai hyny yn afresymol; y mae y cwestiwn yn cael ei ofyn mewn ystyr boblogaidd, ac y mae yntau am ei ateb mewn ystyr boblogaidd, fel yn cymeryd i fewn yr hyn sydd yn gyrhaeddadwy mewn bywyd cyffredin: yr hyn sydd yn anghenrheidiol i wneyd bywyd y peth goreu y mae yn bosibl iddo fod, ac heb fod yn freuddwyd yr athronydd neu y bardd, nad ydyw yn bosibl ei dynu i lawr o'r cymylau, a'i weithio yn rhywbeth y medr dyn mewn cnawd ymaflyd ynddo. Y *goreu*, wrth reswm, y medr dyn *wneyd* o fywyd, pan yr ymrŷdd ati hi i dynu cymaint o hono ag sydd yn bosibl.

Yn y drychfeddwl cyffredinol, gan hyny, o wneyd y goreu o fywyd, y mae yn cymeryd i fewn y pethau canlynol:—1. Iechyd. 2. Sirioldeb. 3. Digonolrwydd. 4. Cymeriad. 5. Henaint iraidd. 6. Amaethiad y meddwl a'r galon. Ac o dan y cwbl, mae arno eisieu rhyw ffynnon o gysur a nerth, a fo yn gyfartal i boenau a llethiant tristwch anocheladwy. Dyma ranau cyfansoddol, dyma elfenau, yr hyn y mae efe yn ystyried y peth goreu a ellir wneyd o fywyd. Y mae ganddo feddwl mawr o nerth gewyn ac aelod, a chryfder iachus cyfansoddiad; yr ansawdd hwnw ar ei gorff sydd yn peri i ddyn beidio meddwl dim yn ei gylch, ac sydd yn ei alluogi i wynebu yn galonog ar ymdrechfa bywyd, heb fod ei feddwl byth yn cael ei dynu i lawr gan wywdra a nychdod. Yn nesaf at hyn, gesyd sirioldeb, iechyd yr ysbrydoedd, yr hyn sydd yn galluogi y meddwl i fod yn esmwyth a thawel, ac mewn sefyllfa i fwynhau bywyd, heb fod o ddydd i ddydd, ac o nos i nos, yn ysglyfaeth i feddyliau pruddglwyfus. I wneyd y goreu o'r byd yma, mae arno eisieu cael y byd i ymddangos i ddyn yn rhywbeth fel goleuni yr haul, ac nid fel byd o dywyllwch a chysgod angeu. Mae cael modd i fyw hefyd yn gyfran rhy bwysig i'w gadael yn ddisylw, wrth gymeryd i mewn ddefnyddiau dedwyddwch bywyd. Nid yw yn meddwl cyfoeth, ond buddygoliaeth ar y byd, yr hyn sydd yn sirioli meddwl dyn fel cynnyrch ei lafur gonest, neu rodd haelionus rhagluniaeth heb un llafur o'i eiddo ef, sydd yn ei godi, nid yn unig uwchlaw carnau anghen, ond hefyd uwchlaw y pryder poenus sydd yn fynych yn llethu ysbryd y tlawd; y mae hefyd yn ei godi uwchlaw llawer temtasiwn, ac yn ei alluogi i wneyd llawer o ddaioni. "*Depend upon it,*" ebe fe, "*a competent income is a very capital thing, both for comfort and character.*" Y mae cymeriad hefyd yn elfen bwysig iawn. Beth bynag fyddo opiniynau dyn am Dduw, a chyfundraeth foesol y bydysawd, y mae *yn awr yn byw mewn cymdeithas*, ac y mae meddu ymddiried a theimlad da y gymdeithas yna o'i blaid yn beth mor bwysig fel nad yw yn bosibl iddo fod yn ddedwydd hebddo. "Y mae y meddwl am gael ei ammheu yn ei gythryblu; ond y mae y sicrwydd o gael ei ddiystyru yn ei arteithio." Pa mor galed bynag fyddo dyn, y mae y meddwl o'i fod yn greadur digymeriad, ac wedi ei hwtio o gymdeithas, yn ei ddilyn i bob man fel drychiolaeth, ac yn gwneuthur yn anmhosibl iddo byth wneyd ei fywyd yn ddim byd prydferth a dedwydd. Mae yn hawdd teimlo hefyd fod pwys mawr mewn cael bod yn "dirf ac yn iraidd" mewn hen ddyddiau. Gwyddom am lawer felly; y maent yn cael diwedd yr oes yn ddiwrnod lled glir ar y cyfan, oblegid nad oeddynt yn casglu yn eu mynwes eu hunain, mewn pechod ac annuwioldeb, ddefnyddiau ystormydd i gynhyrfu eu tangnefedd. Y maent yn awr fel yn gorphwys yn dawel yn hwyr y dydd, tra mae eu plant, a phlant eu plant, yn eistedd o'u hamgylch, i wrandaw ar eu cynghor,

ac i ofyn am eu bendith, a'r haul, wrth ddynesu tua'r gorllewin yn gwasgaru ei dynerwch euraidd i addurno pob peth o'u hamgylch. Y maent yn hawddgar fel plant. Mae y fynwes yn dawel wrth iddynt edrych ar eu llwybr trwy y byd; gymaint o bethau i ddiolch ac i orfoleddu o'u plegid! Maent yn llawen wrth feddwl am yr amser a ddaw; fel y cânt fyw eto yn mywyd y bechgyn a'r lodesi yna i gyd, a gweithio i fwy o rym ac effeithiolrwydd, er bod eu hunain yn y bedd, yr egwyddorion a'r teimladau gogoneddus a roes y fath werth a'r fath gysur yn eu bywyd hwy eu hunain! Y maent yn hyderus hefyd gyda golwg ar y byd a ddaw. Pa bryd bynag y codir y llen, pa foment bynag y gwysir hwynt ger bron, mae y Brenin Mawr ei hun wedi gosod "hyder" yn eu calonau, hyder na thodda ymaith yn nydd y farn! "Nid byd gwael, ddynion ieuainc," medd ein hawdwr, "gellwch fod yn sicr, a fedr ddangos i ni esiampl o'i gynnyrchion fel hwn. Mae bywyd yn cael ei wneyd yn rhywbeth go dda, pan y gellir ei ddefnyddio, ei dreulio, a'i 'goroni' fel yma." Yr ydym hefyd, fel Binney, am osod pwys mawr ar amaethiad y meddwl a'r galon. Nid ydym i feddwl fod pob dyn i ymestyn am ddyfod yn fawr ac yn ddysgedig. Mae hyn allan o'r cwestiwn. Mae llawer i wneyd hyny. Ond fel rheol gyffredin, tybiwn y rhaid i bawb amaethu rhywfaint ar eu meddwl a'u calon, fel ag i allu, i ryw fesur, ddeall geiriau doethineb, ac ymdeimlo â churiadau calon prydferthwch, cyn y mae yn bosibl iddynt wneyd dim prydferth a gwerthfawr o'u bywyd. Ac er cael yr holl bethau hyn, gan fod llawer o gyfyngderau a phrofedigaethau yn dyfod i ran dyn nad oes ganddo yr un lywodraeth arnynt, na'r un gallu i'w taflu ymaith—cyn y gall fod yn iawn, mae yn rhaid fod ganddo ryw nerth oddi fewn a'i galluogo i ymgynnal dan y brofedigaeth, a rhyw ystwythder ysbryd a'i galluogo i ymadnewyddu drachefn, ar ol iddi fyned drosodd, i'w hunan-feddiant a'i sirioldeb.

Ar ol traethu cryn lawer ar bob un o'r pethau yna, y mae yn cau i fyny y rhan yma o'r ymresymiad fel hyn :—

"A dodi yr holl bethau hyn ynghyd, gadewch i ni weled beth a gawsom. Iechyd corff, sirioldeb meddwl, cynnaliaeth ddigonol, llwyddiant mewn bywyd, cymeriad sefydledig, mwyniant y serchiadau mewn gwraig a phlant, amaethiad y dealltwriaeth, y crebwyll, a'r chwaeth, ymadferthoedd tufewnol yn ddigon ar gyfer drygau anocheladwy,—y cyfan mewn meddiant ac yn cael eu dwyn ymlaen am flyneddau, ac yn cael eu coroni yn y diwedd â henaint tirf, dysglaer, a dedwydd. Wel, os gellir mewn gwirionedd ganfod hyn oll mewn unrhyw ddyn, mae yn ymddangos y byddai y fath ffaith yn profi *fod* yn "bosibl" gwneyd rhywbeth sydd yn ddiammheuol, dda dedwydd, a dymunol, allan o ddefnydd crai y bywyd presennol. Gallai y byd ar y dybiaeth yma ddyfod yn lle na byddo ar un cyfrif yn annyoddefol. Pa un bynag a oes un arall i fod ai peidio, gallaf feddwl am ddyn mor foddlawn ar ol myned trwy hwn *yn y fath fodd*, fel ag i fod yn wirioneddol ddiolchgar am iddo gael ei oddef i fyw, er iddo fod heb yr olwg am gael byw drachefn. Os nad oes yr un Duw, gall y dyn synu at fodolaeth a symudiadau cyfundrefn, yr hon, rywsut neu gilydd, a allodd gynnyrchu bod fel efe, a bywyd fel yr eiddo ef; a gall gael ei drymhau gan y meddwl nad oes yr un yn unlle y gall ddiolch iddo am ei fwynderau. Os *oes* Duw, *bydded* ddiolchgar. Cared ef, a molianned ef am yr hyn a wnaeth, hyd yn nod pe gwelai yn dda beidio gwneyd dim ychwaneg. Nid oes genyf yr un syniad ein bod i chwilio am resymau dros grefydd a'r serchiadau crefyddol yn unig yn y ffaith o fyd arall, tra yr ydym yn byw mewn, ac yn mwynhau byd fel hwn. Edrychwch ar y dyn o'n blaen. Yr *oedd* yn ddim; nid allai *haeddu* dim; ac eto deffroes un boreu a chanfu ei hun yn fyw!—y ddaear dan ei draed, a'r nefoedd uwch ei ben; bywyd o'i flaen; ac o'i fewn alluoedd a chymhwysderau i'w weithio yn rhywbeth mawr a phrydferth. Y mae wedi dyfod felly iddo. Felly yr arferodd y byd, felly y mwynhaodd ef. Os nad oes un arall, yn sicr nid allaf weled fod ganddo yr un hawl i gwyno. Gallaf yn hawdd feddwl ei fod wedi mwynhau bywyd yn

gymaint fel ag i *ewyllysio* ei gael drosodd drachefn, a thybiwyf fod yn dra naturiol iddo *gredu* y caiff ef felly; ond nid ydyw pa un bynag a gaiff ai peidio yn cyfnewid dim, ac ni all gyfnewid dim ar y *ffaith* fod gan y byd hwn adnoddau mawrion, o ba rai y mae efe wedi cael y fantais, ac am ba rai y dylai fod yn ddiolchgar. Ond beth bynag a feddylir o'r dyb neillduol hon, nid ellir gwadu y gosodiad cymedrol ac ammodol â pha un yr ydym yn terfynu y rhan hon o'r ymresymiad, sef, os ydyw yn bosibl i'r holl bethau a enwasom gydgyfarfod ac addurno cyfran ddaearol unrhyw ddyn, yna fe fu yn bosibl i'r dyn hwnw wneyd y bywyd sydd yr awr hon yn rhywbeth hollol foddhaol. Fe wnaeth y goreu o hono: nid yn yr ystyr o wneyd yr oll a ellid wneyd gyda drwg addefedig, ond o droi i'r dybenion goreu gymhwysderau elfenol llawn o werth. Ond fe all yr hyn a fu yn bosibl iddo *ef*, fod yn bosibl i eraill. Yr hyn mae un dyn yn wneyd, fe *all* un arall ei wneyd. Byddai yn werth gwybod sut i'w wneyd. Tybed y gellir ei wneyd ar ryw egwyddor yn well na'i gilydd? A thybied fod byd arall, tybed y gellid ei wneyd yn gyson â'ch gwaith yn gwneyd y goreu o *hwnw* hefyd? Fe allai y cawn weled."—*Tudal.* 46.

Gan belled ynte ag y mae a fynom â'r byd hwn, y mae y mater wedi ei sefydlu. *Fe ellir* ei wneyd yn beth eithaf boddhaol. Gwelwyd yr elfenau yr ydys wedi bod yn son am danynt wedi eu gweithio i ymarferiad, ac yn cynnyrchu bywyd o gynghanedd brydferth iawn yn nghymeriadau miloedd lawer o ddynion. Y cwestiwn yn awr ynte yw, Sut y gellir gwneyd hyny? Ar ba egwyddor y gall gŵr ieuanc ddysgwyl llwydd i'w ymdrechion, pan yn ymestyn am hyny? I hyn ateba, Nad oes yr un ddadl nad ydyw rhinwedd yn anhebgorol angenrheidiol i lwyddiant yn yr ymgais yma. Gall y dyn rhinweddol fethu cyrhaedd yr *holl* bethau a enwyd, ond yn sicr, nid yw yn *ddichonadwy* i neb arall eu cyrhaedd yn dragywydd. Ond, pan ydym yn cymeryd yn ganiataol fod rhinwedd yn anhebgorol i ddedwyddwch, rhaid i ni gofio nad ydym i ymestyn at y rhinwedd yma *er mwyn ei chanlyniadau;* mae hyny yn weithio hollol chwithig a chloff yn mhob ystyr: rhaid i'r rhinwedd ddeilliaw oddiar rywbeth a'i sicrha *hi*, heb ofalu dim beth y mae hi yn debyg o sicrhau rhagllaw. "Rhaid i ddynion fod yn rhinweddol heb feddwl yn dragywydd beth y mae rhinwedd i wneyd erddynt." Y mae hyn oll i'w gyrhaedd *mewn ymostyngiad i ewyllys Duw, fel y cyfryw.* Mae y dyn, wrth bob rheswm, i dderbyn ewyllys ei Greawdwr, os gŵyr beth ydyw, fel ei *ddeddf;* a'i rinwedd bellach ydyw ei gydymffurfiad â'i ddeddf. Dyma ei rinwedd ynte, yn beth sydd yn deilliaw oddiar ei ffydd yn Nuw. Mae ffyddlondeb dyledus y dyn i'w Greawdwr yn peri iddo ymglymu am ei ewyllys; ac i'r graddau y mae ei ffyddlondeb yn drwyadl, i'r un graddau y mae ei rinwedd yn anorchfygol; y mae yn cael awdurdod gorsedd a nerth braich Duw ei hun yn nawdd ac yn gadernid iddi. Ac y mae yn galondid iddo fod hyn, tra yn ateb dyben anfesurol uwch! eto, fel *mater o ffaith,* yn effeithio yn fendithiol arno yn ei berthynas â'r "byd sydd yr awr hon." Digon yw dywedyd fod y drychfeddwl yma am rinwedd yn cynnwys ymostyngiad i, a chydymffurfiad âg, ewyllys Duw, yn mhob peth, i'r graddau y mae yn ddadguddiedig.

Yn awr, *dyma y peth* sydd yn galluogi dyn i wneyd y goreu o'r byd hwn. A y darlithydd ymlaen i ddangos fel y mae rhinwedd crefyddol (neu sancteiddrwydd), tra yn ymestyn yn uniongyrchol am ryngu bodd Duw, eto, mewn modd anuniongyrchol a difwriad, yn gwneyd mwy nag y mae yn bosibl i ddim arall wneyd i alluogi dyn i dynu allan yr oll sydd yn "oreu" o fwyniant y byd yma: yn gwneyd *digon* yn wir, pob peth arall yn gyfartal, i wneyd bywyd yn y byd yma yn beth hawddgar ac ardderchog iawn. Y mae ein hawdwr yn myned dros yr elfenau a enwyd eilwaith, ac yn edrych sut y mae sancteiddrwydd yn yr enaid yn gweithio er eu sicrhau a'u hamddiffyn.

"Edrychwch ar y dyn yma gyda golwg ar *iechyd*. Wel, gyda chyfansoddiad sydd yn naturiol iach, y mae yn myned ymlaen yn y mwynhad o'r fendith. Nid yw yn gwneyd dim i'w niweidio. Nid yw yn ffurfio unrhyw arferion naturiol drygionus; nid yw yn ymfoddhau mewn unrhyw ormodedd gwanychol. Y mae yn sobr, yn gall, a diwair; yn casâu meddyliau aflan, yn gwgu ar ymddyddan anmhriodol, ac yn gochel gweithredoedd anweddaidd. Nid yw yn feddwyn nac yn ddyn glwth, nac mewn un ystyr yn gaethwas mwynderau anifeilaidd. Nid yw yn hau yn ei gnawd hadau yr un afiechyd trwy unrhyw fath o rysedd neu anghymedroldeb. Nid yw yn dyfetha ei nerth nac yn gwanychu ei feddwl trwy erlyn ar ol pleser. Mae yn byw yn gydffurf â holl ddeddfau ei gyfansoddiad, ac yn mwynhau trwy hyny nerth, hoewder, ac egni hoenus iechyd gwastadol. A gwna hyn, cofiwch oll, nid am ei fod wedi astudio llyfrau ar gyfansoddiad dyn, neu yn ddysgedig yn neddfau natur, neu yn gwybod, yn gelfyddydol, ddim yn eu cylch; nac am fod ganddo dueddiadau pur yn naturiol, a'i fod o ran ei gyfansoddiad uwchlaw yr hyn sydd isel a gwaradwyddus; nac am fod ganddo hunan-urddas, neu hunan-barch, ac na rydd ffordd i'r hyn sydd yn anweddus; nac am y meddylia y gall wario ei arian i ddyben gwell, neu ei fod heb arian i'w gwario; nac am fod arno ofn canlyniadau tebygol anfoesoldeb—dinystr i'w obeithion, neu 'bydrni i'w esgyrn.' Gall fod yr holl bethau hyn yn cael eu lle yn ei feddyliau, a'u gradd neillduol o ddylanwad arno; ond y peth *penaf* yw, ei fod yn byw fel y mae, yn gweithredu ac yn gommedd gweithredu, am fod '*ofn Duw* o flaen ei lygaid ef;' oblegid 'nad all wneyd y mawr ddrwg hwn a phechu yn ei erbyn ef,' &c. * * * Nid wyf yn dyweyd y bydd y dyn yn berffaith. O fewn rhyw derfynau fe fydd yna fethiant, gorchfygiad, trosedd, annhrefn. Ond *nid all* fod yn ddrygionus. Nid all ymddwyn fel ag i ddinystrio neu i niweidio ei iechyd; nid am ei fod yn meddwl am hyny, neu am hyny yn benaf, ond am fod ganddo grefydd; ac oblegid y bydd ffydd grefyddol,—sylweddoliad y dyfodol—iddo ef, fel egwyddor, yr hyn a fuasai adgofiad o'r hyn a aeth heibio i angel a fuasai wedi ymgnawdoli; yr hwn, pan i ymddwyn yn y corff fel dyn, a fuasai fel angel, yn gwneyd felly yn ol deddf ei fywyd blaenorol a mwy dyrchafedig."—*Tudal.* 59.

Yr un fath gyda golwg ar sirioldeb meddwl hefyd. Mae tywyllwch trallod a phruddglwyf, fel rheol, yn dilyn creulondeb ac ynfydrwydd y dyn yn ei ymddygiadau tuag ato ei hun.

"Y dyn sydd wedi dyfod yn faich iddo ei hun, gellwch yn gyffredin gael maddeuant am dybied mai efe ei hun sydd ganddo i ddiolch am hyny. Y mae, mae'n debyg, wedi brathu ac archolli ei gydwybod; wedi gwenwyno neu frad-lofruddio ei fywyd tufewnol,—gan lwyddo i beri niweidiau, ond nid i achosi marwolaeth. Y mae ei gof wedi ei lenwi âg adgofion tywyll, yn llenwi yr amser a aeth heibio â lleisiau cyhuddwyr, a'r dyfodol â ffurfiau bygythiol. Y mae wedi 'caru angeu,' a 'gwneyd cam â'i enaid ei hun.' Y mae wedi ei orchuddio oll drosodd â gwelîau crawnllyd. Dyma yr achos o'i iselder ysbryd, ei brudd-der, ei ing, ei frawychdod, ei farweidd-dra, neu ei aflonyddwch, ei ddystawrwydd ystyfnig, neu ei glebar gwag; ei nosweithiau digwsg, a'i felldithion ar y dydd! 'Y rhai anwir sydd fel y môr yn dygyfor, pan na allo fod yn llonydd, yr hwn y mae ei ddyfroedd yn bwrw allan dôm a llaid.' Y maent yn 'ffoi, heb neb yn eu herlid,' ac yn 'crynu wrth ysgydwad y ddeilen.' Y maent yn cael eu 'brawychu â breuddwydion, a'u dychryn â gweledigaethau.' Mae y peth lleiaf a mwyaf annhebyg yn peri braw iddynt. Gall oslef o beroriaeth, llais plentyn, yr olwg ar ferch ieuanc brydweddol, chwerthiniad geneth ddiniwed, geiriau hen gân sydd wedi myned dros gof, y sôn am enw, cyfeiriad at le, dyfodiad testun i'r meddwl, pennill o hymn neu salm,—mil o fân bethau nad yw neb yn meddwl am danynt,—lethu yr euog âg ing, trwy ddadblygu tystiolaethau y cof, a galw ymlaen ellyllon anobaith:—trwy ollwng allan ddyfroedd chwerwder, a meddyliau yn cynneu ac yn llosgi, fel pe byddai y galon wedi ei tharo â gwialen dialedd, neu wedi ei chau i fyny mewn fflam ffwrn! Ond am y dyn sydd yn dechreu bywyd yn ofn Duw, ac yn myned trwyddo dan gyfarwyddyd egwyddor grefyddol,—yn ufudd i hôno,—yn cael ei gadw a'i warchod ganddi,—nid all efe fod yn agored i ddim tebyg i hyn. Ni ddaw efe byth mewn mil o filltiroedd iddo, na deng mil, na deng mil ddeng mil o weithiau! Yr ydym yn cymeryd ei fod yn cychwyn dan ddylanwad ffydd crefydd, a'i fod yn ymddwyn mewn cydymffurfiad ymarferol â hi. Fe fydd ei fywyd gan hyny yn rhydd oddiwrth bechodau ysgeler, oddiwrth fai bwriadol, ac oddiwrth wyrni dirgelaidd. Fe fydd ei chwaeth a'i arferion, yn gystal a'i egwyddorion, yn ei gadw rhag hyn oll. Fe 'rodia gyda

**Duw;' fe'i 'ceidw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd:' ni wna ddim i feichio ei gydwybod, ac ni charia ddim o'i amgylch i aflonyddu ar ei heddwch. Ni fydd gan y dyn yma farwor tanllyd yn gorphwys ar ei galon,—dim tân toddedig yn dyferu yn ddibaid ar ei gnawd byw! Ni fydd ef byth yn baldordd ynghylch 'a ellwch chwi weinyddu ymgeledd i feddwl mewn afiechyd?' Ni wneir iddo ef 'feddiannu pechodau ei ieuenctyd.' Ni fydd iddo byth 'grymu ei ben fel brwynen;' dyfod yn dristwch ac yn ddirgelwch i gyfeillion pryderus, neu ofni wyneb dyn neu ddynes! Ni wybydd efe ddim am gythrybliad neu gnofeydd meddwl,—am ofni'r nos, ac eto gochel y dydd. Fe gwsg fel plentyn, ac fe ddeffry fel yr ehedydd, a bydd yn wastad fel aderyn yn ei nyth neu ar ei aden. 'Dyma ran y rhai a ofnant Dduw;'—nid am eu bod yn byw gyda golwg ar hyn, ond am eu bod, oddiar ddybenion uwch, a chydag amcanion mwy dyrchafedig, yn trefnu eu bywyd wrth reolau yr ysgrythyrau, ac yn ei ffurfio ar wersi crefydd. Dyma sydd yn peri fod bywyd y dyn da fel Salm wastadol. Y mae yn gydwedd a chynghaneddol, ac yn gwneyd miwsig iddo ei hun ac eraill. Y mae yn sylweddoli ac yn esbonio geiriau cynnwysfawr yr hen lyfr ardderchog,—'heddwch mawr fydd i'r rhai a garant dy gyfraith, ac nid oes dramgwydd iddynt;' 'dy ddeddfau oedd fy nghân yn nhŷ fy mhererindod;' 'o gadw dy orchymynion y mae gwobr lawer.' —*Tudal.* 59.**

Hyderwn y bydd yr adran rymus a phriodol uchod dan fendith, i beri i ddarllenwyr ieuainc y "Traethodydd" arswydo rhag llochi mewn meddwl am fynyd y pechodau a allant wneyd peth mor ddychrynllyd o fywyd ag a ddarlunir yn y rhan gyntaf o hono, ac y bydd yn werth ganddynt ddilyn y llwybr a'u harweinia i dangnefedd a hawddgarwch y rhan olaf, tra y mae hefyd yn eu harwain ymhellach! "Llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwyfwy hyd ganol dydd." Mae yn ddiau fod yn nesaf i anmhosibl i bobl rinweddol amgyffred dim o'r uffern ofnadwy sydd yn berwi ac yn ymgynhyrfu yn nghalon y dyn sydd yn byw i'w chwantau. Ac mor annyoddefol ydyw clywed y bobl hyn, wedi iddynt yn wirfoddol agor y llifddorau i och a thrueni ymruthro i'w mynwes, yn cwyno yn ddiddiwedd mor ddwl, mor bruddaidd, mor ddu, mor adgas, ydyw pob peth mewn byd a allasai fod iddynt hwy, fel i filoedd eraill, ar y cyfan, yn baradwys hawddgar iawn. Wŷr ieuainc Cymru! peidiwch a rhoddi clust am fynyd i gwynion afiachus y dyngaswr yna! peidiwch ag edrych ar ei ddesgrifiadau celwyddog o fyd a bywyd! Nid ydyw yn bosibl iddo ef weled y byd *fel y mae.* Mae y trueni sydd o'i fewn y cyfryw ag a fuasai yn gwneyd nefoedd Duw ei hun, iddo ef, yn uffern lawn o wae.

**"Me miserable! which way shall I fly
Infinite wrath, and infinite despair?
Which way I fly is hell; myself am hell:
And in the lowest deep, a lower deep,
Still threatening to devour me, opens wide."[1]**

Mae yn rhaid newid deddfau y greadigaeth, ïe, newid yr Anghyfnewidiol ei hun, cyn y bydd yn bosibl iddo ef fwynhau dim. Ond y mae tangnefedd yn y fynwes yn gwneyd y byd oll fel gardd Eden.

Mae yr adran nesaf yn trin mater sydd yn cael ei gamddeall yn fawr gan filoedd, ac yn ei osod yn ei oleuni ei hun. Y mater ydyw, fod crefydd yn fanteisiol gyda golwg ar gael modd i fyw, a llwyddiant yn y byd.

**"Mae yr holl rinweddau y mae crefydd yn ddysgu, yn ffafriol i ddyn fyned yn gysurus trwy y byd, ac hyd yn nod i'w lwyddiant ynddo, gan belled ag y mae hyny yn cael ei reoli gan ddeddfau cyffredin, ac yn cael edrych am dano o fewn terfynau rhesymol. Yr ydym yn dodi o'r neilldu bob troion ffortunus, talentau godidog, a chyfleusderau arbenig. Ar yr un pryd, ni ddylid anghofio byth na wna y cyfaddas-**

**[1] Satan, yn "Ngholl Gwynfa."**

rwydd goreu at orchwyl, ond yn anfynych sicrhau llwyddiant gwirioneddol a pharhaus heb rinwedd; tra mae rhinwedd, yn gysylltiedig â gallu canolig, yn fynych yn gwneyd i ddyn fyned ymlaen yn sefydlog yn ei lwyddiant. Mae yr arferion meddwl, siarad, ac ymddygiad, y mae dyn crefyddol a synwyrol yn naturiol yn amaethu, oll yn ffafriol iddo i ddal ei waith, i ennill ymddiried, i wella ei amgylchiadau, a myned ymlaen,—o leiaf, i beidio myned yn ol. Beth bynag ydyw, pa un ai meistr ai gwas, a beth bynag y mae yn wneyd, pa un ai prynu ai gwerthu, cynllunio ai cyflawni, gweithio â'i ben ynte â'i law,—fe fydd yn gydwybodol, yn onest, yn uniawn, yn gywir. Fe ddylai fod yn weithgar ac egnïol, oblegid y ddeddf y mae yn byw dani ydyw, 'Pa beth bynag yr ymaflo dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni.' Fe fydd yn gyson, yn fanwl, yn foesgar, yn heddychol. Tra dan awdurdod, fe fydd yn ofalus am amser ac eiddo ei feistriaid, yn wyliadwrus am eu manteision, yn eiddigus am eu cymeriad:—bydd yn barod i wasanaethu a boddhau, fe ochel rhag rhoddi tramgwydd, ni fydd yn siaradus a rhodresgar, nac yn ddioglyd ac ystyfnig; fe fydd yn ffyddlawn iddo ei hun, ac fe ychwanega ffyddlondeb a pharch mewn pobl eraill; ymegnïa, heb ddim grwgnach, i gyfarfod gofynion rhyw achlysur o bwys, a theimla mor falch wrth sicrhau mantais 'i'n tŷ,' a phe buasai y fasnach a'r oll a berthyn iddi yn eiddo iddo ei hun. Y mae rhinwedd crefyddol yn ffafriol i ddiwydrwydd a chynnildeb, i hwsmonaeth a rhagddarbod. Mae yr hwn sydd 'heb ddarbod dros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, wedi gwadu y ffydd, ac yn waeth na'r di-ffydd.' Dylai y dyn crefyddol sydd mewn masnach fod yn gall, yn ochelgar, a llygadog; nid ydyw yn cael ei wahardd, yn wir, i fod yn hyf ac anturiaethus, o fewn terfynau diogel a rhesymol;—i ychwanegu at wrthddrychau neu gangenau ei fasnach, i eangu neu i gyfnewid ei gysylltiadau, i amrywio rhywbeth yn ffurf ei drafodaeth, i roddi arian mewn unrhyw anturiaeth sydd yn debyg o fod yn llwyddiannus; neu, mewn ffyrdd eraill, i ymestyn am ychwanegu ei elw a thrysori erbyn yr amser a ddaw;—ond ni ddylai byth, ac, wrth ymddwyn yn ol ei egwyddorion proffesedig, ni wna byth ymgymeryd âg unrhyw anturiaeth enbyd a rhyfygus; ni fyn ddim i'w wneyd âg unrhyw beth sydd yn ammheus yn ei foesoldeb; ni chroga ddyrchafiad neu ddinystr ar bosiblrwydd ansicr; ni feiddia beryglu yr oll a fedd wrth 'brysuro i fod yn gyfoethog.'

Ni fydd gan ŵr ieuanc deallus a rhinweddol (i ddychwelyd eto at y dosbarth o fy mlaen) na phechodau nac oferedd; nid arfera wario ei gyflog am bleserau drudfawr, mewn gwisg ac addurniadau, mewn chwareudai, a lleoedd chwareu-damwain. Fe rydd yr amser sydd ganddo i'w hebgor, at lyfrau, i gyrhaedd gwybodaeth gyffredinol, neu i feistroli egwyddorion masnach, ac ymbarotoi erbyn agoriadau a chyfleusderau a allont ddygwydd, at ddifyrwch diniwed, at gyfeillachu gyda chyfeillion a chydnabod parchus, at gael, neu wneyd daioni. Nid yw mewn perygl o golli dim trwy gadw oriau hwyr y nos; nid achlysura ddrwg-dybiau yn y boreu trwy ei lygaid gwrth a'i gerddediad llesg; ei ystwyrian a'i absennoldeb meddwl yn awgrymu fod rhyw ynfydrwydd a rhysedd wedi ei wneyd ef yn hurt ac yn ddibwrpas, pan ddylasai fod â'i lygaid yn agored. Ni fydd camgymeriadau gwaradwyddus yn ei gyfrifon; dim anghenrheidrwydd mynych am edrych drostynt. Ni fydd arno ef yn wastad eisieu mwy o amser i wneyd i fyny yr hyn y gelwir am dano. Ni fydd ef yn rhythu mewn syndod anwybodus, neu yn tewi gyda chywilydd ymwybodol, pan yr holir ef yngylch rhywbeth a ddylasai neu a allasai wybod;—meistrolaeth drwyadl yr hyn, pe buasai yn ei wybod, a fuasai yn ei wneyd i fyny. Nid äir heibio iddo fel un anobeithiol neu analluog, pan wneir cyfnewidiadau anghenrheidiol yn y sefydliad, y rhai a agorant i'r profedig a'r medrus, yr hwn sydd wedi ennill sylw a chymeradwyaeth, ddyrchafiad mewn lle, ac ychwaneg o gyflog. Yr un modd, fe fydd i'r gweithiwr a'r crefftwr, y rhai nad oes ganddynt fawr o feddwl, o olwg, nac o ymgais am fod yn ddim arall, trwy ddiwydrwydd, cysondeb, a sobrwydd, a'r holl rinweddau eraill, y rhai y mae callineb y byd yn gymeradwyo, ond y rhai y mae crefydd ar unwaith yn argymhell ac yn sicrhau, gadw mewn gwaith, ennill ymddiried, ac yn raddol fe ddaw yn fath o ddodrefnyn arosol o amgylch y lle; fe gaiff bethau yn gysurus a dedwydd gartref—gwisg am ei gefn, ac oriawr yn ei logell, bara yn y gegin, a llyfrau ar yr estyll; fe fydd ei deulu oll yn barchus yr olwg arnynt, a phob amser yn yr addoliad ar ddydd gorphwys wythnosol y gweithiwr; fe fydd i'w blant gan mwyaf dderbyn gwell dygiad i fyny na'u tad, ac er nad all ef, fe allai, mae yn nesaf i sicrwydd y bydd iddynt hwy, neu rai o honynt, godi i radd uwch mewn bywyd. Felly am y meistr: y gŵr ieuanc sydd yn anturio i fasnach fel cydfasnachwr, neu ar ei ben ei hun, yr hwn y mae ganddo ddoethineb, anrhydedd, a pherffaith uniondeb; yr hwn sydd yn dangos gweithgarwch, medr, a gofal; yr hwn sydd yn gydwybodol yn cyfyngu ei dreuliadau personol; a'r hwn, beth bynag

sydd ganddo i hunan-ymwadu, sydd yn ymdrechu am amddiffyn ei anrhydedd masnachol; yr hwn, gan ei fod ar unwaith yn ddyn crefyddol a chall, y mae ganddo gydwybod dawel, calon bur, gwefus wirioneddol, dwylaw glân, a phen clir. Wel, y mae yr holl bethau hyn yn meddu tueddiad naturiol i'w helpu ymlaen,—heb sôn am fendith Duw ar ddaioni ymroddgar, a llafur gonest. 'Llaw y diwyd a gyfoethoga.' Ond y mae y fath beth a dyn diwyd, ond drygionus, yn gwneyd arian; ac oblegid fod Duw yn attal ei fendith—yn eu 'casglu i gôd dyllog.' Ac y mae y fath beth a 'Duw yn rhoddi i ddyn allu i ymgyfoethogi, yn bendithio 'ei gawell a'i does,' yn ei ddwyn ymlaen mewn sefyllfa ac anrhydedd; ac fel hyn, oes ar ol oes, yn ailadrodd chwedl, ac yn sylweddoli drachefn brofiad yr alltud ieuanc Hebreaidd—'yr oedd yr Arglwydd gyda Joseph, ac efe oedd ŵr llwyddiannus.' Yn awr, cofiwch, nid wyf yn meddwl dyweyd fod daioni, rhinwedd crefyddol, bob amser, ac fel y cyfryw, i ddysgwyl llwyddiant bydol; mae pethau eraill heblaw rhinwedd—talentau, cyfleusdra, profiad, medr, ac felly ymlaen, yn meddu rhywbeth i'w wneyd tuag at hyn; ond yr ydwyf yn dyweyd, heb rinwedd, na wna y pethau eraill o honynt eu hunain y tro, neu na wnant yn sefydlog a diogel; y gwnaiff rhinwedd bob amser ddwyn dyn yn barchus trwy fywyd, ac, yn gyffredin, y gwella ei sefyllfa; ac fel hyn, mewn ystyr gyffredinol, ac o fewn rhyw derfynau, ei bod yn sicr o'i gwobr."—*Tudal.* 62, &c.

Gyda golwg ar *gymeriad* drachefn, y mae crefydd yn sicrhau i ddyn y cymeriad perffeithiaf, a hyny heb geisio, megys. Y mae y dyn yn drwyadl rinweddol, ac am hyny nid all beidio ymddangos felly; ac y mae y byd, fel mater o anghenrheidrwydd, yn ei goroni â'r ymddiried a'r anrhydedd nad oes neb ond y dyn da yn ddigon urddasol i'w mwynhau. Mae sylwadau Binney ar hyn yn dda iawn:—

"Felly gyda golwg ar *gymeriad*. Prin y mae yn anghenrheidiol profi y bydd y dyn y mae ei egwyddorion a'i ymarweddiad yr hyn a ddesgrifiwn, yn sicr o hyn. Y ffaith yw, *nad all* dynion o'r fath yma fod *heb* gymeriad. Nid oes eisieu iddynt gynnyg deng mil o bunnau[1] am un. Peth gwael a fyddai os gellid ei brynu o gwbl. Byddai yn ddrud am hatling. Gallech ystyried cymeriad trwy arian pan yn rhoddi iawn am gabldraeth, pan yn tybied fod cam arianol wedi cymeryd lle; ond ni ellwch ei brynu er unrhyw werth. Mae cymeriad fel cariad—'pe rhoddai ŵr holl gyfoeth ei dŷ am gariad, gan ddirmygu y dirmygid hyny.' Y mae yn rhaid iddo fod yn warogaeth wirfoddol cymdeithas i ardderchogrwydd gwirioneddol ac addefedig, neu nid ydyw yn ddim. Yn awr y mae dyn o galon gywir, yr hwn sydd allan ac allan, drwyddo draw, yn ddyn da, yn *meddu* ardderchogrwydd, gwir werth, ac fe ddaw o anghenrheidrwydd i feddu cymeriad. Ni weithreda ef *er mwyn* cymeriad; ni fydd ef yn gyfiawn, yn onest, yn gymwynasgar, er mwyn cyrhaedd barn dda ei gymydogion; y mae ganddo resymau ynddo ei hun dros ymlynu wrth rinwedd, cryfach o lawer na hyn;—rhesymau hefyd, i fyny, acw, yn llygad sylwgar Tad yn y nefoedd, sydd i'w foddhau a'i wasanaethu, a fuasent yn peri iddo ef wneyd yr oll a wna, pe (a thybied fod hyny yn bosibl) na fuasai yr un dyn ar y ddaear ond efe. I'r graddau y mae yn cael ei adnabod, yn wir, y mae yn cael ymddiried ynddo, ei barchu, ei anrhydeddu, siarad yn dda am dano; ond y *mae* efe yr hyn oll sydd yn peri hyn, heb i hyn fod ei gymhelliad i fod felly; ac fe ddewisai fod yr hyn ydyw, pe na buasai ganddo gydoeswyr oddiwrth pa rai y gallai fwynhau parch, neu pe byddent oll yn dewis ei attal. Dywediad rhagorol ydyw hwnw o eiddo yr hen ŵr Polonius wrth ei fab,[2] â pha un y dybena amryw o fan gynghorion iddo,—

'Uwchlaw yr oll—Bydd wir i ti dy hun;
Canlyna wed'yn fel y dydd y nos,
Nad elli fod yn ffals i unrhyw ddyn.'

Da; da iawn yw hwna. Fe fydd hunan-barch, a chanlyniad ymarferol yr hyn y mae yn ddysgu, eich bod yn drwyadl gyfiawn a gonest tuag atoch eich hunain—o anghenrheidrwydd yn eich rhwystro rhag bod yn anghywir tuag at eraill, oblegid fe fyddai hyny yn ddianrhydedd i chwi eich hunain. Fe fyddai yn wneyd yr hyn fyddai yn annheilwng o honoch, ac felly fe fyddai yn anffyddlondeb ac yn gam â chwi eich hunain. Ond, os bydd dyn, pa fodd bynag, yn myned yn uwch na hyn, ac yn byw 'fel un yn gweled yr Anweledig,' a'i gymeryd i fod yn rheol ei fywyd 'bydd wir o hyd i'th Dduw,' fe ganlyna, gyda mwy o sicrwydd eto nag oddiwrth egwyddor Polonius, 'nad all ef fod yn ffals i unrhyw ddyn.' Gall y dyn sydd yn cymeryd yr hyn sydd ddyledus iddo ei hun fel ei ddrychfeddwl penaf, wneyd llawer o bethau fyddent yn ddigon ammheus yn nghyfrif y dyn sydd yn

[1] Cyfeiriad at yr hyn a ddywed yn *tudal.* 37, am Colonel Charteris; ei fod yn dyweyd y buasai yn rhoi deng mil o bunnau am gymeriad!

[2] Yn "Hamlet."

meddu y drychfeddwl uwch, sef yr hyn sydd ddyledus i Dduw; ac, yn ein hamser ni, y mae barn y cyffredin, er mor unochrog ydyw, ar y cyfan, neu yn y pen draw, yn ffafr yr hwn sydd yn dal at y safon mwyaf dyrchafedig o ddyledswydd," &c.—*Tudal.* 68, &c.

Mae ei sylwadau ymlaen ar yr un mater yn rhagorol o dda, ond rhaid i ni ymattal. Mae yr un athrawiaeth yn dal gyda golwg ar *dirf hen ddyddiau.* Mae y dyn crefyddol yn byw mor unol â deddfau ei gyfansoddiad (ac yn gwneyd hyny heb geisio, fel mater o anghenrheidrwydd), fel y gall, efo chyfansoddiad cryf, a gadael allan ddamweiniau annysgwyliadwy, &c., fyw "cyhyd ag y dewisa," braidd; fyw, o leiaf, nes bydd y natur wedi adfeilio o honi ei hun, ac yn ymollwng yn dyner ar liniau ei mam, pan y derbynia hithau yn serchog a gofalus y rhan farwol i'w mynwes, ac y bydd Tad yr ysbrydoedd yn derbyn y rhan anfarwol i ogoniant a gwynfyd y drydedd nef. Mae yr oes yn naturiol yn myned yn hir, a chan ei bod yn ddiwrnod tawel ar ei hyd, y mae ei diwedd hefyd—

"Yn dyner fel hwyrddydd hâf."

"Ffrwythant eto yn eu henaint; tirfion ac iraidd fyddant: i fynegu mai uniawn yw yr Arglwydd fy nghraig, ac nad oes anwiredd ynddo."

Rhaid i ni wneyd lle i un paragraph ar hyn:—

"Mae y drygionus yn marw yn fuan. Y maent yn disgyn fel cysgodion neu yn syrthio fel malurion ac adfeilion i'r bedd, yn aml pan yn dra ieuanc, braidd bob amser cyn bod yn ddeugain. Nid yw y drygionus 'yn byw hanner ei ddyddiau.' Y mae y byd ar unwaith yn cadarnhau y gwirionedd, ac yn rhoi y rheswm am dano trwy ddarlunio rhai penrhydd fel 'dynion cyflym;'[1] hyny yw, y maent *yn byw* yn gyflym; y maent yn treulio eu deuddeng awr mewn chwech, ac yn myned trwy y cwbl cyn hanner dydd, ac yn syrthio o'r golwg ac i dywyllwch, tra mae eraill yn nysgleirdeb a gogoniant bywyd. 'Eu haul a fachluda tra y mae hi yn ddydd.' A gallasent arbed hyny. Y mae llawer un yn marw ymhell cyn y byddai raid iddo. Eich dynion o athrylith, fel Burns a Byron, i'r rhai, pan yn ymroi i afradlonedd a phleserau, y mae dwy ar bymtheg ar hugain mor angeuol; a'ch 'ser gwibiog,' disylw a dienw, y rhai ydynt yn dyfetha eu hieuenctyd mewn ymfwyniant trythyll, *nid yw yn bosibl iddynt fyw yn hir.* Mae yn rhaid iddynt farw yn fuan. Y maent yn gollwng yr agerdd, nes y maent yn chwythu i fyny y berwedydd. Y maent yn rhedeg mor gyflym, nes mae y tân yn myned allan o eisieu tanwydd. Y mae y peiriant yn cael ei ddinystrio trwy brysurdeb rhyfygus a threuliad cyflym. Nid all dim eu hachub. Nid all eu cyfansoddiad naturiol ddal y pwys a osodant arno, tra y mae sefyllfa eu meddwl yn fynych y fath, ag y bwytäai yr enaid trwy sylwedd y corff cryfaf, ac y gwnai iddo ei hunan ddiangfa oddiwrth uffern wastadol ei feddyliau ei hun. Ond y mae pob tebygolrwydd o ochr helynt wahanol i'r da. Y mae heddwch a boddlonrwydd, ffydd a rhinwedd crefyddol, yn gynnifer o warantau dros hir ddyddiau. * * * Y mae yn cyrhaedd henaint calonog a thirf; 'Ei feibion ef a ddaw i anrhydedd,' ac y mae yntau yn byw i'w weled; y mae ei ferched yn 'gwneyd yn rhinweddol;' y mae yn byw i lawenychu ac i'w 'galw yn wynfydedig.' Y mae plant ei blant yn bloesg-barablu ei enw ac yn dringo o amgylch ei liniau, fel blodau ieuainc yn ymgodi ac yn ymblethu am wraidd y dderwen. Yn awr, y mae hyn oll yn *bosibl,* wyddoch; oblegid y mae mewn gwirionedd yn dygwydd; y mae, yn weithredol, i'w weled yn ein cylchoedd ni ein hunain. Felly y mae yn dra thebyg o fod gyda gwrthddrych ein prawf, yr hwn sydd i fyw, o hyn allan, yn amaethu pob rhinwedd canmoladwy, o dan ddylanwad ffydd Gristionogol. Wrth bob dyn o'r fath yma, mae y llyfr yn dweyd, 'Digonaf ef â hir ddyddiau, a dangosaf iddo fy iachawdwriaeth;' ac y mae yn desgrifio cymdeithas, pan fydd cymdeithas yn dduwiol a rhinweddol, trwy ddarlun fel hwn: 'Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, hen ŵyr a hen wragedd a drigant eto yn heolydd Jerusalem, a phob gŵr â'i ffon yn ei law, o herwydd amlder dyddiau. A heolydd y ddinas a lenwir o fechgyn a genethod yn chwareu yn ei heolydd hi."—*Tudal.* 78.

Yna dengys ragoriaeth arbenig y dyn crefyddol gyda golwg ar *amaethiad y meddwl,* a chyda golwg ar gael *adnoddau oddifewn i gyfarfod â thrychineb dygwyddiadol,* neu *dristwch nad ellir ei ysgoi.* Duw yn unig sydd yn "gymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder." Y mae efe yn cadw ei bobl yn ddiogel yn nghanol pob ystormydd, ac hyd yn nod "yn rhoddi achosion i ganu y nos." Mae hyna yn ffaith, ac yn ffaith sydd yn

[1] "*Fast men:*" gair diarebol yn Lloegr.

brofiad byw mewn miloedd o galonau Cymreig y fynyd hon; ni fynent ei cholli er gwerth ymherodraeth Duw i gyd. Ond am y pwnc arall, fod crefydd yn amaethu y meddwl, nid ydym bob amser fel yn ei ystyried. "Anwybodus!" medd yr ysgogyn coegfalch, yn ein gwyneb, wrth edrych ar ansawdd dysgeidiaeth yn Nghymru. "Anwybodus! dybryd anwybodus! Mae y bobl wrth y miloedd heb fedru Seisneg! Nid ydynt yn gwybod beth ydyw *Grammar!* Mae y gair *Algebra* mor ddyeithr iddynt, a phe buasai yn un o eiriau iaith y blaned Sadwrn!"—Ydynt, gyfaill, y maent felly, filoedd o honynt, mae yn wir. Ond, yr ydym yn dy sicrhau y gallem alw cannoedd lawer megys ar antur o ganol y dyrfa "ddwl" yna, na fyddai ond ffawd wael i ti allu dangos (hyd yn nod ac estyn dy ymchwiliad i fysg miloedd o bobl "*educated*"), nifer cyfartal a fo yn werth eu cymharu â hwynt yn y diwedd mewn gwir ddysgyblaeth ac amaethiad meddwl. Y maent yn grefyddol, ac wedi amaethu eu meddwl a'u calon trwy gydnabyddiaeth agos a maith â'r LLYFR. Nid ydym wrth hyn am ddibrisio y peth a elwir yn "ddysgeidiaeth;" yn nesaf at y Bibl a gobaith bywyd tragywyddol, pethau dysgeidiaeth sydd yn gwneyd i fyny ein "llawenydd penaf:" ac nid ydym am lochi anwybodaeth ein cenedl; ond mynem ar bob cyfrif gan gynted ag y byddo yn ddichonadwy, ei chael oddiar y ffordd: ond eto yr ydym yn anfesurol bell o fod yn barod i addef i'n cyfaill hwn fod ein cenedl yn farbariaid i gyd, am nad ydynt yn gallu siarad Seisneg, ac esbonio holl briodoliaethau y trïongl; dim o'r fath beth. Mae yn wallgofrwydd meddwl fod yr hen ŵr yna, er nad yw ond gweithiwr caled ar hyd ei oes—yr hen ŵr yna, sydd wedi cadw noswyl, ac ar y Sabboth yn "cloddio ac yn myned yn ddwfn" i ystyr duwinyddiaeth Ioan; neu yr hen ddyrnwr yna, sydd yn crychu ei aeliau mewn egni ymroddgar i geisio amgyffred ymresymiadau Paul; neu y wraig hawddgar yna y mae ei chalon yn toddi wrth dynerwch a nefolrwydd y Salmau a'r efengylau; neu y llanc yna, y llanc tirion, egniol, a brwdfrydig yna, y mae ei fynwes yn chwyddo ac yn ymgodi wrth edrych ar ardduniant Job, ac ymdeimlo ag ardderchawgrwydd Esaia; neu y bechgyn a'r genethod yna, ydynt wrth y miloedd yn cipio i fyny hanesiaeth yr Ysgrythyrau, ac yn dysgu allan gannoedd o bennodau:—y mae yn wallgofrwydd i ti feddwl am alw y bobl yna, er nad ydynt yn deall Seisneg a *mathematics*, ac er mai llenyddiaeth y Bibl yn unig braidd sydd yn yr ychydig lyfrau sydd ar yr asdell yna, wrth ochr y llyfr ei hun—y mae yn wallgofrwydd i ti feddwl am eu galw yn farbaraidd a dwl! Gadewch i ni glywed beth sydd gan y dyn galluog yna i'w ddyweyd ar hyn. Mae ei sylwadau yn dra phriodol gyda golwg ar gannoedd o Gymry, a llawer iawn o ddarllenwyr y "Traethodydd."

"Y mae crefydd ei hun yn addysgiaeth. Lle mae y drychfeddwl Cristionogol priodol o weinidogaeth addysgawl yn cael ei gario allan, a dynion yn cyfarfod yn yr eglwys er cael addysg reolaidd yn gystal ag i addoli, y mae yn rhyfedd y fath wahaniaeth a welir gyda golwg ar ymagoriad meddwl—rhwng dau ddyn (yn enwedig dynion tlodion), y naill o arferion crefyddol, a'r llall o arferion anghrefyddol. Y mae y dyn crefyddol o anghenrheidrwydd yn dyfod yn feddyliwr ac yn ddarllenwr. Y mae efe yn ymresymydd ac yn athronydd yn ei ffordd; canys y mae yn dyfod yn dduwinydd, ac yn dysgu dilyn cadwynau o ymresymiad, yn gystal ag i ymfwynhau mewn teimladau o dduwioldeb. Y mae yn dyfod i wybod rhywbeth am hen hanesiaeth, cysegredig a phaganaidd; am ddadguddiad gwirionedd trwy oruchwyliaethau olynol; am seiliau llwyddiant cenedlaethol; am ddeddfau llywodraeth Duw; am egwyddorion athroniaeth foesol. Y mae yn clywed ymresymiadau ar bynciau dadleugar, ac y mae ganddo i fantoli profion a ffurfio barn. Y mae yn efrydydd llyfr sydd yn gyfaddas i eangu a dyrchafu y meddwl, i'w lenwi â syniadau

mawrion, i gynnyrchu ynddo amcanion ardderchog, i osod y dychymyg ar waith, i gryfhau y farn, ac i ddysgu gwir athroniaeth bywyd. Y mae, trwy ei astudio, yn cael nerth meddwl oddiwrth yr ymdrech a ofyna rhai rhanau o hono; yn cael manylrwydd a gochelgarwch, wrth gymharu yn amyneddgar ymadrodd âg ymadrodd, y rhai ydynt o bob ochr yn deongli ac yn cydweddu y naill y llall. Y mae teimladau ac ymarferion crefydd, natur addoliad, a iaith y Bibl, oll yn meddu tuedd i alw allan deimlad o'r cain, ac i barotoi at ddarganfod y mawreddig mewn natur, a'r cain mewn celfyddyd. Ac er i hyn beidio cymeryd lle, nid yw yn bosibl i ddyn crefyddol, meddylgar, a deallus, beidio a chael cryfhau ei feddwl yn gyffredinol trwy yr ymarferiad gwastadol o'r galluoedd hyny y mae ei fyfyrdodau crefyddol yn gynhyrfu i weithgarwch. Ond dylid sylwi ymhellach, y daw y dyn yr ydym ni yn son am dano oddiwrth y ffaith o'r hyn a wna o fywyd, ac a gaiff allan o hono, i gael hamdden, ac y bydd yn alluog i'w gylchynu ei hun â'r hyn a all digonolrwydd orchymyn, ac y mae arferiad yn gyffredin yn awgrymu i feddwl y llwyddiannus. Gall ychwanegu ei lyfrgell, ac y mae yn debyg y gwna; gall eangu ei gydnabyddiaeth gyda'r dysgedig a'r dillynaidd, a chwyddo yn ddirfawr ei wybodaeth trwy ymddyddanion; a gall wella ei chwaeth trwy y pethau prydferth a destlus sydd yn dyfod o flaen ei lygaid, yn y darluniau ar ei furiau, ac yn nhrefniadau ei ardd. Gwn yn burion y gall rhinweddau sylweddol bywyd o dduwioldeb gael eu hamaethu a'u hamddiffyn, heb iddynt gael eu cysylltu â gwybodaeth a chwaeth. Gwn hefyd ei fod yn ddigrifwch cyffredin i gyfeirio at rai sydd yn llwyddiannus a chyfoethog fel rhai delffaidd ac anwybodus—gyda llyfrau yn eu celloedd na ddarllenir byth, a destlusion o'u hamgylch na allant werthfawrogi. Nid oes a fynwyf fi â hyn. Y mae yn ddigon i mi os ydyw *hefyd* yn 'bosibl' uno crefydd â llenyddiaeth; yn bosibl i'r dyn sydd yn byw i'r byd arall fwynhau hyfrydwch yn nghelfyddydau a gwyddorion hwn. Nid ydyw y ddau beth yn anghydsafol—fe ellir eu huno. Yr wyf yn gwybod am esiamplau o ddynion mewn masnach—dynion crefyddol—yn gweithio ac yn trafferthu, yn cael ac yn rhoi, trwy gylch hir o lwyddiant arafaidd, a thrwy yr holl amser yn darllen ac yn dysgu, ac yn cael hyfrydwch yn ngwahanol lwybrau llenyddiaeth. Ac ychwanegaf ymhellach, mai yn anfynych y gwybum am ddyn crefyddol, gwir gall, yn ymddyrchafu mewn bywyd, heb sylwi, pa mor ychydig bynag oedd manteision ei ddygiad i fyny, fod ei feddwl yn ymagor i wybodaeth ac yn gwella mewn chwaeth; ei fod yn canfod gwaith a hyfrydwch mewn llyfrau; ac yn dra mynych, ei fod i ryw fesur yn dyfod i werthfawrogi yr ymadroddion a'r gorchestion hyny o eiddo athrylith ydynt yn y pellder mwyaf oddiwrth y cyfnewidfwrdd a chist yr arian."—*Tudal.* 80, &c.

Erbyn y cysylltwch chwi at hyn yr adnoddau cyfoethog ag y mae crefydd yn agor i ddyn mewn cyfyngderau a thrallodion, a'r sefydlogrwydd tragywyddol sydd ynddi fel noddfa yn mhob trychineb, y mae y ddadl yn dyfod i derfyniad—mai y ffordd i wneyd y goreu, hyd yn nod o'r byd hwn, *ydyw byw ynddo yn grefyddol.* Y mae yn sicrhau i chwi yr holl bethau gwerthfawr a enwyd fel elfenau bywyd dedwydd, ac yn eu sicrhau yn y perffeithrwydd uchaf sydd yn bosibl iddynt; y mae yn eich cynnysgaethu â'r "gareg" sydd yn troi yr holl ddefnyddiau yn "aur," yn gwneyd bywyd mor llawn o fwyniant a digonolrwydd ag y mae yn bosibl i fywyd mewn marwoldeb fod; y mae hefyd yn eich bendithio â'i chyfoeth ysbrydol, yr hwn sydd yn eich galluogi i ymdeimlo uwchlaw y byd, pan y mae yn gwgu arnoch, ac yn eich galluogi i gerdded eich ffordd, er iddi fod yn arwain trwy leoedd mor ofnadwy a "glyn cysgod angeu," yn nhangnefedd digyffro ac yn sefydlogrwydd dibetrus plant Duw. Y mae crefydd, yn ystyr fanylaf y geiriau, yn cynnyrchu, yn amddiffyn, ac yn addurno llwyddiant; ac yn galluogi dyn i ymgynnal, i ymgysuro, ïe, i orfoleddu yn nghanol trychineb aflwyddiant. Ac nid damcaniaeth yn unig ydyw hyn, nid breuddwyd barddonol, nid cynllun o berffeithrwydd ysplenydd mewn dychymyg, ond ffaith, peth sydd yn cael ei *sylweddoli* yn mhrofiadau miloedd trwy yr holl oesoedd, peth y mae miloedd yn ein dyddiau ninnau mor sicr o hono ag o'u bodolaeth eu hunain, a pheth a brofir yn wir gan filiynau dirifedi hyd ddydd y chwalfa olaf. Y mae yn gyrhaeddadwy i tithau. A chan ei fod yn gwneyd peth mor ogoneddus o fywyd, gan ei fod yn beth mor wirioneddol, a'i fod yn gyrhaeddadwy—y mae yn werth dy ymgais i ymofyn am dano fel yr unig bosiblrwydd i ti "*wneyd y goreu*" hyd yn nod o'r byd hwn.

Dyna un plyg i'r ddadl ynte, a'r plyg y bwriadem alw sylw ein darllenwyr fwyaf ato yn yr erthygl hon, wedi ei agor, a'i agor yn llwyddiannus. Crefydd ydyw yr agoriad i ddedwyddwch y byd hwn. Nid oes genym amser na lle i ddilyn ymdrafod Mr. Binney ar y plyg arall i'r cwestiwn. Ac yn wir, nid oes cymaint o anghenrheidrwydd. Yr ydys wedi sylwi ar hyd y ffordd, nad ydyw crefydd i'w cheisio er mwyn y manteision presennol, y mae i'w cheisio er mwyn rhywbeth anfeidrol fwy, ac yn sicrhau y manteision presennol, wrth fyned heibio. Ei dyben eithaf ydyw bywyd tragywyddol; y mae yn sicrhau hwnw, a dyna ei phwnc mawr: ond wrth wneyd hyny y mae yn galluogi y dyn sydd yn caru Duw i fwynhau yr oll sydd yn werth ei fwynhau o ddedwyddwch y byd hwn. Y mae y "can' cymaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw yn fywyd tragywyddol." Tra mai ei neges fawr ydyw parotoi y dyn i wynfyd y byd a ddaw, y mae hefyd, fel rheol gyffredin, yn peri i'w gwpan redeg drosodd gan fwyniant melusaf y byd hwn, ac felly yn ei alluogi i "*wneyd y goreu o'r ddau fyd.*"

Yn yr ail ran o'r llyfr, y mae yr awdwr yn traethu llawer, ac yn traethu yn dda iawn, ar wahanol opiniynau dynion gyda golwg ar y byd a ddaw, ac yn profi, trwy gadwen ardderchog iawn o ymresymu (cadwen o ymresymu, ddarllenydd hynaws, ac y byddai ei dilyn allan yn gryfder i'th feddwl, ac yn iechyd i'th galon,)—yn gyntaf, Nad oes yr un dyfodol yn bosibl i ddyn, ond y dyfodol a ddarlunir yn ngair Duw; ac yn ail, Nad oes yr un parotoad ar gyfer y dyfodol yn bosibl i ddyn, ond y parotoad sydd yn dyfod trwy adnabyddiaeth o Iesu Grist. Mae yr holl ymdriniaeth yn cael ei dwyn ymlaen yn y fath fodd ag sydd yn tueddu i ddifrifoli y meddwl, ac yn tueddu at wneyd ei awydd yn fwy angerddol nag erioed am feddu y grefydd y mae "ganddi addewid o'r bywyd sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd." Yr ydym yn y modd mwyaf calonog yn argymhell y llyfr i sylw ac astudiaeth fanwl ein darllenwyr, yn enwedig ein cyfeillion ieuainc. Nid hawdd y gallent gyfarfod â llyfr wedi ei ysgrifenu yn fwy gorchestol; ac nid hawdd yn sicr ynte y gallent daro wrth lyfr y byddai ei astudio yn debyg o fod yn fwy o les iddynt.

---

# GOBAITH.

"Y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw."—Solomon.

"Ond llygaid yr annuwiolion a ddiffygiant, metha ganddynt ffoi, a'u gobaith fydd fel ymadawiad yr enaid."—Sophar y Naamathiad.

O holl deimladau lliosog y natur ddynol, nid oes yr un, fe allai, yn cario dylanwad mwy grymus ar holl weithrediadau bywyd dyn yn y byd, na'r gwahanol deimladau o *ofn* a *gobaith*. Wrth y blaenaf y golygir, yr agwedd sydd yn cael ei chynnyrchu yn y meddwl gan y rhagolygiad ar ryw ddrwg i ddyfod; ac wrth yr olaf, yr agwedd hono ar y meddwl sydd yn cael ei chreu gan y dysgwyliad o ryw ddaioni i ddyfod. Y mae ofn bob amser yn edrych ymlaen at ryw ddrwg i'w ddyoddef; a gobaith, bob amser, at ryw ddaioni i'w fwynhau. Yn y naill a'r llall, y mae gwrthddrych y teimlad y tuallan i gylch yr amser presennol, yn rhywle yn y dyfodol. Nid yw y naill a'r llall o'r teimladau hyn, o ran hyny, ond yr un

agwedd ar y meddwl, wedi ei ffurfio yn gyfaddas i ansawdd y gwahanol wrthddrychau a gyflwynir o flaen ei olwg. Yr un agwedd o ragolygiad y meddwl ar rywbeth i ddyfod yw y naill a'r llall; ac y mae hi yn cymeryd y ffurf o ofn neu obaith yn ol natur ei gwahanol wrthddrychau. Nid yw ofn un amser yn ymwneyd â dim ond y dysgwyliad o ryw ddrwg—wedi ei amlygu, ond heb ei brofi. Ac nid yw gobaith un amser yn cael ei gynnyrchu ond gan y dysgwyliad o ryw ddaioni—wedi ei ddadguddio, ond heb ei fwynhau. Y mae cyfeiriad y naill a'r llall yn ddyfodol—y mae llygad y meddwl yn mhob un o'r ddau yn sefydlog ar yr amser a ddaw. Y cyfeiriad dyfodol yma o eiddo gobaith sydd mewn golwg gan yr apostol, pan y dywed am y "gobaith a welir nad yw obaith: oblegid y peth y mae un yn ei weled, i ba beth y mae eto yn ei obeithio?" Wrth y "gobaith a welir," y meddylir, rhyw ddaioni sydd yn cael ei gynnwys y tu fewn i gylch mwynhad presennol: am hwn dywedir nad yw obaith, a hyny oblegid nad yw gobaith un amser yn ymwneyd â dim ond rhyw ddaioni i ddyfod; a phan y mae yr amser a ddaw yn cael ei gau allan o'r drychfeddwl a gysylltir genym â'r gair, ei fod yn syrthio i'r llawr yn air diystyr: "ond os ydym ni yn gobeithio yr hyn nid ŷm yn ei weled, yr ydym trwy amynedd yn dysgwŷl am dano."

Y mae olwynion peiriant mawr natur i gyd wedi eu gwneyd i redeg ymlaen; nis gall yr un o honynt symud yn ol. Yr oedd llygad tragywyddoldeb diddechreu (a llefaru fel ag yr ydym ni, yn ein sefyllfa bresennol o hanfodi, wedi ein gosod o dan anghenrheidrwydd i synio am bethau) yn edrych ymlaen yn sefydlog at yr amgylchiadau yr esgorid arnynt gan amser; ac y mae amser eto, ar ei hyd, trwy holl dreigliadau yr oesoedd, yn cyfeirio ei olwg yn sefydlog at ganlyniadau yr hyn a ddygir oddiamgylch ynddo yn y tragywyddoldeb diddiwedd. Os taflwn ein golwg dros faes eang natur, ni a welwn mai fel hyn y mae. Edrychwn lle y mynom, yr ydym yn canfod ar bob llaw arwyddion o ryw ymsymudiad mawr a chyffredinol. Y mae pob peth megys yn cydlefaru mewn iaith groew a dealladwy, "Gan anghofio y pethau sydd o'r tu cefn, yr ydym yn ymestyn at y pethau sydd o'r tu blaen." Wrth ymdeimlo âg ysgogiadau natur a chymdeithas, yr ydym fel pe baem yn teimlo curiadau calon nychlyd—cylchrediad gwaed afreolaidd, yn arwyddo fod rhyw ddrwg oddifewn: y mae ysgogiadau y peiriant mawr yn rhoddi ar ddeall, y tuhwnt i betrusder, fod rhai o'i olwynion allan o'u lle. Nid oes dim mewn un man yn ymddangos ei fod wedi cyrhaedd cyflwr o orphwysfa a boddlonrwydd; ond y mae pob peth yn cydymestyn at ryw ystâd o berffeithrwydd sydd eto heb ei chyrhaeddyd. Y mae y gwirionedd hwn yn cael ei ddysgu i ni gan Ysbrydoliaeth Ddwyfol, mewn iaith lawn o rymusder a phrydferthwch, pan y dywedir "fod pob creadur yn cydocheneidio ac yn cydofidio hyd y pryd hwn—fod hyd yn nod y creadur, trwy bechod, wedi ei ddarostwng i oferedd, nid o'i fodd, eithr oblegid yr hwn a'i darostyngodd; fod awyddfryd y creadur yn dysgwyl am ddadguddiad meibion Duw; ac yn y diwedd, y bydd i'r creadur yntau hefyd gael ei ryddhau o gaethiwed llygredigaeth i ryddid gogoniant plant Duw." Y mae dedwyddwch y byd ymhell o fod wedi cyrhaedd addfedrwydd. Y mae yr holl greadigaeth yn anadlu yn llafurus yn ngafael caethiwed pechod. Y mae llygaid pob peth yn cydgyfeirio ac yn edrych ymlaen gydag awyddfryd at ryw "amseroedd adferiad pob peth," at ryw sefyllfa o berffeithrwydd a sefydlogrwydd nad

adnabu y byd eto; a thuag at y sefyllfa hon y mae pob peth yn prysuro ymlaen gyda y cyflymder mwyaf. Y mae y crëedig, y terfynol, a'r meidrol (gan yr hyn ein hamgylchynir, ac o'r hyn yr ydym ein hunain yn ffurfio rhan), yn cael ei hyrddio ymlaen yn barhaus ar lifeiriant yr oesoedd, at y digrëedig, yr annherfynol, a'r anfeidrol: ac ni orphwys hyd nes y bydd iddo o'r diwedd gael ei golli yn yr anfeidroldeb sydd yn cynnwys y cyfan, ac yn y tragywyddoldeb sydd i lyncu i fyny y cyfan.

Ond nid gyda golwg ar natur yn allanol yn unig y mae hi fel yna. Os trown ni ein sylw i fewn i ddirgeloedd ein henaid ein hunain, ni gawn weled fod y meddwl dynol mewn cydweddiad â'r gogwydd cyffredinol hwn at yr amser a ddaw—fod ei gamrau yntau yn yr un cyfeiriad a'r ymsymudiad mawr hwn. Y mae meddwl dyn, fel pob peth arall, yn edrych ymlaen. Y mae yn alluog i wasgu melusder mwynhad presennol o'r dysgwyliad am ddaioni dyfodol, a chwerwder poen presennol o'r arswyd o ryw ddrwg dyfodol. Y mae meddwl dyn yn ffurfio rhyw ran o'r cyfanswm mawr hwnw sydd yn "cydocheneidio ac yn cydofidio hyd y pryd hwn." Y mae y fynwes ddynol, yr un fath a mynwes fawr a chyffredinol natur, yn ymlenwi âg awyddfryd dwys am ryw ddadguddiad mawr i ddyfod. Er y gellir cyfyngu y rhan hono o natur dyn sydd yn weledig a theimladwy i gwmpas bychan iawn, ac er y gall ei hanghenrheidiau hi gael eu diwallu âg ychydig o friwsion daioni crëedigol, eto, y mae ei natur ysbrydol, ei ddyn oddi mewn, yn herio pob terfyn, yn gwawdio pob rhwymau: nis gellir cau yr enaid a'i ddymuniadau i fewn gan ddim gweledig, presennol, a meidrol. Y mae meddwl dyn yn chwyddo gan ddysgwyliad, y mae yn ysgogi rhagddo yn barhaus oddiar "nerth bywyd annherfynol;" y mae yn ymestyn ymlaen at yr hyn sydd yn anfeidrol ac yn dragywyddol; ac ni fydd wedi cyrhaedd nod eithaf ei ymgyrchiad, camp uchel ei redegfa, hyd nes y bydd y ffrwd fechan o'r diwedd wedi colli ei hun mewn môr o ddaioni digrëedig.

Creadur fel hyna ydyw dyn. Y mae ei alluoedd ef yn rhy eang a chynnwysfawr i gael eu diwallu â'r mwynhad o ddaioni presennol, nac i gael eu haflonyddu gan y profiad o ddrwg presennol, yn unig. Y mae yn rhaid iddo ef gael edrych yn ol ac edrych ymlaen. Y mae yn sefyll o hyd mewn cyfwng, megys, rhwng yr amser a aeth heibio a'r amser a ddaw; ac y mae ysgogiadau ei ewyllys fel pe baent yn cael eu cynnyrchu gan ddylanwad parhaus y cof am yr hyn a aeth heibio, a'r dysgwyliad am yr hyn a ddaw. Nid yw yn gallu mwynhau daioni na dyoddef drwg yn yr un adeg o'i hanes, na raid i'w feddwl mewn rhyw adeg ddyfodol gael troi yn ol tuag ato; y mae yn ymdori o'i gwmpas mewn adfyfyrdod—y mae ei ddychymyg yn eistedd uwch ben yr olygfa, a thrwy hyny y mae yn llenwi y fynyd bresennol âg adgofion hyfryd, neu ynte â theimladau poenus. Ac nid oes ychwaith yr un daioni dyfodol yn cael ei ddadguddio i lygad y meddwl, na raid iddo yn awr ac eilwaith gael estyn llaw gobaith tuag ato i wasgu peth o'i felusder i lanw cwpan y fynyd bresennol; ac y mae hyn yn cael ei gario allan weithiau i raddau mor bell, fel erbyn i wrthddrych y gobaith ddyfod i afael y dyn, y mae yn canfod, er ei siomedigaeth, fod nodd y mwynhad wedi sychu i fyny, a hyny am fod gormod o hono wedi ei wasgu gan obaith i'r amser presennol; a mynych iawn y ceir fod y dysgwyliad yn llawer mwy na'r mwynhad. Ond fel hyn y ceir y natur ddynol yn mhob oes ac yn mhob gwlad, yn sibrwd gobaith ar doriad

cyntaf gwawrddydd bywyd. Fel y mae yr haul, pan yn ymddyrchafu o ystafelloedd y dwyrain, yn cael ei groesawu â cherddoriaeth yr adar mân; felly y mae hi hefyd gyda haul y bywyd dynol: cyn iddo bron ddyfod yn weledig uwchlaw ei gaerau, y mae ei ymddangosiad yn cael ei groesawu yn y fan â chaniadau aderyn prydferth gobaith; ac nid yw ei gân yn darfod nes y mae yr haul eilwaith yn dechreu gogwyddo tua therfyngylch henaint, ac yn machlud yn nghymylau marwolaeth. Y mae y plentyn bach, mor fuan ag y mae ei alluoedd yn dechreu ymagor, yn teimlo rhyw ymestyniad eiddil o obaith o'i fewn, am weled blyneddau ieuenctid ac addfedrwydd oedran—am yr amser pan y bydd wedi cyrhaedd nerth a doethineb ei dad: ac erbyn y cyrhaedda efe yr adeg yna, y mae eilwaith yn ymestyn ymlaen mewn gobaith at yr amser pan y bydd yntau yn llenwi cylch mewn cymdeithas cyffelyb i'r eiddo ei dad. Y mae rhagolygon dysglaer bywyd, a rhandiroedd eang hir oes, yn awr yn ymagor o'i flaen; ac os caiff efe deithio y rhai yna ar eu hyd, nes o'r diwedd nesau o hono at y dyddiau blin, a'r blyneddau heb ddyddanwch ynddynt—pan y bydd nwyf a bywiogrwydd ieuenctid wedi gwywo yn ei natur, pan na bydd dim mwy wedi ei adael iddo ar y ddaear i'w obeithio—hyd yn nod y pryd yna nid yw gobaith yn marw yn ei fynwes. Os nad oes dim iddo mewn amser i'w obeithio, y mae ei obaith yn tori dros derfynau amser i dragywyddoldeb, ac y mae yn edrych ymlaen yno at yr adeg pan y bydd nerth a bywiogrwydd anfarwol yn dyfod i'w ran, a phan y caiff flodeuo byth mewn ieuenctid tragywyddol.

Yn ngwahanol oesau y ddaear, y mae gan philosophyddiaeth dri chredo gwahanol wedi bod, gyda golwg ar natur dyn, a dedwyddwch cyffredinol dynolryw—credo yr amser a aeth heibio, credo yr amser presennol, a chredo yr amser a ddaw. Yr oedd dysgyblion y blaenaf yn golygu fod dedwyddwch y byd wedi myned heibio. Yr oedd yr amser presennol a'r dyfodol hefyd wedi ei ddyosg o bob dymunoldeb yn eu golwg hwy. Yr oedd y rhai hyn yn cyfeirio eu golwg yn groes i bob peth arall mewn natur;—yr oeddynt yn sefyll â'u cefnau at yr amser a ddaw, a'u hwynebau ar yr un a aeth heibio. Edrych yn ol yr oedd y rhai hyn mewn breuddwydion paganaidd at yr oes aur, fel ei gelwid, pan oedd tad y duwiau yn teyrnasu, pan yr oedd diniweidrwydd, tangnefedd, a dedwyddwch cyffredinol yn ffynu ymhlith dynolryw. Yr oeddynt yn dyrchafu gwroniaid yr amser a aeth heibio i orsedd y duwiau, ac yn eu haddoli; yr oedd eu beirdd yn canu mewn hiraeth cwynfanus am ogoniant yr oes aur, yr hon oedd wedi myned heibio—hafddydd hyfryd y byd byth mwy i ddychwelyd! Y mae credo y presennol yn rhifo ymhlith ei ddysgyblion yr holl rai hyny sydd yn darostwng y natur ddynol yn gydwastad â'r "anifeiliaid a ddyfethir," trwy ddystrywio y cymhelliadau nerthol i rinwedd a phurdeb sydd yn codi oddiar ardderchogrwydd ac anfarwoldeb natur dyn. Dynion ymroddedig i bleserau anianol yw y rhai hyn. Ni wiw ganddynt hwy daflu golwg yn ol at yr hyn a aeth heibio, nac ymlaen at yr hyn a ddaw. Y mae eu holl ofalon, eu holl ddymuniadau hwy, fel yr eiddo yr anifel, wedi eu cyfyngu y tufewn i gylch mwynhad presennol. O'r bron na fyddai yn fwy priodol dyweyd am y rhai hyn, mai tyfu y maent, yn hytrach na byw. Nid oes ganddynt yr un nôd uwch i ymgyrhaedd ato, ac i'w symbylu i deithio ymlaen ar yrfa bywyd, na boddhad eu chwantau anifeilaidd. Y maent "o'r ddaear," ac am hyny "yn ddaearol." Iaith y rhai hyn, ddydd a nos, awr ac enyd, ydyw, "Bwytäwn ac yfwn, canys yfory marw

yr ydym." Ond y mae un credo arall yn bod, â mwy o wirionedd a mawredd yn perthyn iddo na'r un o'r rhai blaenorol—credo yr amser a ddaw. Hwn ydyw yr unig un sydd wedi ei sylfaenu ar yr egwyddorion cedyrn ac ansigledig sydd yn wreiddiol yn natur dyn—crediniaeth mewn byd i ddyfod, a gobaith am anfarwoldeb. Y mae hwn yn chwyddo â dysgwyliadau mawrion, teilwng o urddas goruchel enaid dyn.

Y mae yr ymestyniad hwn at yr amser a ddaw, sydd yn blanedig yn y natur ddynol, yn mha wedd bynag yr ymddengys, pa un ai mewn ofn ai mewn gobaith, yn amrywio yn ol natur ei wahanol wrthddrychau. Y mae dwy briodoledd arbenig yn perthyn i wrthddrychau y gwahanol deimladau hyn o ofn a gobaith, ag ydynt bob amser yn penderfynu grym a bywiogrwydd y teimlad a elwir i weithrediad ganddynt. Y mae y teimlad o ofn neu obaith bob amser yn ymddibynu am ei rym a'i ddylanwad ar y graddau o bwys yr ydym yn ei gysylltu â'r daioni sydd yn cael ei obeithio, neu ynte â'r drwg sydd yn cael ei ofni; ac hefyd, heblaw hyny, ar agosrwydd y berthynas a olygir genym sydd rhwng y naill neu y llall â'n hachosion personol ni ein hunain. Y mae yn rhaid i bob peth sydd yn cynhyrfu teimlad cryf o ofn neu obaith o'n mewn, fod yn meddu ar ryw fawredd a phwys ynddo ei hun; ac yn ychwanegol at hyny, y mae yn rhaid ei fod yn rhywbeth ag sydd yn dal cysylltiad agos â'n lleshad personol ni ein hunain. Pe ein hysbysid gan rywun o ryw amgylchiad i ddyfod i'n cyfarfod, er iddo fod yn dal y berthynas agosaf â ni ein hunain, eto, os byddai yn amddifad o unrhyw bwys hanfodol—os mai rhywbeth hollol ysgafn a dibwys fyddai, yna ni fyddai y teimlad o ofn neu obaith a gynnyrchid ganddo yn ein mynwesau (os gwnai hyny o gwbl) ond yr un mor ysgafn a dibwys. Ac o'r ochr arall, pe ein hysbysid gan rywun o ryw amgylchiad arswydus i ddyfod, neu ynte rhyw ddygwyddiad gogoneddus a dedwydd i gymeryd lle, llawn o fawredd a phwysigrwydd, er hyn i gyd, os byddai yn rhywbeth hollol ddigysylltiad â ni, os na fyddai ganddo y dylanwad lleiaf ar ddim o'n hachosion personol ni ein hunain, ni a ymdeimlem yn ddifater ynghylch hwn eto; o leiaf nis gallai gynnyrchu yr un teimlad cryf o ofn na gobaith yn ein mynwesau ni. Fel hyn, ni a welwn, cyn y gall unrhyw beth fod yn effeithiol i gynneu ein gobaith, neu i gynhyrfu ein hofn, i raddau grymus, fod yn rhaid i'r ddwy briodoledd yma gydgyfarfod ynddo;—y mae yn rhaid iddo fod yn meddu rhyw bwys hanfodol ynddo ei hun, ac yn ychwanegol at hyny, y mae yn rhaid iddo fod yn dal rhyw gysylltiad agos â'n lles personol ni ein hunain.

Yn awr, y mae y ddwy briodoledd yma yn cydgyfarfod gyda grym a nerth dirfawr yn y gwrthddrychau sydd yn cael eu dadguddio i olwg y byd yn "efengyl y bendigedig Dduw." Fe ddywedir fod "bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni trwy yr efengyl." Yn y pethau mawrion y mae yr efengyl yn eu hagor o flaen llygaid meibion dynion, fe ddadguddir gwrthddrychau â mwy o fawredd a phwys yn perthyn iddynt na dim a adnabu y byd erioed o'r blaen, a phob un o'r rhai hyny hefyd yn dal y berthynas mwyaf agos a phwysig â phob un o honom ni yn bersonol. Y mae hi yn dadguddio i ni fel gwrthddrych mawr ein haddoliad, Dduw sydd yn anfeidrol mewn mawrhydi a gogoniant—cartref tragywyddol pob perffeithrwydd—ffynnonell wreiddiol pob bywyd a bod: Duw, sydd yn trigo mewn goleuni nas gellir dyfod ato—yn oruchel a dyrchafedig, ac yn preswylio tragywyddoldeb—hanfod ysbrydol, nas gwelodd neb ef erioed,

ac nas dichon i un dyn ei weled, a byw—yr hwn sydd yn taenu y nefoedd ac yn sathru ar donau y môr—yr hwn sydd yn gwneuthur Arcturus, Orion, a Phleiades, ac ystafelloedd y deheu—yr hwn sydd yn taenu y gogledd ar y gwagle, ac yn crogi y ddaear ar ddyddim—yr hwn a addurnodd y nefoedd â'i Ysbryd—yr hwn a'u gwnaeth trwy ei air, a'u holl luoedd trwy ysbryd ei enau—yr hwn sydd yn eistedd ar amgylchoedd y ddaear, a cher bron yr hwn nid yw ei holl drigolion hi ond fel locustiaid. Fe'n dysgir hefyd yn y Bibl ein bod ni yn sefyll yn y berthynas fwyaf pwysig â'r Bod goruchel hwn, nid yn unig fel ein Creawdwr, a'n Cynnaliwr, ond hefyd fel ein Deddfroddwr a'n Barnwr tragywyddol—ei fod wedi creu dyn yn greadur rhesymol a chyfrifol iddo ef—wedi ei gynnysgaethu â galluoedd i adnabod a mwynhau Duw dros byth—ei fod wedi rhoddi yn ei ddwylaw foddion gwybodaeth am Dduw, a'i fod wedi gwneuthur iddo ddadguddiad o'r ewyllys ddwyfol—nad yw dyn ar y ddaear yn byw ond mewn ystâd o brawf a pharotoad erbyn rhyw sefyllfa ddyeithr i ddyfod—nad yw ei yrfa ddaearol ond mabandod ei fod, dim ond toriad y wawr ar ddydd nad yw ei haul byth i fachlud. Y mae y llyfr dwyfol yma hefyd yn agor o'n blaen "y byd a ddaw," a'i holl sylweddau ofnadwy; fe'n dysgir fod gan y Brenin tragywyddol bethau wedi eu darparu yn y byd hwnw i bawb a'i carant yn y byd hwn, nas gwelodd llygad, ac na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dyn i feddwl am danynt—y cânt "deyrnasu" gydag ef "mewn bywyd," eu gwisgo â gwisgoedd gogoniant ac anfarwoldeb, a'i fwynhau ef byth mewn gwynfyd annhraethadwy. Ac hefyd, fe'n hysbysir yn yr un man, fod gan yr un Barnwr cyfiawn yn y byd hwnw le wedi ei barotoi i bawb sydd yn byw mewn pechod yn y byd hwn, ac yn anufuddhau i efengyl ei Fab,—lle o daledigaeth cyfiawn, lle y dyoddefir gwaeau annhraethadwy, rhy arswydus i fyfyrio am danynt, rhy fawr a dirgeledig i gael eu gwisgo yn iaith y ddaear, lle y bydd holl ddybenion bod yn cael eu troi o chwith, lle y bydd angerdd digofaint yr Hollalluog yn cael ei deimlo dros byth.

Fel hyn, y mae yr holl bethau sydd yn cael eu hagor o'n blaen yn y dadguddiad dwyfol yn cynnwys rhyw bwys a mawredd digyffelyb ynddynt eu hunain; tra y maent, ar yr un pryd, yn dal y berthynas fwyaf agos ac annattodol â phob un o honom ni yn bersonol. Y casgliad oddiwrth hyn i gyd ydyw, fod y gwirioneddau ag y mae yr efengyl yn eu dadguddio i olwg y byd, â thuedd o'r fath gryfaf ynddynt i gynnyrchu y teimladau mwyaf grymus o ofn a gobaith; a'u bod yn sicr o wneyd hyny y fynyd y credir hwynt—fod sylweddau y byd ysbrydol mor fawr ac mor agos atom fel nas gallant lai na thaflu eu cysgod o ofn a gobaith ar y ddaear. Pe taflem ein golwg am fynyd i "dywyll-leoedd y ddaear," y rhai sydd yn "llawn o drigfanau trawsder," ni gaem weled prawf o hyn. Y mae pethau mawrion crefydd, yn mhob oes o'r byd, ac ymhlith pob cenedl o ddynion, yn cynhyrfu ofn a gobaith y natur ddynol, hyd yn nod yn ngrym y gweddillion hyny o grefydd natur sydd wedi aros yn y gydwybod. Y mae hyd yn nod y "rhai sydd yn eistedd yn mro a chysgod angeu" paganiaeth ac eilun-addoliaeth, yn arwyddo fod yn eu mynwes hwy ryw sibrwd egwan am ryw ddrwg mawr yn aros dyn mewn byd i ddyfod, yn yr aberthau poenus sydd ganddynt i liniaru llid ac i ennill ffafr eu duwiau; ac y mae ynddynt ryw syniad hefyd, y bydd iddynt, "trwy barhau yn gwneuthur da, etifeddu anllygredigaeth" gyda'u duwiau yn y fuchedd dragywyddol.

Yn y gwledydd sydd wedi eu goleuo â goleuni yr efengyl, y mae y gobaith hwn am ddedwyddwch mewn byd i ddyfod yn rhywbeth mwy pendant yn ei nod; ond y mae lle i ofni nad yw gyda llawer yn ddim mwy cywir yn ei darddiad, na mwy cadarn yn ei sylfeini.

Y peth agosaf o bob peth ar y ddaear i fod wedi cyrhaedd ystad o wynfyd perffaith ydyw meddwl y dyn duwiol yn y mwynhad o Dduw. Y mae elfenau dedwyddwch perffaith yn ei natur ef. Ond y mae dyffryn bywyd iddo yntau yn "ddyffryn wylofain." Y mae yr anialwch maith, a'r Iorddonen ddofn, rhyngddo a hyfryd "wlad yr addewid," ac y mae y ffordd i'r "deyrnas" "trwy lawer o orthrymderau." Y mae y sefyllfa drancedig hon, ar lawer o gyfrifon, yn anffafriol i'r anian sanctaidd i weithredu. Er ei fod yn "ymhyfrydu yn nghyfraith Duw yn y dyn oddi mewn," eto, y mae yn cael "deddf arall yn ei aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl;" ac am hyn, fe'i ceir yn aml "yn ocheneidio yn llwythog, gan ddeisyfu cael ei arwisgo â'i dŷ sydd o'r nef:" ac ni fydd ei ddedwyddwch yntau yn gyflawn hyd nes y "llyncer yr hyn sydd farwol gan fywyd." Fel hyn, y mae *gobaith* yn dyfod i ddal lle mawr a phwysig ymhlith grasusau y cristion. Y mae y gras o obaith yn cario dylanwad grymus ar bob cam o'i bererindod ysbrydol, o'i ddychweliad at Dduw yn y byd hwn i'w ogoneddiad gydag ef yn y byd a ddaw. Y mae yn nghychwyn cyntaf ei yrfa, yn nghyfiawnhad ei berson, yn cael ei "adgenedlu i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw." Ymhellach eto, yn nygiad ymlaen y gwaith o sancteiddhad ei natur, y mae yn cael ei "iachau trwy obaith," y mae yn cael ei "buro trwy obaith;" y mae y gobaith o weled Iesu Grist fel y mae, a bod yn gyffelyb iddo, yn ei newid yn raddol i'w ddelw; oblegid, "Y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo Ef yn ei buro ei hun, megys y mae yntau yn bur." Hyd yn nod yn ngorthrymderau lliosog ei daith, y mae yn gallu bod yn llawen, a hyny am ei fod yn "gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." Yn y filwriaeth ysbrydol, nid yw "holl arfogaeth Duw," yr hon y mae i'w "chymeryd ato," ddim yn gyflawn, hyd nes y bydd iddo gymeryd, gyda "tharian y ffydd," "obaith iachawdwriaeth yn lle helm." Ac ar ol i ddyddiau ei filwriaeth gael eu rhifo—ar ol i'w yrfa gael ei rhedeg—pan y mae ar fin cael ei golli o'n golwg yn nhywyllwch angeu, yr olwg ddiweddaf oll a gawn ni arno ydyw yn gobeithio; canys "Y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw." Hyd yn nod yn y bedd, y mae "ei gnawd yn gorphwys mewn gobaith" am adgyfodiad gogoneddus i fuchedd dragywyddol. Ac yn y dydd mawr a ddaw, fe fydd i'w obaith gael ei goroni âg anrhydedd, oblegid fe ddaw ei Iachawdwr at ddrws y bedd i "alw" arno, ac fe fydd iddo yntau "ateb." Efe a "chwennycha waith ei ddwylaw." Yna bydd i'w "lygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, a'i farwol hwn wisgo anfarwoldeb;" fe gaiff "edrych ar wyneb Duw mewn cyfiawnder, a'i ddigoni, pan ddihuna, â'i ddelw ef."

Ond y mae o'r pwys mwyaf i ni gofio nad yw y ffrwythau gogoneddus hyn yn tyfu ar yr un gobaith ond gobaith yr efengyl—y gwir obaith—"y gobaith da trwy ras." Y mae yn un o'r ystyriaethau mwyaf galarus fod y fath beth a gau obaith, gobaith a gaiff byth ei gywilyddio, yn cael ei feithrin gan neb, a hyny mewn achos o'r fath bwys annhraethol a dedwyddwch tragywyddol creadur i fod byth; ac yn enwedig fod hyn yn cael ei wneyd mewn gwlad ag y mae goleuni gogoneddus yr efengyl wedi tywynu arni.

Ond er ei bod yn ystyriaeth alarus, y mae lle i ofni ei bod, mewn nifer mawr o amgylchiadau, yn wir. Fe allai nad oes yr un perygl ag y mae gwrandawyr yr efengyl, yn yr oes hon, yn fwy agored i syrthio iddo, na llochesu rhyw au obaith—meithrin ar hyd y blyneddau ryw wag hyder am fywyd tragywyddol, er esgeuluso yr unig ffordd a drefnodd Duw i bechadur ddyfod i afael â bywyd tragywyddol. Fe fyddai yn anhawdd cyfarfod â neb wedi arfer gwrandaw yr efengyl, pa mor ysgeler bynag ei bechodau, pa mor ddu bynag all y rhestr o anwireddau fod ag y mae efe yn gaethwas gwirfoddol iddynt, nad ydyw, er hyn i gyd, yn meithrin rhyw obaith o'i fewn, o ryw fath neu gilydd, ac ar ryw ammod neu gilydd, y bydd iddo ef etifeddu bywyd tragywyddol ar ol i'w yrfa ddaearol ddyfod i ben. O dan bob arswyd o ddigofaint Duw yn y byd a ddaw, a all weithiau saethu drwy gydwybod gwrandawr anghrediniol yr efengyl, o dan bob ofn a all weithiau frawychu ei feddwl, rhag y bydd iddo ef ei hun yn y diwedd syrthio yn un o wrthddrychau y digofaint hwnw, y mae o dan hyn oll ryw deimlad dirgelaidd yn llechu—rhyw syniad—rhyw obaith, y bydd iddo ef yn y diwedd, er byw mewn pechod hyd y diwedd, "ddianc rhag barn Duw!"

Y mae o'r pwys mwyaf i ni gael ein llwyr argyhoeddi fod pob gobaith o'r natur yma yn un twyllodrus—fod y dysgwyliad dirgelaidd yma am gael dianc rhag cyflog pechod, er byw yn ei wasanaeth, yn gyfeiliornad peryglus—fod y syniad dystaw yma am gael ysgoi "medi llygredigaeth" yn y byd a ddaw, er i ni fod yn "hau i'r cnawd" yn y byd hwn, yn wenwyn marwol. Rhyw ddiod-gwsg ydyw hon, os parheir i'w hyfed, a'n süa i gwsg marwolaeth dragywyddol—ni a gysgwn yn mreichiau y gobaith hwn gwsg yr ail farwolaeth.

A'n hamcan, bellach, o hyn i ddiwedd ein hysgrif, fydd ceisio darlunio rhai o nodweddiadau y gau obaith hwn, a dangos yn mha bethau y mae yn gwahaniaethu oddiwrth y gwir obaith—y "gobaith bywiol"—y "gobaith da trwy ras."

Y mae y gau obaith yn gwahaniaethu oddiwrth y gobaith da yn ei *darddiad*. Y mae gobaith yr efengyl yn tarddu o ffydd yr efengyl. Y mae yn cyfodi oddiar grediniaeth galonog o'r holl wirioneddau pwysig y mae yr efengyl yn eu dadguddio. Gras ysbrydol ydyw hwn sydd yn cael ei blanu yn yr enaid a adgenedlir ac a adnewyddir gan yr Ysbryd Glân, trwy yr hwn y mae yr enaid yn cael ei ddwyn i ddysgwyl am y bendithion anmhrisiadwy sydd yn gynnwysedig yn addewidion Duw yn ei air; a hyny yn tarddu oddiar grediniaeth ddiysgog yn nghadernid yr addewidion, ac yn ngwirionedd a ffyddlondeb y Duw a'u haddawodd.

Y mae dyn yn greadur sydd yn sefyll mewn perthynasau gwahanol ac amrywiol. Ond yn mhob perthynas y mae yn ei dal, yr ydym yn canfod rhyw ddarpariaeth gyfaddas yn ei natur, sydd yn ei alluogi i gyflawni dyledswyddau y berthynas hòno. Y mae ganddo rywbeth o'i fewn sydd yn ei gymhwyso i lenwi y gwahanol gylchoedd yn y rhai y mae yn troi, ac i gymdeithasu â'r gwahanol wrthddrychau sydd yn ei amgylchynu. Y mae yn dal perthynas â'r byd gweledig—â natur yn allanol; ac y mae darpariaeth yn ei natur sydd yn cyfarfod â holl anghenion y berthynas yma. Y mae wedi ei gynnysgaethu â synwyrau corfforol, trwy y rhai y mae yn alluog i gymdeithasu â'r byd sylweddol o'i amgylch. Y mae cerddoriaeth mewn natur, ac y mae ganddo yntau glust i'w chlywed; y mae mawredd

a phrydferthwch mewn natur, ac y mae ganddo yntau lygad i'w weled. Y mae yn dal perthynas hefyd â'r byd meddyliol, ac y mae ganddo yntau natur resymol;—yn ngrym ei reswm, y mae yn gallu cymdeithasu â'r byd yma eto. Y mae yn dal perthynas â'r byd moesol hefyd, ac yr ydym yn cael fod ganddo yntau natur foesol—y mae ganddo gydwybod; yn ngrym y gynneddf hon, y mae yn alluog i ffurfio barn ar ansawdd foesol ei weithredoedd ei hun, a gweithredoedd eraill a ddygir dan ei sylw. Ond y mae un berthynas eto ag y mae dyn yn ei dal, mwy ofnadwy a phwysig na'r un o'r rhai hyn, ac i'r hon y mae pob un o'r lleill i fod yn wasanaethgar. Y mae yn dal y berthynas agosaf â'r byd ysbrydol, a'i sylweddau diddarfod. Ond yn hon, y fwyaf pwysig o'i holl berthynasau, y mae dyn, trwy bechod, wedi ei amddifadu o'r ddarpariaeth gyfaddas oedd yn ei natur i gymdeithasu â gwrthddrychau y byd yma. Y mae dyn wedi colli y synwyr ysbrydol oedd yn ei alluogi i ganfod ac i adnabod gwrthddrychau y byd ysbrydol; y mae yn ddall i'w olygfeydd; y mae yn fyddar i'w sŵn; y mae ei holl obeithion, ei holl ofnau, holl ddymuniadau a dysgwyliadau ei enaid wedi eu cyfyngu y tufewn i gylch "y pethau a welir, y rhai sydd dros amser." Ond yn y cyfnewidiad mawr sydd yn cael ei effeithio ar natur ysbrydol dyn gan yr Ysbryd Glân, trwy yr efengyl, y mae y synwyr ysbrydol yma sydd wedi ei golli, yn cael ei adferu iddo. Y mae yn cael ei oleuo â goleuni dwyfol—â phelydr o oleuni o'r cysegr. Y mae yn dyfod i feddiant o lygad newydd, sydd yn gallu "dirnad y pethau sydd o Ysbryd Duw." Y mae yn awr yn deffro am y tro cyntaf o gwsg pechod, ac yn cael ei hun mewn byd o ryfeddodau.

Yn awr, y mae gobaith yr efengyl yn tyfu ar y gwreiddyn yma. Y mae yn tarddu o ffydd—o argyhoeddiad grymus yn y meddwl o wirionedd yr hyn sydd yn cael ei ddadguddio yn ngair Duw, am gyflwr colledig dyn, am drefn fawr iachawdwriaeth trwy Gyfryngwr, am y byd tragywyddol yn ei wae ac yn ei wynfyd. Fel hyn, yr ydym yn cael yn yr ysgrythyrau sanctaidd, fod gobaith yn cael ei osod allan fel un o ffrwythau ffydd. "Ffydd, gobaith, cariad." "Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio." "Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau drwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." Y mae yr heddwch, a'r gobaith, a'r gorfoledd, yn ganlyniadau y "cyfiawnhau trwy ffydd." Fe ddywedir hefyd ei fod yn cael ei gynnyrchu yn y galon gan Ysbryd Duw. "A Duw y gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd a thangnefedd gan gredu, fel y cynnyddoch mewn gobaith, trwy nerth yr Ysbryd Glân." Yma eto, y mae "cynnyddu mewn gobaith" yn cael ei osod allan fel canlyniad i gael eu "cyflawni o bob llawenydd a thangnefedd *gan gredu*." "Canys nyni yn yr Ysbryd Glân, trwy ffydd, ydym yn dysgwyl gobaith cyfiawnder." Y mae ffydd yn ymwneyd â gwirionedd yr addewid, a gobaith â chynnwys yr addewid. Y mae ffydd yn credu yn ngeirwiredd yr hwn a addawodd, ac y mae gobaith yn derbyn ac yn cofleidio y daioni a addawyd ganddo.

Yn awr, y mae y gau obaith yn hollol groes i hyn yn ei darddiad. Tra y mae y gwir obaith yn tarddu oddiar grediniaeth o dystiolaeth Duw, y mae y gau obaith yn tarddu oddiar anghrediniaeth o'r un dystiolaeth. Nis gall yr annuwiol obeithio am fywyd tragywyddol, tra y mae yn dal gafael

yn ei bechod, ac yn anufuddhau i'r efengyl, heb ei fod ar yr un pryd yn anghredu Duw. Pwy bynag sydd yn beiddio gobeithio am unrhyw beth ag y mae Duw yn ei air wedi tystiolaethu am dano ei fod yn anmhosibl, y mae yn rhaid iddo anghredu tystiolaeth y Duw hwnw. Pwy bynag sydd yn gobeithio, ar ol gwasanaethu pechod yn y byd hwn, gael dianc rhag marwolaeth yn y byd a ddaw, y mae yn rhaid fod hwnw yn anghredu yr Hwn a ddywedodd mai "cyflog pechod yw marwolaeth." Pwy bynag sydd yn dirgel obeithio y caiff efe yfed o bleserau pechod yn y byd hwn, a pheidio yfed o "gwpan gwin ei ddigofaint ef" yn y byd a ddaw, y mae yn rhaid fod hwnw yn anghredu yr Hwn a ddywedodd, pwy bynag a watwarir, na watwarir mo hono ef—mai "pa beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fed efe," ac y caiff pawb sydd yn y byd hwn yn "hau i'r cnawd," yn y byd a ddaw "o'r cnawd fedi llygredigaeth." Y mae yr annuwiol yn gobeithio, ar ol marw, gael "myned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas" sydd â'i heolydd yn aur pur; lle y mae afon â'i ffrydiau yn llawenydd yn dylifo drwyddi; lle y mae pren y bywyd yn blodeuo mewn gwyrddlesni anfarwol; lle y mae myrddiwn o angelion, ac ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd—y mae yr annuwiol yn gobeithio y caiff efe, ar ol marw, fyned i mewn i'r ddinas yma, er iddo fyw yn aflendid pechod; ond y mae yn anmhosibl iddo obeithio hyn, heb ei fod ar yr un pryd yn anghredu yr Hwn a ddywedodd mor bendant, "nad ä i mewn yno ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra na chelwydd; ond y rhai sydd wedi eu hysgrifenu yn llyfr bywyd yr Oen." Fel hyn, ni a welwn, tra y mae y gobaith da yn deilliaw o ffydd—o grediniaeth o dystiolaeth Duw yn ei air, fod yn rhaid i'r gau obaith, bob amser, gyfodi oddiar y diffyg o ffydd—oddiar anghrediniaeth o'r un dystiolaeth, neu yn hytrach, oddiar grediniaeth mewn hollol wrthwynebrwydd iddi.

Ymhellach, y mae gwahaniaeth pwysig rhwng y gwir a'r gau obaith yn eu *sylfeini*. Y mae gobaith yr efengyl wedi ei sylfaenu ar yr aberth hwnw y mae yr efengyl yn ei ddadguddio; y mae yn gorphwys yn unig ar haeddiant yr iawn hwnw, yn yr hwn y cafodd cyfiawnder ei foddloni, a'r ddeddf ei hanrhydeddu. Y mae perchenog y gobaith hwn wedi ei "gyd-gau" (neu yn ol y cyfieithiad Seisnig) wedi ei "gau i fyny i'r ffydd" y mae yr efengyl yn ei dadguddio. Y mae hwn wedi gweled ei hun yn bechadur colledig ac andwyol am byth, ar bob tir, ond yn unig ar y tir o "drugaredd Duw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Gwrthddrych mawr ei ffydd ef yw sylfaen fawr ei obaith hefyd. O herwydd hyn y gelwir ef yn "obaith da trwy ras." Gelwir ef hefyd yn "obaith yn Nghrist." "Os yn y byd hwn yn unig y gobeithiwn yn Nghrist, truanaf o'r holl ddynion ydym ni." "Paul, apostol Iesu Grist, yn ol gorchymyn Duw ein Hiachawdwr, a'r Arglwydd Iesu Grist, ein gobaith." "I'r rhai yr ewyllysiodd Duw hysbysu beth yw golud gogoniant y dirgelwch hwn ymhlith y cenedloedd, yr hwn yw Crist ynoch chwi, gobiath y gogoniant." Fe'i gelwir yn "ddysgwyl am drugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol." Ond, tra y mae gwirionedd yn un, y mae twyll yn amryw a gwahanol. Er mai "sylfaen arall" i obaith pechadur, "nis gall neb ei gosod, heblaw yr un a osodwyd, sef Iesu Grist;" eto, y mae y rhai sydd yn meithrin y gau obaith yma yn defnyddio sylfeini amrywiol a gwahanol i bwyso arnynt. Y mae rhai yn adeiladu eu gobaith am fywyd tragywyddol ar ryw syniad cymysglyd ac anghywir am drugaredd Duw. Y mae y rhai hyn yn tybied, rywfodd, er pob peth a ddywedir,

nas gall y Duw hwnw, am yr hwn y dywedir mai "Cariad" ydyw, eu trosglwyddo hwy yn y diwedd i golledigaeth dragywyddol, er iddynt fyw mewn pechod a gwrthod ei Fab: fel pe byddai trugaredd yn y natur ddwyfol, ar wahan i gyfiawnder; neu, fel pe byddai llais uwch trugaredd yn alluog i foddi am byth ofynion cyfiawnder; fel pe na bai priodoliaethau yr Anfeidrol yn ddim ond teganau i'w rhoddi yn nwylaw pechadur i chwareu â hwynt; fel pe bai colofnau ei orsedd Ef yn rhywbeth gwanach na chyfiawnder tragywyddol a barn digyfnewid. Y mae Duw, yn ddiau, yn drugarog, ac y mae y dadguddiad hwn o hono yn werth ein bywyd tragywyddol. Ond yn yr un dadguddiad, fe'n dysgir ei fod yn gyfiawn hefyd: mor wir a bod ei gyfiawnder yn gyfiawnder trugarog, y mae ei drugaredd yn drugaredd gyfiawn. Er ei fod ef er tragywyddoldeb, yn anfeidrol mewn daioni a chymwynasgarwch, eto, nis gallasai doethineb ddwyfol ei hunan weled yr un llwybr i'r môr mawr yma lifo at bechadur yn ei drueni, heb dori dros ofynion cyfiawnder, ond yn unig ar hyd cyfryngdod yr Arglwydd Iesu Grist. Yr un sydd yn dysgwyl am "drugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol," ydyw yr unig un na chaiff ei obaith ei gywilyddio. Y mae eraill yn adeiladu eu gobaith am fywyd tragywyddol ar haeddiant eu gweithredoedd da eu hunain. Y mae y rhai hyn am weithio allan gyfiawnder iddynt eu hunain: y maent am ddringo i'r bywyd ar hyd grisiau maith a blinderus y "cyfiawnder sydd o'r ddeddf;" ni fynant ymostwng i dderbyn y "cyfiawnder sydd o ffydd." Y mae y rhai hyn yn tybied, y bydd i unrhyw wnïadwaith o ufudd-dod a gynnygir ganddynt i gyfiawnder dwyfol fod yn dderbyniol; fel pe na baent wedi dyfod i'r byd o dan euogrwydd, ac yn ngafael llygredigaeth pechod, yn rhwym i ddyoddef ei gosb, a'u calonau yn aflan gan ei halogrwydd; fel pe byddai cyfraith Duw yn foddlawn ar rywbeth llai na pherffaith ufudd-dod; fel pe bai eu troseddiadau parhaus o ddeddf Duw, mewn meddwl, gair, a gweithred, i gyd yn cael eu cuddio yn nghysgod rhyw weithred dda achlysurol, tra y mae, hyd yn nod y weithred dda hono ei hunan, wedi y cwbl, yn amddifad o bob rhinwedd yn ngolwg y Deddf-roddwr mawr, trwy ei bod yn tarddu oddiar egwyddor ansanctaidd yn y galon; ac nid yw hyd yn nod gweithredoedd da y dyn yma yn effeithiol i ddim ond i chwyddo gofynion cyfiawnder yn ei erbyn. Ni a allwn ddyweyd yma eto, "Ein hesgyrn a wywasant, a'n gobaith a gollodd, torwyd ni ymaith o'n rhan ni." Yr ydym yma eto yn cael ein "cau i fyny" i ffydd yr efengyl, ac yn gorfod gwaeddi gyda'r apostol, "Yr wyf yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd; er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist. Ac y'm ceir ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd." Fel hyn, ni a welwn mai y "gobaith da" ydyw yr unig un sydd yn gorphwys ar sylfaen gadarn.

Y mae y gwahaniaeth mwyaf rhwng y gwir a'r gau obaith eto, gyda golwg ar eu gwahanol *wrthddrychau*. Y mae gobaith yr efengyl yn anadliad y bywyd ysbrydol sydd wedi ei blanu yn yr enaid marw mewn camweddau a phechodau, trwy adgenedliad ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân. Ac y mae ei wrthddrychau i gyd mewn cydgordiad â'r bywyd tufewnol yma o burdeb a sancteiddrwydd o'r hwn y mae yn tarddu. Y mae

archwaeth foesol y dyn duwiol wedi cael ei choethi a'i dyrchafu yn gymaint, fel ag y mae yn alluog i sugno y mwynhad puraf i'w enaid wrth fyfyrio ar bethau dwyfol. Y mae ei feddwl weithiau, wrth syllu ar "ogoniant Duw yn ngwyneb Iesu Grist," ac wrth ddal i fyny gymundeb ysbrydol a dirgeledig â'r gwrthddrych gogoneddus hwnw, "yr hwn, er nad yw yn ei weled y mae yn ei garu," yn cael ei lenwi â "llawenydd annhraethadwy a gogoneddus." Y mae efe wedi ei ddysgu, nid yn unig i ufuddhau i Dduw fel yr awdurdod benaf, ond hefyd i fwynhau Duw fel y daioni penaf. Ac o ganlyniad, y mae yn dyfod i edrych ar fwynhau Duw a gwisgo ei ddelw mewn sancteiddrwydd, fel nôd eithaf ei ddymuniadau, fel "camp uchel ei alwedigaeth." Am hyn y mae yn llafurio yn ddiwyd yn moddion gras ac ordinhadau yr efengyl—am gael adnabod ei Waredwr yn well, a'i debygoli iddo yn fwy. Yn awr, yr archwaeth ysbrydol yma at sancteiddrwydd, ac yn wir holl rasusau natur adgenedledig y Cristion, ydyw y pethau sydd yn ffurfio caritor gwrthddrychau ei obaith. Y mae yn caru Duw a'i ddelw, ac am hyny, y mae yn gobeithio ryw ddiwrnod gael "edrych yn ei wyneb mewn cyfiawnder, a'i ddigoni â'i ddelw ef." Y mae cariad Crist yn fflam angherddol wedi ei chynneu ar allor ei galon, ac am hyny, gwrthddrych mawr ei obaith ef ydyw cael "gweled Crist fel y mae, a bod yn gyffelyb iddo." Y mae wedi ei ddwyn trwy ras i gasau pechod, ac i garu sancteiddrwydd, ac am hyny, y mae ei obaith yn edrych ymlaen gydag awyddfryd at y dydd mawr hwnw, pan y bydd iachawdwriaeth Duw wedi gorphen ei waredu oddiwrth bechod, a'i holl effeithiau ar ei natur, a phan y caiff ei "gyflwyno yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw." Y mae holl wrthddrychau ei obaith yn cyfranogi o burdeb a sancteiddrwydd y "dduwiol anian" sydd wedi ei phlanu yn ei enaid gan Ysbryd Duw.

Y mae yn cael ei alw yn "obaith iachawdwriaeth," yn "obaith cyfiawnder," yn obaith gwynfydedig o ymddangosiad gogoniant y Duw mawr a'r Iachawdwr Iesu Grist," yn "obaith bywyd tragywyddol, yr hwn a addawodd y digelwyddog Dduw cyn dechreu y byd." Y mae yn cael ei alw yn "obaith gogoniant Duw." Nid yn unig gobaith am y gogoniant allanol hwnw a osodir gan Dduw fel gwobr ar ei holl blant yn y byd a ddaw; ond hefyd, gobaith am y gogoniant tufewnol hwnw, y gogoniant goruchel hwnw ag y mae efe ei hun yn ei feddu, gobaith am gyfranogi o'r gogoniant hwnw sydd yn gwneyd Duw ei hun yn ogoneddus—"gogoniant Duw," ei burdeb a'i sancteiddrwydd ef.

Ond y mae hon yn briodoledd sydd yn perthyn i wrthddrychau gobaith y credadyn ag y mae gwrthddrychau gobaith yr annuwiol yn berffaith ddyeithr iddi. Nid oes yma ddim ymestyniad at sancteiddrwydd yn ngobaith y rhagrithiwr, dim hiraeth am fwynhau Duw, dim "calon a chnawd yn gwaeddi am y Duw byw," dim enaid yn hiraethu ac yn sychedu am gael ei ddiodi âg "afon ei hyfrydwch ef;" nid oes yma ddim anian sanctaidd yn cwynfan ac yn trydar am ryw sefyllfa fwy ffafriol iddi weithredu na'r "byd drwg presennol." Y mae y dyn diadgenedledig wedi clywed am ryw uffern mewn byd i ddyfod i gosbi y drygionus, ac y mae yn gwybod nad oes yn y byd hwnw yr un lle arall ond y nefoedd; ac am hyny y mae yn gobeithio am y nefoedd hono, fel yr unig le iddo ysgoi yr uffern hono. Y mae ei obaith yn cyfranogi yn fwy o natur nacaol na chadarnhaol. Y mae ei obaith yn fwy i ysgoi trueni uffern nag i fwynhau gwynfyd y nef. Y mae yn gobeithio am y nefoedd, y mae yn wir, ond nid er ei mwyn ei hun;

oblegid nid yw pleserau y wlad hono at ei archwaeth; ond fel noddfa, a'r unig noddfa sydd yn y byd tragywyddol, yn yr hon y bydd yn ddiogel rhag digofaint Duw. Y mae ei obaith yn cyfodi oddiar egwyddorion isel a hunanol. Fel hyn yr ydym yn gweled fod gwahaniaeth dirfawr yn natur gwahanol wrthddrychau y gau-obaith a'r "gobaith da trwy ras."

Y mae y gwir a'r gau obaith yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth eu gilydd hefyd yn eu *heffeithiau*. Y mae gobaith yr efengyl yn cario dylanwad iachaol a phureiddiol ar yr enaid. "Trwy obaith ein iachawyd," medd yr apostol. Y mae yn cael ei alw yn "obaith bywiol;" y mae yn tarddu oddiar egwyddor o fywyd ysbrydol yn yr enaid, ac y mae yn ysgogi hefyd at sancteiddrwydd. Anadliadau, ocheneidiau, a hiraeth y creadur newydd yw y gobaith hwn; ac y mae yn cael yr effaith o sancteiddio yr enaid. Y mae hon yn ddeddf anghyfnewidiol yn y meddwl dynol, fod y gwrthddrychau hyny yn nghymdeithas y rhai y mae y meddwl yn trigo mewn myfyrdod, yn cael yr effaith o ffurfio eu llun a'u hargraff ar y meddwl, ac o'i newid yn raddol i'w delw. Y mae yr enaid yn ymdebygu i wrthddrychau ei fyfyrdod. Y mae y cristion, wrth edrych ddydd ar ol dydd ar "ogoniant yr Arglwydd" yn nrych yr efengyl, yn cael ei "newid i'r unrhyw ddelw"—hyny ydyw, i ddelw yr hyn yr edrychir arno. Nid oes dim yn gymhelliad mor nerthol i'r dyn duwiol i "buro ei hun, megys y mae yntau yn bur," na'r gobaith "pan ymddangoso efe, o fod yn gyffelyb iddo, a'i weled megys ag y mae."

Ond y mae dylanwad y gau obaith ar yr enaid yn hollol groes i hyn. Yn lle sancteiddio y galon, y mae hwn yn ei halogi hi. Yn lle cyffroi y pechadur o gwsg pechod, nid yw hwn ond diod wenwynig sydd yn trymhau ei gwsg, nes o'r diwedd, y bydd iddo gysgu cwsg marwolaeth, o'r hwn ni ddeffry byth. Yn lle gwneyd iddo adael ei bechod, nid yw hwn ond peri iddo ddal ei afael dŷnach dŷnach ynddo. Oblegid, pa beth a all fod yn gymhelliad cryfach i galon lygredig pechadur i fyw ymlaen mewn pechod, na'r gobaith yna sydd o'i fewn—y bydd iddo yn y diwedd, rywfodd neu gilydd, "ddianc rhag barn Duw"—a mwynhau tragywyddoldeb o ddedwyddwch yn wobr am fywyd o bechu? Yr ydym yn gweled, ynte, fod y ddau obaith yma yn hollol wahanol i'w gilydd yn eu heffeithiau. Y mae y naill yn cario dylanwad iachaol a sancteiddiol ar yr enaid, ac yn ei adferu i ddelw yr Hwn a'i gwnaeth ef, tra y mae y llall yn y modd mwyaf effeithiol yn cadw y pechadur yn ei bechod.

Yn olaf, y maent yn gwahaniaethu yn eu *diwedd*. O! y mae diwedd i fod i obaith pawb. Ni fydd neb yn gobeithio yn y byd tragywyddol. Na, rhywbeth cyfaddas i darth a niwl awyr ein byd ni ydyw gobaith; fe fydd y byd tragywyddol yn rhy sefydlog—fe fydd ei awyr yn rhy glir a theneu i obaith allu anadlu ynddi. Cysgod pethau mawrion y byd a ddaw ydyw ofn a gobaith; a phan ddel y sylwedd, fe ddiflana y cysgod. Fe fydd gobaith y duwiol a'r annuwiol hefyd, erbyn myned i'r byd hwnw, wedi darfod; ond fe fydd yr achosion o hyny yn wahanol iawn. Ni fydd dim gobeithio yn y nefoedd, am na fydd yno ddim gwrthddrych gobaith; ac ni fydd dim gobeithio yn uffern, am na fydd yno ddim sail gobaith. Fe fydd gobaith pawb yn y nef wedi ei golli mewn mwynhad; ac fe fydd gobaith pawb yn uffern wedi ei golli mewn siomedigaeth. Fe gleddir gobaith yr annuwiol yn mynwent fawr y byd tragywyddol, ac ni ddaw adgyfodiad iddo byth. Yr ydym wedi bod yn ceisio dilyn gobaith yr annuw-

iol, a dangos ei fod yn wahanol i obaith y cristion yn ei darddiad, yn ei sylfeini, yn ei wrthddrychau, ac yn ei effeithiau; ac yn awr, dyma ni wedi dyfod at ei ddiwedd. Gwahanol iawn ydyw eto yn ei ddiwedd. Fe gaiff un ei wobrwyo yn gyhoeddus gan y Barnwr cyfiawn, mewn cyfarfod mawr, na welodd y byd erioed ei fath; fe gaiff y llall, yn yr un cyfarfod, yn ngŵydd yr un dyrfa ddirfawr, a chan yr un Barnwr cyfiawn, ei dragywyddol gywilyddio. Fe fydd gobaith y duwiol yn byw yn angeu, tra y bydd eiddo yr annuwiol yn trengu hyd yn nod cyn i'r corff farw. Fe fydd holl ddysgwyliadau y naill yn cael eu hanrhydeddu mewn mwynhad, tra y bydd holl ddysgwyliadau y llall yn cael eu cywilyddio mewn siomedigaeth. Tra y dywedir am y cyfiawn, y bydd efe yn gobeithio pan fyddo yn marw, fe ddywedir am y drygionus, y bydd i'w obaith ef ddarfod am dano, y bydd iddo gael ei gywilyddio; ac am y rhagrithiwr, y derfydd am ei obaith yntau, ac y torir ef ymaith; ac fel tŷ y pryf copyn y bydd ei hyder ef: efe a bwysa ar ei dŷ, ond ni saif; efe a ymeifl ynddo, ond ni phery. Fe ddywedir am y rhagrithiwr, nad oes obaith iddo, er elwa o hono, pan dyno Duw ei enaid ef allan—y bydd ei ganwyll yn cael ei diffoddi yn y tywyllwch du—ac am na roddodd ogoniant i'r Arglwydd ei Dduw, y bydd iddo ef ddwyn tywyllwch arno, pan y bydd yn taro ei draed wrth y mynyddoedd tywyll, a thra y bydd efe yn dysgwyl am oleuni, y bydd iddo ei droi yn gysgod angeu a'i wneuthur yn dywyllwch! Gellir dyweyd am yr annuwiol a'i obaith, fel y dywedwyd am drigolion Asdod gynt:—"Brawychant a chywilyddiant o achos Ethiopia, eu gobaith hwynt, ac o achos yr Aipht, eu gogoniant hwy. A'r dydd hwnw y dywed preswylwyr yr ynys hon, Wele, fel hyn y mae ein gobaith ni, lle y ffoisom am gymhorth i'n gwared rhag brenin Assyria; a pha fodd y diangwn?"

Fel hyn, ni a welwn fod gobaith yr annuwiol yn bechadurus yn ei darddiad, yn gau yn ei sylfeini, yn isel yn ei wrthddrychau, yn ansanctaidd yn ei effeithiau, ac yn siomedig yn ei ddiwedd!

Gwareded yr Arglwydd ysgrifenydd a darllenwyr hyn o draethawd, rhag gobeithio dianc rhag ei farn ef, ond yn unig trwy ei drefn ef, fel na byddom o nifer y rhai y bydd "eu gobaith fel ymadawiad yr enaid." Gwneled ni oll yn gyfranogion o obaith gogoneddus yr efengyl; y gobaith hwnw ag y mae ffydd yr efengyl yn darddiad iddo, Crist yr efengyl yn sylfaen, iachawdwriaeth yr efengyl yn wrthddrych, sancteiddrwydd yr efengyl yn effaith, a llawn fwynhad o holl fendithion yr efengyl yn ddiwedd dedwydd iddo!

---

## DAMHEGION ESOP.

GAN NICANDER.

[PARHAD.]

### XVIII.

Y BUGAIL-FACHGEN A'R BLAIDD.

'Roedd bachgen o Fugail
Pur ddiriaid yn arail
Ei ddefaid yn ymyl y dreflan;
Fe waeddodd ryw ddiwrnod
I borthi ei 'smaldod,

A thuedd ystrywddrwg ei anian,
"Y Blaidd! y Blaidd!
"Mae 'n llarpio 'r praidd!"
Fe wnaeth y gèlach diffaith
Hyn yma fwy nag unwaith,
A phobol y pentref, heb ammau,
Yn rhedeg gan gario pastynau,
A phigffyrch, a choesau pladuriau,
A cheryg, o ddiffyg gwell arfau,
Yn wŷr ac yn llangciau, bob gradd,
I ymlid y Blaidd ac i'w ladd:
A'r gwragedd a'r plant yn ymguddio
Gan arswyd i'r Blaidd eu hysglyfio;
A'r hogyn, mewn gwawd ac ysgafnder,
Yn chwerthin, gan watwar eu pryder.
O'r diwedd, cyn pen hir,
Fe ddaeth y Blaidd yn wir,
Gan ruthro i'r ddïadell;
A'r Bugail, heb un ddichell
Na rhith yn awr, yn gwaeddi
Mewn ofn a dychryn difri'
Yn uchel ei ddolef
Ar bobol y pentref,
Fod y Blaidd mewn gwirionedd
Wedi dyfod o'r diwedd:
A hwythau 'n tybied, er ei fynych floedd,
Mai cellwair, fel y gwnaethai gynt, yr oedd:
Ac heb gymmeryd arnynt glywed mo'no,
Dilynai pawb y gorchwyl ag oedd gantho;
A'r Blaidd yn ddiwahardd yn para i larpio,
Ac yntau 'n para o nerth ei ben i floeddio.

Wrth wel'd y Blaidd yn lladd yr ŵyn a'r defaid,
Dywedai wrtho 'i hun y Bachgen diriaid,
"Ni choelir mo 'r celwyddog, hyn sy glir,
"Gan odid neb, er iddo ddweyd y gwir."

## XIX.

### YR IAR A'R GATH.

Fe glybu Cath cymmydog
Ryw dro fod Iar dylwythog
Ar ei nyth heb fod yn iach,
Gyd â'i saith o gywion bach.
Fe ddaeth i'w bryd y b'asai 'n burion gwaith
Gael bwytta 'n giniaw ddau neu dri o'r saith.
Ai blys oedd arni newid ei danteithion?
Neu oedd y llygod y pryd hyny 'n brinion?
Neu henaint, hwyrach, oedd yn lleddfu'r chwerwen,
A haws oedd dala cyw na dal llygoden?
Yn llednais araf deg aeth at yr Iar,
A'i geiriau 'n fwyn, a'i bron yn llawn o fâr.

"F'anwyl gymmydog, sut yr wyt ti bellach?
"A sut y mae dy gywion bach i gyd?
"Mi glywais ddoe dy fod di braidd yn afiach;
"Drwg gennyf fy mod heb dy weled c'yd.

"Beth allaf wneuthur erot, anwyl Iar,
"A pheth sydd arnat eisiau, dywed im';
"Mi fyddaf iti 'n gyfaill ac yn gâr,
"Ac ni's gadawaf arnat eisiau dim.

"A fynnit immi eiste' i fynu heno,
"I wylied rhag i ddim dy ddychryn di,
"I estyn rhywbeth itti, neu i 'mgomio ?
"'Rwy'n hollol i'th wasanaeth, coelia fi.

"'Rwy 'n ofni nad yw 'r bobol yma 'n tendio
"Llawn ddigon arnat, y beth druan gla';
"Ond pe bai'th ofal arnaf fi, 'rwyn coelio
"Y llwyr wellâi d' afiechyd toc y da."

Yna medd y Goppog wrthi,
A'i chywion yn ymwasgu dani,
"Yr wyf fi eisoes yn lled lew,
"Dïolch yn fawr i ti, Miss Mew;
"A chyntaf oll y llwyr wellâf o'm selni,
Po pellaf fyth oddiwrth fy nyth y byddi."

## XX.

### Y FRAN A'R PISER.

Gan syched poeth, ar drengu 'n lân
Yng ngwres yr haf ehedai Bran
Weithiau yma, weithiau draw,
Gan roi mynych grawc am wlaw.
Gwelai draw o entrych wybren,
Biser; 'hedai atto 'n llawen.

Ond erbyn dyfod atto,
Yr oedd y dwfr oedd ynddo
Mor isel fel na's galla'i i safn
Gyrhaeddyd dafn o hono.

Fel hyn mae 'r byd anhywaith
Yn siommi fyth ein gobaith ;
Yn lle rhoi 'r llwyddiant oedd gerllaw,
Gwnaeth i ni gwynaw ganwaith.

Ac felly hithau, druan !
Yn methu 'n glir yrŵan
A chyrraedd dim o'r dwfr, ei nod,
Oedd ar y gwaelod gwiwlan.

Ymdrechai dorri 'r llestryn,
A'i droi, â'i thraed a'i gilfyn,
Ond methu llwyddo ('roedd hi 'n ddig),
A'i thraed na'i phig na'i hedyn.

"Wel ! dyma ben am danaf !—
"Na, na ; nid anobeithiaf,
"Ond i gael profi 'r ddiod dda,
"Rhyw fesur a ddyfeisiaf.
"Arhoswch ! er fy mod yn awr mewn pall,
"Os nad wyf gryf, mi geisiaf fod yn gall."

Ac felly 'n siongc
O 'sbongc i 'sbongc
Casglodd â'i phig gerrigos bychain lawer,
A'u gollwng hwynt o un i un i'r Piser.
Fe godai 'r dwfr yn uwch trwy 'r ddyfais yma,
Ac yfai hithau 'n awr o hono 'i gwala.

A glywaist ti a gânt Edwen?
Os byr dy fraich, hir fo 'th ben.
Mam Dyfais yw Angen.

## XXI.

### YR IYRCHES UNLLYGEIDIOG.

'Roedd Iyrches unllygeidiog
Yn byw mewn porfa welltog
Ar fin y traeth;
A chan y credai 'n hollol
Na ddeuai dim niweidiol,
Na llew na saeth,
O'r *môr* i'w herbyn, hi ymddygai 'n gall,
Gan gadw 'n wastad atto 'r ystlys ddall;
A chadw 'r ochor arall, oedd yn gweled,
Bob amser tu ag at y *tir*, i wylied.

Ond mynych iawn y siommir ein callineb,
A'n gwaith cyfrwysaf oll yn troi 'n drychineb
A'r hyn a dybiem ni yn ddïogelwch,
Yn aml a dry 'n brif achos poen a thristwch.

Ryw foreu teg fe hwyliai cwch pysgotta
Yn agos i'r fan;
Gwelwyd yr Iyrches, rhwyfwyd atti 'n ara'
Yn nesnes i'r lan;
Ac yna un o'r dynion
A'i saethodd trwy ei chalon.
Hithau, wrth dynu 'r olaf ffun,
Fel hyn a gwynai wrthi ei hun:

"Ys truan o Iyrches wy 'n wir,
"Yn trengu gan archoll y saeth!
"Yr ergyd a'm lladd, nid o'r tir,
"O'r môr, lle nad ofnais, y daeth."

A glywaist ti a gânt Sallwg?
Poed gochelgraff fo 'th olwg:
O'r man na's tybit y daw 'r drwg.

## XXII.

### Y BOL A'R AELODAU.

1 Yn nechreu 'r hen amseroedd boreu gynt,
Pan oedd plant Adda 'n 'chydig bach o gyfrif,
A dyn ond newydd gychwyn ar ei hynt
O brofiad, oesoedd lawer cyn y Dylif,
Pan oedd hir-hoedlog einioes dynol hil,
Yn amser Jered neu Mahaleleel:

2 Digwyddai 'n raddol dyfu rhyw anghydfod
Rhwng rhanau goreu 'r dynol gorph a'u gilydd.
Dechreuai mewn rhyw sisial rhwng y Tafod
A'r Glust yn ddirgel, ond cynnyddai beunydd
Yn uwch a hyfach ac yn uwch a hyfach,
Nes troi 'n wrthryfel chwyrn a chyhoedd bellach.

Y mater ydoedd hyn: y prif Aelodau,
O wir eiddigedd, beient ar y Bòla;
Na chaent hwy fwyta dim na hwyr na borau,
Ac yntau 'n cael o bob rhyw fwyd ei wala:

Mai arnynt hwy 'roedd pwys a baich y llafur,
Er hyn i gyd, ac yntau fyth yn segur.

4 "Na, na; mae yn iawn i bawb gael chwareu teg;
"Ni bu'r fath beth a hyn o'r blaen erioed;
"Y diocca 'n cael y cwbwl!" medd y Geg.—
"'Rwy 'n union o'r un farn," medd Bawd y Troed.
"Ni phlygwn erddo mwyach," ebe'r Ddeulin;
"Na minnau 'n rhagor," medd y dig Benelin."

5 A'r Dwylaw, "Fe ŵyr pawb mai gweithio 'n gorau
"A chaib a rhaw dros amser hir a wnaethom,
"I gadw'r Glwth yn dordyn yn ei foethau;
"Caiff weled weithiau sut i 'mdaro hebom;
"Ni phorthwn mo'no; ni theilyngwn mwy
"Ddal iddo 'i gwppan, na dal iddo 'i lwy."

6 Ac ebe'r Traed, "Ni cherddwn ninnau chwaith
"I weini iddo nac i'w gario bellach;
"Crwydrasom erddo 'n galed flwyddi maith
"Heb dâl na dïolch: ni wnawn hyny mwyach."
"Ni lyngcaf," ebe'r Gwddf, "mo'i ymborth iddo."
Ac ebe'r Dannedd, "Ni chnown ninnau mo'no."

7 Ac yn eu cyngrair ffol dros dro parhasant,
Mewn penderfyniad i newynu 'r Bòl:
Ond cyn pen tri neu bedwar diwrnod gwelsant
Nad oedd eu grwgnach traws i gyd ond lòl:
Hwy ddeallasant fod newynu hwnw,
Yn ffordd i wneud i'r holl Aelodau farw.

8 Y Pen ddechreuai grymmu 'n brudd ei wep;
Y Traed a'r Breichiau aent yn llesg a gwan,
Siaradai 'r Tafod yntau 'n is ei glep;
A gwywai 'r Corph, a nychai bob yn rhan;
Ac erbyn hyn 'r oedd pawb yn amlwg weled
Na bu 'r gwrthryfel ddim i neb ond colled.

9 Ac ebe'r Tafod, "Wel! fy nghyd-aelodau,
"Rhaid addef ddarfod inni gyfeiliorni;
"Wrth gospi 'r Bòla, gan ei ddal mewn eisiau
"Nyni ein hunain oedd yn cael ein cospi.
"'Roedd yntau hefyd, fel mae 'r prawf yn arwydd,
"Yn gwneud ei ran, ei alwad, a'i ddyledswydd."

10 Ac felly daeth pob aelod ynfyd weithian
I'w bwyll yn ol, ac at ei waith prïodol;
Gan weithio nid yn unig drosto 'i hunan,
Ond dros ei gyd-aelodau 'n gyffredinol;
Gan adde' 'n awr o galon oll ynghŷd
Mai lles pob un yw lles y Corph i gyd.

# ATHRONIAETH Y MEDDWL, GAN DR. THOMAS BROWN.

MAE Scotland wedi bod er ys oesau yn enwog fel gwlad lle y megir athronyddion. Mae enwogrwydd ei meibion fel ysgrifenwyr ar athroniaeth y meddwl yn cyrhaedd i bob gwlad. Lliaws o lyfrau a ysgrifenwyd yn Scotland ar y pwnc yma ydynt wedi eu cyfieithu i ieithoedd y Cyfandir, ac wedi gwasanaethu i roddi cynhwrf i feddyliau Ffrainc a Germani. Tebyg mai Ysgotiad oedd Kant yn wreiddiol, ac mai gweithiau Hume a barasant iddo ysgrifenu y gwaith ardderchog hwnw a elwir "*Critic of Pure Reason.*" Ymddengys fod y meddwl Ysgotaidd, ar y cyfan, yn fwy addas at fyfyrio y pwnc yma na'r eiddo y rhan fwyaf o genedloedd eraill. Mae yr Ellmyn yn rhy awyddus am ddyweyd rhywbeth newydd, neu ddangos dysgeidiaeth anghyffredin, ac felly beichiant eu cyfundraethau â golygiadau gorwyllt, disail, a diddefnydd, neu ddyfyniadau dianghen o wahanol ieithoedd, ac awdwyr hen a diweddar. Mewn gair, dywedant bob peth a ellir ei ddyweyd ar y pwnc, ac nid ychydig o waith ar amserau yw cael gafael yn neddf cymdeithasiad meddyliau a'u harweiniodd i ddyweyd yr hyn a wnaethant ar lawer pwnc. Gallem nodi amryw o honynt ag ydynt yn eithriad i'r rheol hon, ond eto dyma y rheol gyffredin. Canlyniad naturiol y fath gyfansoddiad meddwl ydyw fod athronwyr yr Almaen, gan mwyaf, yn Feddylrithwyr (*Idealists*), neu Dduwollwyr (*Pantheists*), yn hytrach na Defnyddolwyr (*Materialists*), neu Anffyddwyr (*Sceptics*). Mae y Ffrancod eto fel pe byddent wedi penderfynu, bydded y pwnc mor ddyrys ag y byddo, y mynant ei osod allan mewn iaith ddestlus a hyawdl, ac y gwnant i'w darllenwyr eu deall hwy, gan nad pa un a fyddant hwy yn deall eu pwnc ai peidio. Ond am yr Ysgotiaid, maent yn bwyllog ac ystyriol, ac eto yn benderfynol. Unwaith y dechreuant ar orchwyl, mynant ei orphen. Tuedd gyffredin eu hathrawiaeth sydd ar Deimleddiaeth (*Sensationalism*), fel y gallasem ddysgwyl oddiwrth gyfansoddiad eu meddyliau yn gystal a'r dylanwadau allanol dan ba rai y ffurfiwyd ac y dygwyd ymlaen yr ysgol athronyddol Ysgotaidd. Ond y mae y wers a roddodd Berkeley a Hume iddynt wedi eu dysgu, trwy yru y gyfundraeth hono i'w heithafion, nid yn unig i'w chadw o fewn terfynau priodol, ond hefyd i chwilio am sylfeini dyfnach iddi yn y meddwl dynol na'r hyn a osodwyd i lawr gan Locke. Er fod yr athroniaeth Ysgotaidd wedi effeithio yn fawr ar yr un Germanaidd, ac er fod adnabyddiaeth o honi yn anhebgorol anghenrheidiol er deall athroniaeth Germani, nid yw yn anghenrheidiol bod yn gyfarwydd âg athroniaeth Germani er deall yr eiddo Scotland, oblegid ni effeithiodd y flaenaf fawr ar yr olaf hyd yn ddiweddar iawn. Er anghraifft, cawn Kant yn ysgrifenu yn erbyn Hume, er ys tua thriugain a deg o flyneddau yn ol, tra y mae Stewart, y dysgedicaf o holl athronwyr Scotland, er ys tua deng mlynedd ar hugain yn ol, yn cyfaddef ei fod yn anghyfarwydd âg athroniaeth Germani, oddigerth yr hyn oeddynt wedi ysgrifenu yn Lladin neu Ffrengig. Pa fodd bynag, y mae cyfarwydd-der âg athroniaeth Germani yn anghenrheidiol ar lawer ystyr yn yr oes bresennol;

oblegid er nad yw yr Ellmyn gystal er rhoddi darluniad o'r meddwl ei hun ag ydyw yr Ysgotiaid, y maent yn well i drin ei gysylltiadau a'i berthynasau. Rhoddwn rai rhesymau a brofant i'n meddwl ni y dylai y Cymry fyfyrio athroniaeth Germani.

1. Er nad yw cydnabyddiaeth âg athroniaeth Germani yn angenrheidiol er deall athroniaeth Scotland mor belled ag y mae yn myned, eto y mae yn angenrheidiol er canfod ei diffygion, a'n cynnorthwyo i ffurfio cyfundraeth mwy cywir. Nid oes dim sydd yn ein gofidio yn fwy na'r sylw gwasaidd, diog, a chelwyddog a glywir yn aml yn ngenau ein cydwladwyr i'r perwyl mai ofer yw dysgu ieithoedd y Cyfandir, yn gystal a'r eiddo Groeg a Rhufain, oblegid fod eu trysorau i'w cael yn yr iaith Seisnig, ac mai ofer yw i ni geisio gwella ar eiddo dynion dysgedig, a gweithiau ein blaenafiaid. Mae yn anhawdd ffurfio dywediad mor effeithiol er tawelu cydwybod y diog, a lladd aidd y diwyd. Mae y rhai a haerant bethau fel hyn braidd yn annheilwng o atebiad; ond dywedwn y byddent lawn mor agos i'r gwir, pe dywedent mai ofer i Gymro ddysgu yr iaith Seisnig oblegid fod pob peth sydd o werth ynddi wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg. Yr ydym yn dyweyd nid yn unig fod eisieu, ond hefyd y gellir gwella cyfieithiadau sydd yn cael eu gwneyd o lyfrau o ieithoedd estronol i'r iaith Seisnig; ac hefyd y mae eisieu, ac fe allai gwella, y cyfundraethau goreu ag sydd yn yr iaith Seisnig ar athroniaeth y meddwl.

2. Mae athroniaeth Germani yn fwy cydweddol â chyfansoddiad meddwl y Cymry na'r eiddo Scotland. Mae hyn yn amlwg *a priori* yn gystal ag *a posteriori;* hyny yw, mae mwy o duedd yn y Cymry i fyfyrio duwinyddiaeth na'r celfyddydau, fel rheol gyffredin; ac mae hyn yn ein harwain i gasglu, pe gosodid athroniaeth Germani a'r eiddo Scotland o'u blaen, mai y blaenaf a ddewisent gan mwyaf; ac nid hyn yn unig, ond y mae genym ffeithiau, er nad ydynt ond anaml. Pa le bynag mae y Cymry wedi dyfod o hyd i adnabyddiaeth â'r ddwy athroniaeth, maent gan mwyaf wedi cofleidio yr eiddo Germani; a lle nad ydynt wedi cael ond Stewart, Brown, a Payne, o'u blaen, y canlyniad yn gyffredin, a bron yn ddieithriad yw, nad yw athroniaeth yn cael fawr o'u sylw wedi gadael yr athrofa; tra mae y rhai a gawsant ryw ychydig gydnabyddiaeth â Kant, Fichte, a Schelling, yn parhaus sychedu am ragor. Os ydym yn camsynied yn hyn, byddai yn wir dda genym gael ein hargyhoeddi. A dymunem i'n holl ddarllenwyr gofio hefyd nad ydym yn edrych ar athroniaeth Germani fel yn berffaith mwy na'r eiddo Scotland, ond golygwn fod yn agos ddigon o ddefnyddiau yn y ddwy i wneyd cyfundraeth mor berffaith ag a fedr y meddwl dynol wneyd yn y byd yma.

3. Mae ysgrifenwyr yn ddiweddar, yn Lloegr yn enwedig, ac i raddau yn Scotland, wedi cymysgu athroniaeth Germani â'u holl ysgrifeniadau, fel mae yn anmhosibl eu deall yn iawn heb fod i raddau yn gyfarwydd â'r athroniaeth ar ba un y seiliant eu gosodiadau.[1] Heblaw hyn, mae llyfrau duwinyddol Germani, y rhai ydynt mor llawn o athroniaeth, yn cael eu cyfieithu wrth yr ugeiniau, ac yn cael eu defnyddio gan anffyddwyr fel yn cynnwys gosodiadau croes i olygiadau a gosodiadau uniawngred Lloegr. Gwell fyddai i dduwinyddion Cymru benderfynu dyfod yn gyfarwydd âg athroniaeth yr Allmaen, ac yna gallant sefyll yr anffyddwyr, y rhai nid

[1] Gwel weithiau Hare, French, Maurice, a Morrell.

ydynt yn y cyffredin yn bynod mewn dim ond anwybodaeth rhyfygus, a hyfdra digywilydd. Heblaw hyn, mae yn nuwinyddiaeth Germani lawer o berlau a thrysorau gwerthfawr, a meddyliaa na chymer neb yn chwith pe dywedem fod eisieu duwinyddiaeth Germani i wneyd yr un gwasanaeth i dduwinyddiaeth Lloegr ag a ddarfu i ni nodi fel gwaith athroniaeth Germani yn ei chysylltiad â'r eiddo Scotland. Er cysur i'r rhai hyny a ddychrynant gymaint rhag pob peth Germanaidd, dywedwn nad yw athroniaeth Germani, er ei holl sŵn, ond athroniaeth Cudworth, Clarke, a Henry Mero, wedi ei gwisgo mewn dillad eraill. A diau pe buasai olynwyr Locke wedi talu sylw priodol i ysgrifeniadau Platoniaid Caergrawnt, na buasem eto wedi clywed son am anffyddiaeth Hume yn Scotland, na "*Chritic*" Kant yn Germani. Pa fodd bynag, fel arall y bu, "Ein tadau a fwytasant rawnwin surion (*teimladdiaeth*), ac ar ddannedd y plant y mae y dincod" (ofn *meddyliaeth*).

Ofnwn ein hod yn treulio gormod o amser ffordd yma, yn ein hawydd i osod o flaen ein darllenwyr a'n cydwladwyr pa fodd y mae pethau yn bod. Mae cysylltiad agosach rhwng athroniaeth Scotland â'r eiddo Ffrainc nag sydd rhyngddi â'r eiddo Germani. Am flynyddau y bu athronwyr y ddwy wlad yn cydlafurio, nid oedd eu hysgrifeniadau ddim amgen nag efelychiad neu atebiad y naill i'r llall. Ond yn ddiweddar, pan y mae athronwyr Ffrainc wedi dilyn Cousin, i dalu sylw a chofleidio athroniaeth Germani, mae wedi cefnu i raddau ar Scotland. Credwn fod athroniaeth Ffrainc wedi benthyca mwy oddiwrth Scotland nag a fenthyciodd athroniaeth Scotland oddiwrth Ffrainc. Nid ydym yn tybied fod yr Ysgotiaid i'w canmawl am wneyd mor lleied o ddefnydd o weithiau eu cymydogion (ac y maent yn dechreu gweled hyny eu hunain yn bresennol), oblegid y mae digon o amser wedi ei dreulio ar y maes yma i wneuthur ymchwiliadau annibynol; a meddyliem fod yn llawn bryd bellach i athronwyr a duwinyddion chwilio am wirionedd yn fwy nag awyddu ymddangos yn ddarganfyddwyr gwreiddiol. Mae cael gafael ar y gwirionedd yn fwy pwysig nag anrhydedd cenedlaethol, ffiniau enwadol, ac uchafiaeth personol. Byddai yn dda bellach i ni ddechreu dilyn cynghor yr hen ficar yn "Nghanwyll y Cymry,"—"Derbyn berl o enau llyffant." Pe buasai pawb a broffesent barch i'r hen ficar wedi dilyn y cynhgor uchod oddiar y pryd ei traddodwyd hyd heddyw, buasai golwg arall ar y Cymry. Dylem gofio fod gwirionedd yr un mor werthfawr yn ysgrifeniadau Schleiermacher a'r eiddo Dr. Owen, neu Neander a'r eiddo Howe, ac y byddwn lawn mor gyfoethog o gael allan y gwirionedd a ddysgir gan Kant a'i olynwyr a'r eiddo Locke a'i olynwyr, neu Cousin a Jauffray a'r eiddo Stewart a Brown. Nid ydym am ddyweyd fod yr un faint o wirionedd yn y naill a'r llall, na bod y naill mor belled o'i le a'r llall o'r enwogion uchod. Heriwn neb i fod â mwy o barch i Howe, Edwards, ac Owen, nag a deimlwn ni; ond yr hyn yr ydym am ddyweyd yw, fod gwirionedd gwerth ei wybod yn ngweithiau eraill yn gystal a'r eiddynt hwy. Pa fodd bynag, ar ol rhagymadrodd llawer meithach nag a fwriadem wrth ddechreu, yr ydym yn galw i gof mai ar athroniaeth Scotland yn neillduol y bwriadem ymdrin, ac mai am berson neillduol yn yr ysgol Ysgotaidd y bwriadem siarad. Eithr credwn na bydd ein darllenwyr yn anfoddlawn i'r sylwadau blaenorol, yn gystal a sylwadau hanesyddol pellach a olygwn yn anghenrheidiol er arwain ein

darllenwyr i gysylltiad â gwrthddrych ein hysgrif mewn modd naturiol, a rhoddi iddynt bob cyfleusdra i farnu cywirdeb neu anghywirdeb ein gosodiadau mewn perthynas iddo ef a'i athroniaeth.

Ar ol i athronwyr am oesau dreulio eu nerth yn adeiladu ar sail dywodlyd Aristotle, neu yn hytrach ar gamesboniad o syniadau Aristotle, ffurfient gynllun ar greadigaeth yn eu meddyliau, ac yna siaradent y greadigaeth ddefnyddiol (*material universe*) i gydgordiad â'u syniadau blaenorol, heb byth feddwl am ofyn i natur ei hun "a oedd y pethau hyn felly;" o'r diwedd cyfododd Bacon, a dysgodd ddynion i chwilio natur drostynt eu hunain, a rhoddi chwareu teg i natur ateb drosti ei hun am dani ei hun. Rhoddodd ei gynllun fywyd newydd yn y gwyddorau, a chafodd dynion allan fod natur yn ddefnyddiol mewn cannoedd o ffyrdd nad oeddent hwy wedi meddwl. Yn mhen amser ar ol hyn yr oedd pump neu chwech o ddynion yn ymgyfarfod yn ystafell John Locke i ymddyddan â'u gilydd am bynciau athronyddol. Ar ryw dro cyfarfuant â chymaint o anhawsderau ag a arweiniasant Locke i feddwl eu bod wedi camsynied o'r dechreu. Daeth i'w feddwl ef mai y peth cyntaf a ddylasent wneyd oedd chwilio i'w galluoedd eu hunain, er mwyn cael gwybod a oeddynt yn abl i ymdrin â'r pwnc dan sylw a'r cyffelyb; â hyn cytunodd ei gyfeillion; ac erbyn y cyfarfod nesaf yr oedd Locke wedi tynu braslun o'i olygiadau ar alluoedd y meddwl. Dyma ddechreu y traethawd anfarwol o'i eiddo ar y "Deall Dynol." Bwriadai Locke ddilyn cynllun Bacon, ac yn hyn llwyddodd i raddau; ond ymadawodd ar y dechreu oddiwrth y cynllun hwnw. Dull Bacon oedd yn gyntaf sylwi ar ymddangosiadau natur, ac yna eu cymharu â'u gilydd, er mwyn cael allan eu deddfau cyffredinol. Pe buasai Locke yn dilyn Bacon, y peth cyntaf a wnaethai fuasai sylwi ar ymddangosiadau y deall fel ei dadguddir i ni gan ein hymwybyddiaeth (*consciousness*). Ac yna gallasai fyned ymlaen i'w cymharu, neu dynu oddiwrthynt y casgliadau fuasai yn ymddangos yn naturiol. Ond yn lle hyn, nid yw yn gwneyd dim sylw o ffeithiau; nid yw yn ceisio penderfynu rhifedi na hynodion ein meddylrithiau; ond y mae yn myned yn uniongyrchol i chwilio i'w gwraidd. Yn y fan yma rhoddodd y cam a'i gwnaeth yn dad teimleddiaeth yn Lloegr a Ffrainc. Dywedai nad oedd un meddylrith (*idea*) gwreiddiol yn y meddwl, ond fod y cyfan ag y mae dyn yn wybod yn dyfod iddo trwy y synwyrau; ac os cyfarfyddai â rhyw feddylrith nas gallai gael ei ddechreuad yn uniongyrchol yn y meddwl, priodolai darddiad uniongyrchol y cyfryw i'r hyn alwai adfyfyrdod, er yn codi yn anuniongyrchol o'r synwyrau. Nid yw yn perthyn i ni son am golliadau Locke, gan mai ein hamcan yw dilyn rhedfa yr athroniaeth deimleddol hyd Brown.

Y nesaf i Locke oedd David Hartley, yr hwn wedi ei ddwyn i fyny yn feddyg a droes at athroniaeth, a chyda bwriad i berffeithio cyfundraeth Locke, ymosododd ar y gorchwyl o chwilio pa fodd yr oedd meddylrithiau yn cael eu cynnyrchu yn y meddwl trwy y synwyrau, a dywedai fod teimleddau yn cael eu cynnyrchu trwy fath o symudiad yn y cyfansoddiad gewynawl. Aeth Hartley ymhellach esboniodd gymdeithasiad meddylrithiau fel y canlyn:—"Pan fyddo teimledd wedi ei phrofi lawer gwaith, mae y cynhwrf chwareuol o ba un y cyfyd yn dysgu, bob yn ychydig, i wneyd yr un peth eilwaith, pan na byddo gwrthddrych allanol yn bresennol. Yr ail weithion neu weddillion hyn o deimleddau ydynt feddylrithiau, y rhai, yn eu tro, a feddant allu i alw y naill y llall trwy gymhorth deddf.

cymdeithasiad rhyngddynt." Fel yna, gweithiodd Hartley ei gyfundraeth i'r fath eithafoedd, nes anghofio pob gallu gwreiddiol a feddai yr enaid, a phriodoli pob peth i deimleddiaeth, fel unig sail ein gwybodaeth. Yr enw nesaf ar ol hyn yw Dr. Priestley. O'i flaen ef, ffoai ysbrydiaeth fel niwl y boreu, ac ni welai mewn un man ddim ond defnydd. Ni chydnabyddai fodolaeth dim, oni ddeuai o fewn cylch prawf (*experience*), ac o ganlyniad, adeiladodd gyfundraeth o ddefnyddiaeth, yr hon a wadai fodolaeth ysbrydion yn hollol.

Yr ydym yn bresennol, o ran amser, wedi dyfod ymhellach ymlaen nag y dylasem; ein hamcan yw dilyn rhediad golygiadau, ac nid amser. Rhaid i ni, bellach, droi yn ol. Berkeley, yn canfod tuedd athroniaeth ei oes yn gymaint at atheistiaeth ddefnyddiol (*material atheism*), a benderfynodd roddi terfyn ar y dull hwnw o fyned ymlaen. Heb ammheu cywirdeb gosodiadau a golygiadau Locke ar y meddwl ei hun, meddyliodd fod y camsyniad yn gorwedd yn y man lle y croesai o'r byd meddyliol i'r byd defnyddiol. A'r camsyniad yma, yn ol ei dyb ef, oedd ein bod mewn rhyw ddull neu gilydd wedi ein twyllo i gredu fod ein meddylrithiau yn dynodi o anghenrheidrwydd fodolaeth allanol i'r hon y maent yn debyg, a thrwy yr hon y tarddant. Dywedai Berkeley, ar y llaw arall, mai meddylrithiau yw unig wrthddrychau gwirioneddol ein gwybodaeth:—na fedd dim ag a alwn ni yn ddefnydd fodolaeth ar wahan oddiwrth feddwl:—mewn gair, nad oes y fath beth a defnydd yn bodoli; neu o leiaf, na feddwn ni yr un prawf o'i fodolaeth. Ar hyn, daeth Hume ymlaen, ac addefodd gasgliadau Berkeley, a thrwy yr un dull o ymresymu, profodd nad oes y fath beth ag ysbryd ychwaith; neu o leiaf, nad oes genym fwy o hawl i gasglu bodolaeth sylwedd a alwn yn feddwl, nag sydd genym i gasglu bodolaeth defnydd.

Yr oedd athroniaeth, erbyn hyn, wedi ei gweithio i'r pen, a chyn y gellid myned gam ymlaen, yr oedd yn rhaid cael sylfeini newydd iddi yn y meddwl dynol. Dechreuodd Kant yn Germani, a Reid yn Scotland, tua yr un amser, ar y gorchwyl o ail chwilio am sylfaen safadwy yn y meddwl dynol, ar ba un i ailadeiladu athroniaeth, wedi ymosodiadau Hume arni. Ag ymchwiliadau a llwyddiant Reid yn unig mae a fynom ni yn bresennol. Yr oedd Reid, yn ei ddyddiau boreuaf, yn tueddu yn fawr at yr athrawiaeth arddangosiadol (*representative*), os nad at olygiadau Berkeley. Pa fodd bynag, pan ddarllenodd draethawd Hume ar y "Natur Ddynol," gwelodd y canlyniadau niweidiol i ba rai yr oedd y fath olygiadau yn arwain. Ac yn uniongyrchol, ymosododd ar y gorchwyl o ymofyn ynddo ei hun a oedd y fath olygiadau yn meddu sail dda. Cariodd ymlaen yr ymchwiliad am ddeugain mlynedd, ond methai a chael un prawf er cadarnhau y fath olygiadau ond haeriad athronwyr. O ganlyniad, ymosododd â'i holl egni i geisio cael allan y gwir ynghylch canfyddiad (*perception*). Hyn ydoedd amcan mawr ei athroniaeth ef, sef gwrthbrofi y dyb arddangosiadol, fel ei coleddid mewn rhyw ddull neu gilydd gan y rhan fwyaf o athronwyr o'i flaen ef. Cynnygiodd at hyn trwy brofi nad yw yn bosibl i ni ddilyn cywir weithrediad teimleddiaeth na chanfyddiad yn y meddwl dynol; fod cyfundraeth feddylrithol Aristotle, o ganlyniad, yn hollol ddisail; ac fod y gwahanol ddadblygiadau o honi gan Descartes, Locke, &c., heb un prawf sylfaenol. Ar y naill law y bodola y *meddwl*—y gweithredydd sydd yn canfod; ac ar y llaw arall y bodola y *gwrthddrych*—y peth a ganfyddir,

sydd hysbys i ni trwy yr un a'r unrhyw dystiolaeth, sef yr eiddo ymwybyddiaeth; ond y bodola unrhyw ddolen gydiol, neu arddangosiad, trwy yr hon y mae y ddau yn dal cymundeb, sydd olygiad nad oes genym unrhyw brawf o'i wirionedd oddiwrth dystiolaeth ymwybyddiaeth, nac un math arall o brawf. Gan hyny, yn lle cynnyg rhoddi cyfrif am ddylanwad cydwyol (*mutual*) meddwl a defnydd ar y naill y llall, cyfeiria ni at egwyddorion mewnol a dechreuol crediniaeth, y rhai nid yw yn bosibl eu gwadu heb fod mewn perygl o gael ein cyfrif yn anmhwyllus. Pan, er anghraifft, y canfyddom bren neu dŷ, meddwn, nid yn unig ar amgyffrediad syml o drigfa trwy gyfrwng teimleddiaeth a gynnyrchir, ond arweinir ni gan natur y meddwl i ffurfio barn am y gwrthddrych, megys fod gwrthddrych yn bodoli mewn gwirionedd, fod iddo ffurf neillduol, a'i fod o faintioli penodol, &c., barn, o anghenrheidrwydd, a gynnwysir yn, ac a unir â'r deimleddiaeth, a'r rhai, yn ol natur ein cyfansoddiad, nid yw yn bosibl i ni ymwrthod â hwy. Mae y barnau gwreiddiol ac anwrthwynebol hyn, medd Reid, yn rhan o drysorfa naturiol y deall; maent mor syml ac uniongyrchol a'n syniadau eu hunain, a chyda eu gilydd, yn gwneyd i fyny yr hyn a elwir *synwyr cyffredin dynolryw*. Oddiwrth hyn, gelwir athroniaeth Reid yn "athroniaeth synwyr cyffredin;" ymadrodd a esyd efe mewn gwrthgyferbyniad i wallgofrwydd naturiol ar un llaw, a gwallgofrwydd athronyddol ar y llaw arall, sef meddyliaeth bur. Er cymaint a wnaeth Reid yn y ffordd yma, nis gallwn edrych ar ei waith ond dechreuad ar adeilad mawr; ac nid rhyfedd iddo wneyd cyn lleied, pan feddyliom y fath benbleth oedd ar ei ffordd i ddechreu. Yr oedd lliaws o eiriau heb ystyr benodol iddynt, amryw ganlyniadau yn ymddangos mor naturiol (sef yr arferiad o fyfyrio meddwl wrth yr un deddfau ag y myfyrir natur, yn lle wrth ddeddfau meddwl), fel yr oedd braidd yn anmhosibl dyfod yn rhydd oddiwrth eu dylanwad i raddau digonol. Pan feddyliom hefyd pa mor gul oedd y llwybr a droediai, a'r perygl o wyro ar y naill law i dir defnyddiaeth, ac ar y llaw arall i dir meddyliaeth, yr ydym yn synu iddo wneyd cymaint. Pa fodd bynag, er cymaint a wnaeth, gadawodd y gwaith yn anmherffaith iawn; ac i'n tyb ni, methodd yn ei amcan mawr, sef gosod i lawr sylfaen ddiogel ar ba un i adeiladu tybiaeth am ganfyddiad tuhwnt i ammheuaeth o'i chywirdeb.

Addefa yr ammheuwr fod synwyr cyffredin, bob amser, yn sylfaenu ar y dybiaeth o fodolaeth wirioneddol gwrthddrychau allanol, a bod yn rhaid i ni oll weithredu ar y dybiaeth hòno; ond yr hyn a ammheua efe yw, fod hyny yn dybiaeth gywir, ac nid yw yn anghofio dywedyd fod barn gyffredin dynolryw ynghylch rhai pethau wedi ei brofi yn anghywir. I hyn, gall dysgybl Reid ateb, fod yr un awdurdod yn perthyn i dystiolaeth synwyr cyffredin am fodolaeth byd allanol ag sydd i'w briodoli i unrhyw dystiolaeth o eiddo y meddwl dynol, ac os gwadwn y casgliad hwnw, y gallwn wadu pob ffaith perthynol i'n hymwybyddiaeth ein hunain. Ond i hyn eto, mae yr anffyddiwr yn ateb, ei fod yn aros i'w brofi fod ein canfyddiad, gan nad pa mor eglur, a'n crediniaeth, gan nad pa mor gadarn y gallant fod o'n mewn, yn perthynu i unrhyw wrthddrych tuallan, ac ar wahan oddiwrthym ein hunain. Wrth ddyweyd mai gweithred o eiddo y meddwl yw canfyddiad, collodd Reid ei nerth i ateb yr wrthddadl yma. Oblegid os gall y meddwl, o'i ewyllys ei hun, ganfod unrhyw wrthddrych, nid oes dim yn wrthun mewn meddwl y gall gynnyrchu gwrthddrych o'i fewn ei

hun, heb bresennoldeb allanol, na bodolaeth y gwrthddrych. Er cwblhau yr hyn a ddechreuwyd gan Reid, rhaid i ni ddal mai teimlad o berthynas yw *canfyddiad.* Undeb y meddyliol (*subjective*) â'r gwrthddrychol (*objective*), yn codi o anghenrheidrwydd oddiwrth gyfansoddiad dyn, fel bod cyfansoddedig o gorff ac enaid. Gwel "*Morrell:*" cyf. i. *tudal.* 281.

Yr unig un o ddysgyblion Reid a ennillodd gymaint o enwogrwydd fel ag i deilyngu sylw yn y fan yma, oedd Dugald Stewart. Gwnaeth lawer iawn tuag at ddwyn athroniaeth yn boblogaidd, a gwellhaodd ei geirydd-iaeth i raddau helaeth; ond, oddigerth hyn, dilynodd Reid mor agos fel nas gwnaeth unrhyw ddarganfyddiad neillduol mewn meddyleg. Pa fodd bynag, cafodd yr anrhydedd o fod yn athraw i Thomas Brown, yr hwn a wnaeth fwy na neb yn Lloegr na Scotland er tynu sylw y werin at athroniaeth y meddwl. Ag ef y mae a fynom yn benaf yn yr ysgrif hon. Ond ar yr un pryd, barnem y sylwadau blaenorol yn anghenrheidiol er parotoi ein darllenwyr i ddeall ein sylwadau yn ol llaw. Er mwyn trefn, hysbyswn yn y fan yma, ein bod yn rhanu ein pwnc yn dri, sef;—1. Pa fodd y daeth Brown yn athronydd, neu hanes ei fywyd. 2. Ei athroniaeth. 3. Ei ragoriaethau a'i ddiffygion fel athronydd.

Dechreuwn gyda hanes ei fywyd, oblegid credwn fod yn anghenrheidiol, neu o leiaf yn fanteisiol, cael bod yn gyfarwydd â'r amryw ddylanwadau y bu y dyn danynt yn moreu ei oes, er iawn ddeall ei olygiadau mewn amser dyfodol. Thomas Brown ydoedd fab ieuangaf y Parch. Samuel Brown, gweinidog yn Scotland. Ganwyd ef Ionawr 9fed, 1778. Bu farw ei dad pan nad oedd efe ond blwydd a hanner oed; ac yn mhen tua blwyddyn wed'yn, symudodd ef a'i fam i Edinburgh. Yma y derbyniodd Brown elfenau ei ddysgeidiaeth. Dysgodd yr holl lythyrenau ar y wers gyntaf, ac yr oedd gyda phob gwers yn dangos yr un cyflymdra. Yr oedd yn hoff iawn o'r Bibl, ac yn fuan daeth yn gyfarwydd â'i holl ranau hanesyddol. Gofalodd ei fam am ei ddysgeidiaeth yn hollol nes oedd tua saith mlwydd oed, pryd y symudwyd ef i Lundain, dan ofal Cadben Smith, ei ewythr, brawd ei fam, yr hwn a'i rhoddodd mewn ysgol; ar y cyntaf yn Camberwell, o'r hon, yn mhen ychydig, y symudwyd ef i Chiswick, lle yr arosodd amryw flyneddau. Yma, rhoddodd brawf gyntaf o'i dalentau prydyddol. Gwedi i'r athraw roddi marwolaeth Charles y Cyntaf fel testun, cafodd ei foddloni mor fawr gan waith Brown, fel y tybiodd yn oreu ei argraffu mewn cyhoeddiad misol. Gan fod ei ewythr yn tybied fod gormod o ddysgu Groeg a Lladin yn Chiswick, penderfynodd ei symud i le arall. Yr oedd cariad yr ysgolëigion mor fawr ato, fel y gwnaethant bob ymdrech i'w gael yn ol, ond gwrthododd ei ewythr, a gosodwyd ef yn Bromley. Yr ysgol ddiweddaf y bu ynddi oedd Kensington, dan ofal Dr. Thomson, gyda yr hwn yr arosodd hyd farwolaeth ei ewythr, yn 1792; ychydig fisoedd gwed'yn, ymadawodd â Lloegr, ac aeth yn ol i dŷ ei fam, yn Edinburgh. Tra yr oedd yn yr ysgol, ffurfiodd amryw gyfeillachau a barasant hyd ddiwedd ei oes. Nid oes genym hanes neillduol am y cynnydd a wnaeth yn yr ysgolion a nodwyd, ond yr oedd yn dra chyfarwydd yn yr ieithoedd awdurol. Darllenai yn helaeth, ond yn annhrefnus. Gweithiau dychymygol oeddent yn rhoddi y difyrwch mwyaf iddo. Nid oedd yn bosibl iddo gael digon o lyfrau. Er nad oedd llyfrgell ei ewythr yn helaeth iawn, yr oedd ynddi gopi o Shakespeare, yr hwn a ddarllenai trwyddo bob tro y deuai yno ar y gŵyliau. Tra yn yr ysgol yn Lloegr,

yr oedd wedi prynu llawer o lyfrau ei hun, a chael llawer gan gyfeillion; ond collodd y cyfan, trwy i'r llong oedd yn eu cludo i Scotland suddo ar dywydd teg. Hawddach i'r rhai sydd yn gwybod beth yw cariad at lyfrau ddychymygu, nag i ni gynnyg darlunio, ei deimladau ar y pryd, yn wyneb yr amgylchiad. Wedi myned i'r brif-athrofa, yn Edinburgh, dechreuodd fyfyrio rhesymeg, dan Dr. Finlayson, serch yr hwn a ennillodd mewn modd neillduol. Rhoddodd gŵyliau hirion athrofeydd Scotland gyfle iddo dreulio rhan o haf 1793 yn Liverpool, lle daeth yn gyfarwydd â Dr. Currie, bywgraffydd Burns. Hyn fu yn achlysur i arwain ei feddwl at athroniaeth, trwy i Dr. Currie roddi rhan o weithiau Stewart ar "Elfenau Athroniaeth y Meddwl Dynol" yn ei law, gyda chymeradwyaeth gref i'w ddarllen. Hwyrach nad oedd hyn ond dygwyddiad; ond anhawdd meddwl, medd Dr. Welsh, nad oedd Currie wedi canfod, wrth ymddyddan â Brown, fod addasrwydd yn ei feddwl at athroniaeth; a chafodd achos yn fuan i weled ei fod yn barnu yn gywir, wrth glywed gwresogrwydd ei ganmoliaeth, yn gystal a manylder ei sylwadau beirniadol.

Y gauaf ar ol hyn, gwrandawodd ar ddarlithiau Stewart, a rhoddodd ddarluniad o'r hyfrydwch a deimlai y pryd hwnw yn y gân a gyfansoddodd i Stewart, pan yn danfon iddo ei sylwadau ar "Zoonomia" Darwin. Pa fodd bynag, ni ddarfu i ddoniau areithyddol Stewart ei ddallu rhag canfod ei golliadau, a bu yn hir ddysgwyl cyfle i siarad â'i athraw. O'r diwedd, ysgrifenodd rai nodiadau a rhoddodd hwynt i Stewart. Gwrandawodd yr athraw gydag astudrwydd ar resymau yr athronydd ieuanc, a dywedodd ei fod wedi derbyn sylwadau o'r un natur oddiwrth M. Prevost, o Geneva, mewn llythyr; gwahoddodd ef i'w dŷ, ond gwrthododd ddadleu ar y pwnc, eithr yr oedd ei garedigrwydd yn iawn am y siomedigaeth yma. Bu Mr. Brown, amryw flyneddau, yn mynychu y dosbarthau llenyddol yn Edinburgh; ac o gylch yr amser yma, yr oedd ganddo yn gyfeillion, Stewart, Robinson, Playfair, Black, Horner, Leyden, Reddie, ac Erskine, ynghyd â'r dedwyddwch o fyw mewn teulu a garai yn fawr, sef ei fam a'i chwiorydd, yn mha le y cyfarfyddai ei gyfeillion, gan nad oedd ef yn hoff o fyned oddicartref. Nid oedd un ran o lenyddiaeth nad oedd yn dyfod dan sylw o dro i dro yn y gymdeithas ddedwydd, a'r cwbl yn cael ei ddwyn ymlaen a'i benderfynu mewn ysbryd caredig. Tua'r amser yr oedd Brown yn y brif athrofa, yr oedd tybiaeth y dysgedig Dr. Darwin yn gwneyd cynhwrf mawr. Wrth ddarllen y "Zoonomia," ysgrifenodd Brown yn ol ei arfer, ar ymyl y ddalen, nodiadau o bethau teilwng o sylw; ysgrifenodd rai sylwadau gyda bwriad i'w danfon i ryw gyhoeddiad; ond fel yr oedd y defnyddiau yn amlhau, gwelodd nas gallai wneyd cyfiawnder â'r pwnc mewn cylch bychan. Trwy gyfarwyddyd Stewart, anfonodd yr ysgrif i Dr. Darwin cyn ei hargraffu, yr hyn a fu yn achos i lawer o amser fyned heibio, fel nad argraffwyd hi cyn 1798; gwnaed sylw o'r gwaith yn y "*Monthly Review*," y blaenaf y pryd hwnw, ac mewn amryw eraill; meddylient oll mai gwaith rhyw athronydd enwog ydoedd, a chanmolid ef fel y cyfryw. Canmolid Dr. Brown yn fwy fyth gan y rhai a wyddent pa mor ieuanc ydoedd. Siaradai Arglwydd Woodhouslee a Mr. Mackensie am y rhagymadrodd, fel y dernyn mwyaf athronyddol ac ardderchog a gyhoeddwyd er's blyneddau; canmolwyd y gwaith hefyd gan Dr. Gregory, Mr. Stewart, a chyfeillion eraill yn Edinburgh. Pan gofiwn fod y rhan fwyaf o'r gwaith hwn wedi ei ysgrifenu cyn bod yr awdwr yn

ugain oed, gellir edrych arno fel y rhyfeddaf o'i holl weithiau, yn enwedig pan feddyliem ei fod yn cynnwys elfenau y cyfan a ysgrifenodd yn ol llaw.

Yn y flwyddyn 1799, aeth Brown yn aelod o gymdeithas, lle yr oedd ganddo yn gyd-aelodau Henry Brougham, Erskine, Reddie, Rogerson, Birbeck, Logan, Leyden, Arglwydd Webb, Seymour, Parch. S. Smith, Horner, Jeffrey, Gillespie, ac amryw eraill. Mae y gymdeithas hòno yn hynod, nid yn unig ar gyfrif yr enwogrwydd rhyfeddol a gyrhaeddodd ei haelodau yn ol llaw, ond hefyd, o herwydd mai yno y dechreuodd yr "*Edinburgh Review*," cyhoeddiad ag sydd wedi gwneyd cyfnewidiad yn agwedd llenyddiaeth Seisnig. Yn 1796, dechreuodd Brown fyfyrio y gyfraith, ond rhoddodd i fyny yn mhen blwyddyn, a dechreuodd fyfyrio meddyginiaeth, yr hon a ddilynodd am rai blyneddau, nes cyrhaedd enwogrwydd mawr fel cymhar Dr. Gregory. Yr oedd Mr. Brown o hyd yn myfyrio llenyddiaeth gyffredinol; mor bell ag y caniatâai ei alwedigaeth. Dygwyddodd i dwrw mawr gyfodi yn Scotland trwy i Dr. Leslie roddi gormod o ganmoliaeth yn marn rhai i olygiadau Hume ar achos ac effaith. Pan oedd rhai ysgrifenwyr yn ceisio amddiffyn Leslie trwy esbonio ymaith yr hyn oedd yn groes i'r farn gyffredin, ac hyd yn nod Leslie ei hun braidd yn tynu yn ol y clod a roddasai i Hume, er nad oedd Brown yn adwaen Leslie ar y pryd, ymgymerodd â'r gorchwyl o brofi nad oedd athroniaeth Hume ar y pen yma mor niweidiol; er ei fod yn canfod camsyniadau yn ei farn, dangosodd nad oedd y canlyniadau hyny mewn un modd yn niweidiol, nac yn anghyson â chrediniaeth yn egwyddorion sylfaenol crefydd. Derbyniwyd y gwaith hwn drachefn gan y dysgedigion gyda chanmoliaeth anarferol. Daeth ail a thrydydd argraffiad o'r gwaith yma allan, dan yr enw "Ymholiad i berthynas Achos ac Effaith," yn 1808—9. Ar ol amryw gynnygiadau aneffeithiol gan ei gyfeillion i gael Brown yn athraw, cafodd wahoddiad i lanw le Dugald Stewart pan oedd ef yn afiach. Ennillodd gymaint o sylw yr ychydig droion y bu, fel y penderfynwyd ei gael yn broffeswr athroniaeth y meddwl, a llwyddwyd yn Mai, 1810. Yn y sefyllfa hono y traddododd y darlithiau ydynt wedi anfarwoli ei enw, ac at y rhai yr ydym am alw sylw ein darllenwyr. Am ragor o hanes Brown, gweler sylwadau Dr. Welsh yn nechreu y llyfr. Nid ar unwaith y daeth Brown i'r gader athronyddol, ond wedi ei chyrhaedd ymosododd â'i holl egni i'w llanw.

Dechreuwn ein sylwadau ar athroniaeth Brown, gyda dyweyd ein bod wedi cymeryd rhyddid i osod ei feddyliau yn ein geiriau ein hunain gan mwyaf, o herwydd ein bod ar un llaw yn awyddu rhoddi golwg gryno o'i athroniaeth i'n darllenwyr, ac yr ydym yn hyderu y gwnawn i rai na welsant Brown erioed, ac na fedrant ei ddarllen yn Seisneg, yn gyfarwydd â'i syniadau; ar y llaw arall chwennychwn fod yn fyr, ac o ganlyniad, nis gallwn gael lle i ddyfynu. Dechreua Brown ei ddarlithiau gyda rhanu ei destun i dri o benau, sef y meddwl yn ei natur a'i weithrediadau (anianaeth meddwl); dyn yn ei berthynas â'i gydgreaduriaid (moeseg); a dyn yn ei berthynas â Duw (anian-grefydd). Ar ol hyn, naturiol i ni ofyn pa les yw cydnabyddiaeth â'r wyddor yma? Mae Brown yn ateb mewn modd doniol iawn, ac yn dwyn ymlaen amryw resymau er profi ei bwnc, ac yn dangos fod anghen y wybodaeth yma ar ddynion wrth ymwneyd â phob cangen o wybodaeth. Pa fodd bynag, yn lle dilyn Brown ar y pen yna,

rhoddwn reswm Coleridge, gan ei fod yn fyr a tharawiadol,—"Fel y mae y pren ffrwythau yn fwy gwerthfawr nag un o'i ffrwythau, ac hyd yn nod ei holl ffrwythau yn yr un tymmor, felly y gwrthddrych mwyaf teilwng o'n myfyrdod yw y meddwl â pha un yr ydym yn myfyrio," "*Aids to Reflection:*" *Aphorism* 5. Dengys Brown nid yn unig fod y meddwl yn fwy teilwng o'n sylw am ei fod yn fwy gwerthfawr na dim arall, ond hefyd am fod ein golygiadau am bethau eraill yn ymddibynu ar ein golygiadau am y meddwl. Os na bydd genym gydnabyddiaeth i raddau â deddfau y meddwl, ofer dysgwyl y meddwn gydnabyddiaeth helaeth â deddfau natur. Os bydd ein golygiadau yn anghywir am ddeddfau meddwl, byddant felly hefyd am gyfansoddiad natur. Byddai yn dda i'r rhai hunangall hyny a chwarddant am ben athroniaeth y meddwl fel peth diwerth ddarllen ail ddarlith Brown ar y pwnc. Y mae deall ein meddwl ein hunain yn fantais fawr er ein dysgu pa fodd i ymddwyn tuag at eraill; ac y mae lliaws o alwedigaethau, megys areithyddiaeth, addysgiaeth, darluniadaeth, &c., y rhai y mae yn anmhosibl i ddyn fod yn llwyddiannus ynddynt heb ddeall deddfau y meddwl. Mae o bwys i ni gael gwybod y ffordd oreu i fyfyrio natur yn gyffredin, fel y gallem fyned yn yr un ffordd i fyfyrio y meddwl. Mae dau ddull trwy ba rai y gellir dyfod yn gyfarwydd â deddfau natur, sef, naill ai trwy chwilio allan ranau cyfansawdd y corff dan sylw, neu ynte chwilio allan ei ddylanwad ar eraill, a dylanwad eraill arno yntau.

Mae hyn yn ein harwain at *achos* ac *effaith*, yr hyn y mae Brown wedi ei drin gyda manylwch mewn llyfr neillduol ar y pwnc. Nid yw gallu ac achos ond dau air yn dynodi yr un peth, ac nid ydynt yn meddwl dim mwy na chyson ddilyniad yr un amgylchiadau cyffelyb. Mae yn anhawdd iawn arfer y geiriau hyn a'u cyffelyb, heb gael ein harwain i ddychymygu fod rhywbeth cuddiedig ynddynt, a'u bod yn dynodi mwy na chyson ddilyniad yr unrhyw amgylchiadau. Clyw y dyn sain telyn—gofyna beth yw yr achos—dywedir wrtho, mai cynhyrfiad y tannau sydd yn achosi y sain; ond fod achos arall, paham y mae efe yn ei glywed, sef ysgydwad yr awyr ac yna cyfansoddiad y glust, nes o'r diwedd, nad ydym yn gallu dilyn trosglwyddiad y swn trwy yr ymenydd i'r meddwl, ac o herwydd nad ydym yn gallu dilyn yr holl weithrediadau yr ydym yn agored i feddwl fod rhyw weithredydd cuddiedig oddiwrthym hefyd yn bodoli.[1]

Mae o bwys i ni yn ein hymchwiliadau beidio gadael i'n dychymygion ein harwain ymhellach nag y gallwn gael prawf teg o wirionedd y dyb a ffurfiwn. Er fod tân yn peri i bylor chwalu pan ddaw i gyffwrdd âg ef, eto, nid yw hyn yn profi y gwna tân effeithio yr un fath ar bob sylwedd ysgafn. Er anghraifft, pan syrthia tân ar eira, fe ddiffydd yn lle llosgi. Nid ydym yn gwybod dim am ddefnydd ynddo ei hun; yr oll a wyddom yw ei ymddangosiad (*phenomenon*); felly hefyd nid ydym yn gwybod dim am feddwl ond fel y mae y cof yn ein cynnorthwyo i gymharu ei wahanol symudiadau a gweithrediadau. Nid oes neb yn meddwl na ddylem fyfyrio natur o herwydd nad allwn ddyfod yn gyfarwydd â'r cyfan ynddi, nac ychwaith, yn tybied ein bod yn gweled ar un olwg y cyfan a ellir wybod am natur. Felly hefyd, nid gwaith ofer yw myfyrio gweithrediadau y meddwl, er nas gallwn ddyfod yn gyfarwydd â'i hanfod;

[1] Er mai ein gorchwyl yn bresennol yw gosod allan olygiadau Brown, nis gallwn lai na sylwi fod ei olygiadau ar achos ac effaith wedi gwneyd ei athroniaeth i gyd yn anghywir, ond bydd mwy ar hyn yn y diwedd.

ac ni ddylem feddwl ein bod yn deall y cyfan am enaid cyn dechreu myfyrio. Gwir fod y dyn mwyaf anwybodus yn canfod prydferthwch natur; ond nid yw yn teimlo yn agos gymaint o bleser oddiwrth yr olygfa a'r hwn sydd wedi myfyrio natur a meddwl yn eu perthynas â'r meddylrith o brydferthwch. Mae ein cydnabyddiaeth â natur yn ymddibynu ar ein synwyrau—pe bai genym ychwaneg o synwyrau nag sydd, byddai genym ychwaneg o gydnabyddiaeth â natur, ond nis gallem wybod y cyfan. Rhaid i ni i raddau ddyfod yn gyfarwydd â meddwl yr un fath ag yr ydym yn dyfod yn gyfarwydd â defnydd; sef trwy arddansoddiad (*analysis*) a chydansoddiad (*synthesis*). A'r pethau cyntaf sydd yn dyfod o flaen y meddwl wrth fyfyrio ei hun yw, ymwybyddiaeth (*consciousness*), a hunaniaeth (*identity*). Camsyniodd Reid wrth osod ymwybyddiaeth allan fel cynneddf meddwl, oblegid nid yw ymwybyddiaeth o deimlad ddim ond y teimlad ei hun, ac nid yw ymwybyddiaeth o gof ddim ond y cof ei hun. Rhaid i ni edrych ar ymwybyddiaeth fel y meddwl yn gweithredu y naill ffordd neu y llall, onide byddwn mewn perygl o feddwl fod genym ddwy gynneddf at yr un gwaith. Pwnc arall ydyw hunaniaeth, sef, pa fodd y gwyddom mai yr un ydym yn bresennol ag oeddym er's blwyddyn yn ol. Mae rhai wedi cynnyg profi hyn, trwy edrych a ydyw defnydd yr un peth yn ei ranau cyfansawdd, ac a ydyw yn effeithio yr un fath ar bethau eraill. Er anghraifft, pe caem ddarn o rywbeth tebyg i sugr gwyn, os na thoddai mewn dwfr brwd, byddai rhaid i ni gasglu mai nid sugr gwyn ydyw, gan nad pa mor debyg fyddo. Ond nis gwna hyn y tro er profi hunaniaeth y meddwl, oblegid cawn ddyn yn hollol gyfnewid yn ei olygiadau a'i deimladau oddiwrth y peth oedd gynt, fel nad yw ynddo ei hun, nac yn ei ddylanwad ar eraill, y peth oedd gynt, eto, yr ydym yn dyweyd mai yr un ydyw. Pa fodd ynte yr ydym yn profi ei hunaniaeth? Rhaid i ni fyned yn ol at brofion sylfaenol ein natur, y rhai a'n gorfodant i'w credu heb oddef i ni ymresymu yn eu cylch. Gwir fod perygl i ni gymeryd yn ganiataol fod mwy o bethau yn perthyn i'r dosbarth yma, nag sydd mewn gwirionedd. Dylem fod yn fanwl iawn cyn derbyn dim fel gwirionedd sylfaenol ein natur, yr hwn ni oddef i ni ymresymu na gwneyd ymchwiliad pellach yn ei gylch. Oblegid mae gymaint yn hawddach cymeryd pethau yn ganiataol, na chwilio i'w hansawdd a'u dosranu, yn enwedig yn nhiriogaeth y meddwl. Rhaid i'r anffyddiwr mwyaf gymeryd egwyddorion sylfaenol ein natur yn ganiataol, oblegid nid oes modd ymresymu hebddynt, mwy nag y gall dyn â throsol wthio corff trwm heb gael rhyw le i sefyll ei hun arno.

Cyn y gallwn gymeryd unrhyw wirionedd fel egwyddor sylfaenol, rhaid ei fod yn meddu ar dri pheth; sef, bod yn gyffredinol, uniongyrchol, ac anwrthwynebol. Mae y tri pheth hyn yn amlygu y grediniaeth sydd genym am hunaniaeth meddwl. Mae mor gyffredinol fel mae hyd yn nod y gwallgofddyn, a dybiai ddoe ei fod yn teyrnasu yn y lleuad, yn credu mai yr un ydyw ag oedd ddoe yn frenin y lloer. Mae mor uniongyrchol fel nad oes yn bosibl i ni feddwl am unrhyw amgylchiad heb ar yr un pryd deimlo mai yr un personau ydym yn awr ag oeddem y pryd hwnw; ac mor anwrthwynebol fel y byddai ei ammheu, pe byddai yn bosibl, yn peri i ni gredu mai ein meddwl, yr hwn sydd yn ammheu, yw y meddwl sydd yn myfyrio y pwnc. Nid yw fod meddwl yn meddu gwahanol deimladau yn rhwystr i ni gredu mai yr un ydyw, mwy nag y gwna gweled corff yn

bodoli mewn gwahanol sefyllfaoedd ein rhwystro i gredu mai yr un corff ydyw. Seiliodd Locke hunaniaeth bersonol ar ymwybyddiaeth yn unig, fel yr oedd yn gorfod cyfaddef nad oedd person yr un ymhellach nag yr oedd yn cofio. Arweiniwyd ef i'r camsyniad yma trwy gyfyngu y gair person i gylch ymwybyddiaeth, yn lle ei gymeryd yn ei ystyr gyffredin. Ar ol edrych ar y meddwl yn gyfan fel yma mewn dull helaeth yn y ddau olygiad o ymwybyddiaeth ac hunaniaeth, ä Brown ymlaen i edrych ar y meddwl yn ei wahanol ranau. Nid yw yn foddlawn rhanu y meddwl i'r deall a'r ewyllys, oblegid fod amryw ymddangosiadau nas gellir dyweyd i ba un y perthynant, ac ar yr un tir gwrthyd y rhaniad i alluoedd deallawl a galluoedd gweithgar. Mae yn amlwg i bawb fod ein teimladau meddyliol yn codi o ddau le, sef o'u cysylltiad â gwrthddrychau allanol, a gallu yr enaid i feddwl am bethau yn eu dilyniad naturiol. Er anghraifft, yr ydym yn edrych tua rhyw fan ac yn canfod derwen, ond nid yw y meddwl yn aros gyda yr un gwrthddrych allanol hwnw yn unig. Teimlwn duedd i ymholi i oed y dderwen; y pethau a ddygwyddasant yn ei thymmor, &c. O ganlyniad, gellir rhanu gweithrediadau y meddwl i ddau ddosbarth, sef yr allanol a'r mewnol. Rhenir y galluoedd mewnol drachefn i ddau ddosbarth, sef y galluoedd deallawl, ac ymdeimladau (*emotions*), y rhai drachefn a ddosrenir wrth fyned ymlaen. Tybia Brown fod ymdeimladau yn well na galluoedd gweithgar, o herwydd fod amryw alluoedd eraill os nad yr oll o alluoedd yr enaid yn weithgar. O ganlyniad, anmhriodol yw galw rhai o'r galluoedd yn weithgar, gan nad yw y lleill yn segur. Mae dosbarth y galluoedd allanol yn bur hawdd ei drafod; ond y mae dosbarth y galluoedd mewnol yn fwy anhawdd, oblegid fod y dosranau yn myned yn lliosog iawn—amryw o'r ymddangosiadau yn debyg iawn i'w gilydd, er yn wahanol, ac yn gofyn sylw neillduol.

Dechreuwn yn bresennol gyda gweithrediadau allanol y meddwl. Dosberthir y rhai'n yn gyffredin i bum dosbarth, yn ol pum synwyr y corff. Er nad yw hyn yn hollol gywir, y mae y cywiraf ag mae athronwyr wedi cael allan hyd eto; ac o ganlyniad, rhaid i ninnau ei ddilyn hyd nes y caffom ei well, o'r hyn nid oes un tebygolrwydd yn fuan. Wrth fyned ymlaen, mae o bwys i ni ystyried perthynas neu swydd y corff yn nghynnyrchiad ein teimleddau (*sensations*). Mae genym le cryf i gredu mai yr ymenydd yw trigle yr enaid; ond eto, nid oes genym ond ychydig neu ddim gwybodaeth pa fodd y mae teimleddau yn cael eu cynnyrchu yn yr enaid trwy gyfrwng yr ymenydd, a dichon mai y wybodaeth fwyaf a allwn gael ar y pwnc yma ydyw gwybod pa mor anwybodus ydym.

Awn ymlaen i sylwi ar y galluoedd mewn modd neillduol. Y cyntaf a ddaw dan sylw yw arogliad. Mae y synwyr yma yn fwy syml ei gyfansoddiad a chyfyng ei weithrediadau nag un o'r lleill; mae yn gyfyngedig i'r ffroenau. Pe na buasai genym un synwyr arall, ni roddasai hwn ddim gwybodaeth i ni ond yn unig am y fath deimledd yn bodoli; ond yn ei gysylltiad â'r synwyrau eraill, mae y meddwl yn cael ei arwain oddiwrth y teimledd o arogliad i gredu ei fod yn codi oddiwrth y rhosyn neu rywbeth arall. Yn nesaf daw yr archwaeth; mae y deimledd hon i raddau yn ymgymysgu â'r teimlad, ond eto mae digon o wahaniaeth rhyngddynt. Tebyg na buasai hon ychwaith wrthi ei hun yn ein hysbysu am fodolaeth byd allanol; ond gan ein bod yn hysbys o hyn yn barod, yr ydym yn priodoli y deimledd i ryw wrthddrychau â pha rai yr ydym yn dyfod i gyffyrddiad.

Fel y mae yr arogliad yn gwneyd y blodau prydferthaf yn fwy gwerthfawr i ni, felly mae archwaethiad, trwy alw y teulu yn aml at yr un bwrdd, yn un o'r pethau cadarnaf fel rhwymyn cymdeithas, ac y mae hefyd ynghyd â'r arogliad yn gymhorth mawr i ni ddewis y bwydydd goreu i'n cyfansoddiad; ond yn hyn maent yn gwasanaethu yr anifel yn llawer mwy na dyn. Mae y clyw yn bwysig iawn i ddyn fel cyfrwng iaith, oblegid mae dyn yn mhob sefyllfa yn rhwymedig i iaith am ei gysuron penaf yn y bywyd hwn. Gellir dyweyd fod iaith yn uno y teulu dynol â'u gilydd fel un rhwydwaith mawr, trwy drosglwyddo meddyliau y naill oes i'r llall; a diau pe byddai ein sefyllfa yn ddigon cyfleus, a'n galluoedd yn ddigon cryfion, mai y pwnc mwyaf difyr o bob peth i'w fyfyrio fyddai dylanwad iaith fel cludydd meddyliau o'r naill ddyn ac o'r naill oes i'r llall. Mae y clyw hefyd yn ddefnyddiol fel y cyfrwng trwy ba un yr ydym yn mwynhau pleserau cerddoriaeth. Mae rhai clustiau nas gallant wahaniaethu seiniau cerddorol; mae yr achos o hyn yn anhawdd, os nad yn anmhosibl ei esbonio; ond amlwg yw fod ymarferiad a sylw yn gwella y glust ar y pen yma. Yr ydym wedi sylwi ar y synwyrau mwyaf syml; mae y ddau nesaf yn fwy dyrys a helaeth, sef y teimlad a'r gweledіad. Mae teimlad neu gyffyrddiad wedi bod yn ddefnydd cynhen rhwng athronwyr am amser. Tybid yn gyffredin mai trwy y teimlad yr ydym yn benaf yn dyfod i adnabyddiaeth â natur. Ond dywed Brown mai trwy gyfrwng y cyhyrau (*muscles* y cymer hyn le. Geilw ef y rhai hyn yn synwyr arall, ond nid yw yn rhoddi enw priodol iddo. Tebyg fod Condillac, ac eraill o athronwyr Ffrainc, o'r un farn, er nad yw athronwyr yn gyffredin eto yn son am chwe' synwyr. Amser sydd yn rhoddi i ni feddylrith am fyd, ac nid byd sydd yn rhoddi meddylrith am amser. Mae hyn yn amlwg oddiwrth y modd graddol y mae y plentyn yn symud ei law ar y cyntaf, fel pe byddai yn mesur y pellder wrth yr amser. Teimlad ydyw y synwyr cyntaf sydd yn dyfod i weithrediad, er nad yw yn briodol sylwi arno yn gyntaf.

Wrth geisio gwadu bodolaeth defnydd, gwnaeth Berkeley un camsyniad, sef meddwl fod meddylrithiau yn sylweddau yn bodoli yn annibynol ar feddyliau, ac nid y meddyliau yn bodoli mewn rhyw sefyllfa neillduol. Amcanodd Dr. Reid wrthbrofi y gyfundrefn feddylrithol, trwy ranu priodoleddau defnydd i hanfodol a pherthynasol; ac yna, dyweyd ein bod yn canfod priodoleddau hanfodol defnydd mewn modd uniongyrchol, a phriodoleddau perthynasol defnydd mewn modd cyfryngol. Gwahaniaethodd hefyd rhwng teimledd a chanfyddiad. Ond er ei fod ef ei hun, a'i ganlynwyr, wedi gosod allan ei fod wedi gwneyd lles mawr i athroniaeth, trwy ei rhyddhau oddiwrth gamsyniadau pwysig, ymddengys i ni, medd Brown, wedi y cyfan, na wnaeth Reid ond gwrthbrofi peth nad oedd neb yn ei gredu; ac mae yn teilyngu ei feio am gamsynied barnau eraill, yn hytrach na'i ganmawl am eu cywiro. Dywed Reid, mai tri pheth sydd yn ei gyfundrefn ef o ganfyddiad, sef meddwl, defnydd, a dylanwad y naill ar y llall; ond fod athronwyr eraill wedi ychwanegu pedwerydd, sef meddylrith, neu ddelw y gwrthddrych allanol yn y meddwl. Ond nid oedd nemawr athronydd, oddigerth Berkeley a Malebranche, wedi dal y golygiad hwnw ar ol amser Descartes, oblegid maent oll yn dyweyd fod meddylrith, fel eu harferent, yn gymhwys yr un ystyr a chanfyddiad. Ond, a chaniatau fod Reid wedi gwrthbrofi bodolaeth annibynol meddylrithiau, yr hyn nid oedd neb yn gredu, nid ymddengys i ni ei fod wedi ennill dim

nerth er gwrthwynebu yr anffyddiwr, oblegid cydgyferfydd Hume ac yntau yn yr un man, a chytunant na ellir profi na gwadu bodolaeth defnydd trwy ymresymiad teg. Mae gwelediad yn dyfod yn nesaf o'n blaen. Mae amrywiol bethau wedi eu dyweyd yn barod, ag a fuasent yn taraw i gael eu dyweyd yma. Y fath ydyw y cysylltiad sydd rhwng y synwyrau, yn gystal a'r gwyddorau â'u gilydd, fel y mae yn ofynol deall y naill er cyflawn ddeall y llall. Mae yn amlwg mai dysgu gweled yr ydym: nid yw y llygad ar unwaith yn rhoddi i ni ddrychfeddwl am bellder, maint, &c. Rhaid cael cymhorth y synwyrau eraill, yn gystal ag amser, at hyn.

Rhaid i ni yn bresennol sylwi ychydig ar hanes barnau athronyddol ynghylch canfyddiad. Dywedai Aristotle, ein bod yn canfod trwy gyfrwng meddylrithiau o bethau allanol wedi eu ffurfio yn y meddwl. Dywedai dilynwyr Descartes, mai canfod yr ydym trwy fod pethau allanol yn gwasanaethu fel achlysur, ar bob adeg, i Dduw gynnyrchu yn y meddwl yr hyn a alwn yn ganfyddiad. Ond dywed Malebranche, mai canfod yr ydym feddylrithiau fel yr hanfodant yn y meddwl dwyfol. Dywed Leibnitz, yr hanfoda rhwng corff ac enaid y fath gydgordiad, fel y mae pob un o honynt yn gwneyd ei waith yn hollol annibynol ar y llall, a buasent yn gwneyd yr un fath pe buasai y naill yn absennol oddiwrth y llall. Er anghraifft, buasai corff Leibnitz yn ysgrifenu ei holl lyfrau, pe buasai ei feddwl mewn rhyw le arall. Ond, medd Berkeley, nid yw hyn i gyd ond twyll, oblegid gwelir pethau, nid am y bodolant, ond bodolant am y gwelir hwynt. Y casgliad mwyaf naturiol oddiwrth hyn i gyd, yw, fod llawer iawn o athronyddu, heb ond ychydig athroniaeth. Mae yn anhawdd rhoddi darluniad o'r dull yr ydym yn dyfod o hyd i'n hadnabyddiaeth o olygfeydd natur, ond y mae yn amlwg mai nid ar unwaith y mae hyn yn cymeryd lle, ond yn raddol. Pe byddem, er anghraifft, mewn ystafell mewn gwlad ddyeithr, ac yn y boreu i ffenestri yr ystafell gael eu hagoryd, nes y byddem yn cael golwg gyflawn ar y wlad o'n hamgylch, ac yna eu cau drachefn yn uniongyrchol, er y byddem wedi gweled yr holl wlad, eto, nis gallem roddi darluniad o honi mewn modd yn y byd. Ond ar ol i ni gael sylwi arni, a chymharu pethau â phethau, byddem yn alluog i roddi darluniad o honi. Tebyg fod y gweithrediadau meddyliol a gymerant le ar y pryd, yn rhywbeth fel y canlyn. Sylwn ar un gwrthddrych yn nghanol yr olygfa, cymharwn eraill âg ef, nes yn y diwedd, teimlwn yr holl olygfa fel yn bodoli yn y meddwl, er mai yn raddol y daethom yn gyfarwydd â hi.

Wele ni wedi myned dros y rhan gyntaf o alluoedd y meddwl dynol, ac yn cyflymu at yr ail. Ond cyn dechreu, rhaid i ni sylwi fod camsyniadau wedi bod o bob tu, gyda golwg ar ddosbarthiad galluoedd mewnol y meddwl. Camsyniodd Condillar, a'i ganlynwyr, amcan Locke, a gweithiasant eu cyfundrefn i'r fath eithafion, fel nad oedd holl weithrediadau yr enaid, yn ol eu barn hwy, ond gwahanol fathau ar deimleddau. Yn eu hawydd am symlhau, gwnaethant gam â'r pwnc. O'r ochr arall, darfu i Reid a'i ganlynwyr fyned i'r eithafion arall, o osod allan y meddwl fel yn meddu mwy o alluoedd annibynol nag oedd anghenrheidiol. Y rhan hyny o alluoedd mewnol yr enaid sydd yn dyfod dan ein sylw yn bresennol, yw y galluoedd deallawl. Ymddengys i ni fod y rhai hyny eto yn ymranu i ddau ddosbarth; sef ail-ddyrchiau syml, ac ail-ddyrchiau perthynasol (*simple and relative suggestions*). Wrth *ail-ddyrch syml* y golygwn y dull hwnw, trwy ba un, pan glywom enw ein cyfaill, y meddyliwn am dano;

er nad oes perthynas uniongyrchol, nac unrhyw debygolrwydd rhwng y sŵn a ddaeth âg enw ein cyfaill i'n clustiau, a'n meddwl ni am dano; oblegid gwnai gweled y gader yn mha un yr eisteddai, neu y llyfr pa un a ddarllenai, gynnyrchu yr un teimlad o'n mewn. Wrth *ail-ddyrch perthynasol,* golygwn yr ystyriaeth o ddwy neu ychwaneg o ymddangosiadau, y rhai y teimlwn fod tebygolrwydd neu wahaniaeth rhyngddynt. Er anghraifft, canfyddwn geffyl a dafad ar yr un fynyd, a chynnyrcha yr olwg arnynt yr hyn a alwn yn ail-ddyrch perthynasol yn ein meddwl. Mae y galluoedd hyn y rhai mwyaf gwerthfawr a roddodd Duw i ddyn. Hebddynt, ni buasai y synwyrau allanol o fawr werth; oblegid ni buasai waeth faint allasem ddysgu, pe na buasai genym allu i ail edrych dros y pethau a ddysgasom. Mae hefyd yn fendith fawr i ni fod y meddyliau hyn yn cael eu cynnyrchu yn rheolaidd, fel y mae clywed enw ein cyfaill yn dwyn o'n blaen garedigrwydd a daioni, ac nid gelyniaeth a chasineb.

Wrth fyned ymlaen, rhaid i ni sylwi nad yw Hume mor wreiddiol na chywir ar y pwnc o gymdeithasiad meddyliau ag y myn i ni gredu ei fod. Dywed nad oedd yr un athronydd o'i flaen wedi cynnyg at ddosbarthu egwyddorion cymdeithasiad, er fod y pwnc yn ymddangos iddo ef yn deilwng o sylw. Gwell genym dybied fod Hume yn anwybodus nag anonest yn y fan yma, oblegid amlwg yw fod Aristotle, ac amryw o'i ganlynwyr, wedi gwneyd dosbarthiad tebyg iawn i'r eiddo Hume. Mae efe wedi camsynied, nid yn unig pan yn hawlio gwreiddiolder, ond hefyd gyda golwg ar un o'i ddosbarthiadau. "Gwrthdarawiad," medd efe, "sydd gysylltiad arall rhwng meddylrithiau. Ond hwyrach y gellir ei ystyried fel cymysgfa o achosiaeth a thebygolrwydd; pan mae dau wrthddrych yn wrthdarawol, mae y naill yn dinystrio y llall; hyny yw, achosa ei ddifodiad, ac y mae difodiad peth yn profi ei fodolaeth cyntefig." O ganlyniad, mae y meddylrith o gòr yn dihanfodi y meddylrith o gawr, ac y mae fod y cawr wedi ei ddihanfodi yn profi ei fod unwaith yn bodoli. Yn lle hyn mor bell yw y meddylrith o gòr o ddinystrio y cawr, fel y mae mewn gwirionedd yn rhoddi bodolaeth iddo. Rhaid i ddau feddylrith fod yn bresennol yn y meddwl yr un pryd, cyn y gellir canfod tebygolrwydd na gwrthdarawiad rhyngddynt. Pa fodd bynag, y mae gweled dyn o fath Hume yn syrthio i gamsyniadau fel yma yn wers bwysig i ni fod ar ein gwyliadwriaeth. Gellir dosranu ail-ddyrchiad meddyliau i debygolrwydd agosrwydd neu ddeoliad a gwrthdarawiad. Cawn weled fod tebygolrwydd yn effeithio er ail-ddyrchu meddylrithiau. Pan welom ddyn ag y byddo rhywbeth yn ei ymddangosiad (gan nad pa mor lleied) yn debyg i'n cyfaill, daw ein cyfaill i'n meddwl, a chydag ef y rhan fwyaf o'r holl amgylchiadau a gymerasant le yn ei gwmpeini. Mae agosrwydd neu ddeoliad hefyd yn effeithio ar ein meddwl. Oblegid pan elom i ryw fan ag y byddom wedi clywed neu ddarllen llawer am dano, bydd y cwbl a wyddom am y lle a'i drigolion yn dyfod yn ol i'r meddwl yn uniongyrchol. Yr un hefyd ydyw effaith gwrthdarawiad, oblegid pan fyddom yn edrych ar ddyn hynod o dàl, naturiol i ni feddwl am ddyn hynod o fyr o fewn cylch ein hadnabyddiaeth, a'u cymharu â'u gilydd. Mae Dr. Brown yn golygu fod ail-ddyrch yn well na chymdeithasiad meddylrithiau (*association of ideas*) oblegid ei fod yn fwy syml, ac yn gosod allan weithrediadau y meddwl yn fwy rhydd ac annibynol. Dengys nad yw tybiaeth, cof, dychymyg, ac arferiad, ond gwahanol enwau ar ail-ddyrchiad. Oblegid nid ydym yn gallu ewyllysio cofio unrhyw beth gan

nad ydym yn cofio beth i ewyllysio gofio, ond teimlwn ddymuniad am gofio rhywbeth er nas gwyddom beth, a thrwy gofio rhywbeth arall daw y peth hwnw i'n cof mewn canlyniad. Mae yn anmhosibl amgyffred, chwaithach darlunio, dylanwad y gallu hwn ar bersonau yn gystal a chymdeithas yn gyffredinol. Pa sawl dyn y mae genym hanes am dano a ddewisodd ei alwedigaeth trwy ryw ddygwyddiad? a diau pe caem hanes manwl o ddynion, y canfyddem fod rhyw un amgylchiad wedi bod yn foddion i wneyd eu holl oes yn ol llaw y peth ag a fu.

Awn ymlaen yn bresennol at *ail-ddyrchion perthynasol,* neu y gallu hwnw trwy ba un yr ydym yn cymharu pethau â'u gilydd. Mae y rhai hyn eto yn ymranu i ddau ddosbarth, sef perthynas o gydfodolaeth, a pherthynas o ddilyniad, yn ol fel y maent yn dyfod o flaen y meddwl gyda neu heb dybiaeth o amser. Gellir rhanu y rhai nad yw y dybiaeth o amser ynglŷn wrthynt i yn 1. Sefyllfa. 2. Gwahaniaeth neu debygolrwydd. 3. Gradd. 4. Cydfesuredd. 5. Cymysgedd. Bu llawer o ddadleu yn y byd rhwng yr Enwoliaid (*Nominalists*) a'r Sylweddiaid (*Realists*). Dywedai y Sylweddiaid fod enw cymharol, megys dyn, yn meddu bodolaeth annibynol ar bob dyn neillduol, tra y dywedai yr Enwoliaid nad oedd y fath beth yn y meddwl dynol a theimlad o berthynas rhwng pethau, ond fod enw cyffredin yn cael ei roddi i bethau mewn ffordd nas gellir yn iawn roddi cyfrif am dano. Dywed Brown fod y ddau ddosbarth o'u lle, oblegid nid oes y fath beth a meddylrith o ddosbarth yn annibynol ar y personau a wnant i fyny y dosbarth; tra ar y llaw arall, medda dyn allu i ganfod y tebygolrwydd rhwng pethau. Ar ol treulio cryn amser i ddangos sefyllfa bresennol athronwyr yn eu perthynas â'r pleidiau a nodwyd, ä Brown ymlaen at resymeg. Yma y mae yn taro yn ddidrugaredd ar resymeg y canol oesau, a chyda hi condemnia y rhan fwyaf o'r traethodau a feddwn ar resymeg yn yr oes bresennol. Dengys ein bod yn ymresymu ar yr un egwyddor ag yr ydym yn dosbarthu, sef y ffaith ein bod yn alluog i ganfod tebygolrwydd rhwng y naill beth a'r llall. Dywed nad oes ond dwy ran mewn ymresymiad, ac o ganlyniad nad yw cyfreswm (*syllogism*) yr hynafiaid ond ffolineb, oblegid ei bod yn rhwym o gymeryd yn ganiataol yr hyn sydd yn aros i'w brofi. Er anghraifft, "Mae pob dyn yn farwol. Dyn yw John. Mae John yn farwol." Yma mae y gosodiad cyntaf yn cynnwys yr olaf, a phwy bynag a addefa y cyntaf y mae yn gwybod yr olaf ar yr un pryd, fel nad yw y dull yma o ymresymu yn dysgu dim iddo. O ganlyniad, mae y dull yma yn analluog i gael allan y gwirionedd, ac yn anaddas i'w drosglwyddo. Nid yw barn ond canfyddiad o berthynas neu debygolrwydd gwahanol wrthddrychau i'w gilydd, ac nid yw rheswm ond amrywiol farnau wedi eu cydosod yn y meddwl ar yr un pryd. Felly y mae Brown yn dyfod â'r cyfan o'r galluoedd deallawl i'r ddau ddosbarth yma, sef ail-ddyrchiad syml a pherthynasol, a thrwy hyny yn barnu ei fod wedi gwneyd gwasanaeth mawr i'r hwn fyddo yn chwennych myfyrio y meddwl yn ol llaw.

Awn bellach at yr ail ran o alluoedd y meddwl, sef yr *ymdeimladau,* Mae y rhai'n yn cael eu rhanu drachefn i *ymdeimladau uniongyrchol, ail-edychol,* a *rhagfyfyriol.* Rhenir yr ymdeimladau uniongyrchol drachefn i 1. Ymdeimladau nad ydynt yn cynnwys teimladau moesol. 2. Ymdeimladau yn cynnwys teimladau moesol. Ond 1. Ymdeimladau nad ydynt yn cynnwys teimladau moesol. Ymhlith y rhai hyn gellir nodi ein teimladau o

lawenydd a phrudd-der; syndod wrth gyfarfod â rhywbeth newydd, ynghyd â blinder wrth hir ymarfer â'r un peth; a'r teimlad sydd genym wrth sylwi ar brydferthwch. Mae Brown wedi rhoddi amryw ddarlithiau yn olynol i drin yr ymdeimlad o brydferthwch. Ymchwilia pa un a oes y fath beth a theimlad gwreiddiol o brydferthwch yn y meddwl; ond er ei fod yn tueddu at y golygiad yma, ac yn dyweyd nad yw yn ymddibynu yn hollol ar amgylchiadau, dywed nad oes y fath beth a phrydferthwch gwreiddiol mewn natur, ond fod y cyfan yn y meddwl, er ei fod yn gorfod addef ar yr un pryd fod y meddwl yn naturiol ganfod prydferthwch mewn un math o ddefnydd nad yw yn canfod mewn math arall. Ymdeimlad arall sydd yn dyfod dan sylw yw, y *chwerthingar*. Cynnyrchir hwn gan gydgyfarfyddiad pethau cyson a chroes yn yr un man; megys, gweled dyn o ymddangosiad boneddigaidd, a dillad trwsiadus, yn syrthio yn y llaid. Mae yn wir y gall y meddwl fod yn meddu ar ormod o wybodaeth am natur yr olygfa, neu ynte ei sylw fod wedi ei dynu yn ormodol at rywbeth arall i chwerthin ar y pryd, ond nid yw hyn ond eithriad i'r rheol.

Awn at yr ail ddosbarth, sef yr ymdeimladau a gynnwysant deimladau moesol. Y cyntaf o'r rhai hyn yw *cariad* a *chas*. Wrth ddechreu ar y rhai hyn, yr ydym yn sylwi nad yw hunanoldeb yn ddigon i esbonio y teimlad o gariad. Mae cariad yn un o'r ymdeimladau mwyaf bendithiol i ddyn. Hyn sydd yn rhoddi gwerth ar gymdeithas, yn gystal a phob peth sydd yn ei feddiant; mae mor adnabyddus i bawb fel na raid ei ddarlunio. Gellid ei ranu i gariad rhieni at blant, a chariad plant at rieni, cariad brodyr a chwiorydd at eu gilydd, &c. Amlwg yw na wnaed dyn at gasâu, oblegid y mae hyny yn dolurio ei deimladau, a pho fwyaf fyddo ei elyniaeth at ddyn arall mwyaf i gyd fydd ei gosb am gamddefnyddio ei alluoedd. Yr ymdeimlad nesaf yn y dosbarth hwn ydyw, *cydymdeimlad* a *thosturi*. Mae rhai athronwyr yn dadleu nad yw llawenydd yn cynnyrchu cydymdeimlad; ond diau pe na fuasai arferiad gwlad wedi ein dysgu i ymddangos yn siriol, pa un a fyddem felly ai peidio, na fuasai y fath haeriad byth yn cael ei wneyd. Cynnyrchir tosturi yn ein mynwes gan yr olwg ar ryw un mewn perygl, yn hollol annibynol ar ein gwybodaeth am dano a'n teimladau tuag ato. Yn nesaf daw *balchder* a *gostyngeiddrwydd* dan sylw. Cyn y gall y rhai hyn fodoli, rhaid i ni edrych arnynt fel yn rhagdybied rhywbeth arall, o'r hwn y gallwn dynu cymhariaeth. Ni byddai neb yn ystyried ei hun yn dàl, oni bai fod rhywun byrach nag ef i'w gael; ac ni byddai neb yn falch oni bai ei fod yn ystyried ei fod yn rhagori ar rywun mewn rhywbeth. Dyn balch yw yr hwn fyddo yn edrych ar bawb islaw iddo ei hun gyda diystyrwch; a dyn gostyngedig yw yr hwn sydd yn edrych ar y rhai sydd yn well nag ef ei hun er eu hefelychu.

Yn nesaf daw yr *ymdeimladau ailedrychol*. Yn flaenaf yn y rhestr yma gosodir *llid* a *diolchgarwch*. Mae digofaint yn fantais fawr i ddyn, ond y mae yn berygl iddo gael ei gario yn rhy bell, os na bydd yn cael ei wrthweithio gan dosturi, neu ei ddiffodd gan amser. Yn nesaf, cawn *ofid* a *llawenydd*. Mae dau fath ar ofid; sef, yn gyntaf, gofid a llawenydd syml, a achosir gan amgylchiadau nad oes genym yr un dylanwad arnynt; ac yn ail, gofid a llawenydd moesol, yn codi oddiar ein hadnabyddiaeth o weithredoedd da neu ddrwg. Mae llawenydd moesol y fath, o ran ei natur, nad oes dim ond rhinwedd all ei bwrcasu. Gall fod yn meddiant y carcharor yn ei gell dywyll, tra mae yr ymherawdwr ar ei orsedd yn amddifad o hono.

Y trydydd dosbarth yw yr *ymdeimladau rhagfyfyriol*, y rhai ydynt ddeg mewn rhifedi: 1. Dymuniad am barhad bywyd, yr hwn sydd yn peri i ddyn ofni marw, a dymuno aros yn y bywyd hwn, hyd yn nod pan y mae prif gysuron bywyd wedi eu colli. 2. Dymuniad am bleser (nid yw gobaith, dysgwyliad, a sicrwydd, ond gwahanol raddau o ddymuniad). Nid yw hwn yn annheilwng o ddyn, gan ei fod yn arwain i sylwi ar lawer o bethau mewn natur fuasent yn cael eu gadael yn ddisylw oni buasai y dymuniad hwn. 3. Cariad at waith. Mae yn anmhosibl i ni fod yn ddedwydd heb wneyd rhywbeth, tra mae gweithio yn dwyn dedwyddwch i ni. 4. Dymuniad am gymdeithas. Mae dyn wedi ei greu yn fod cymdeithasgar; nis gall fod yn ddedwydd heb rywun i gymdeithasu âg ef. Mae yr ymgais mae dyn yn wneyd at ennill cyfeillion yn brawf mai bod cymdeithasgar, ac nid rhyfelgar, fel y myn rhai, ydyw o ran ei gyfansoddiad gwreiddiol. 5. Dymuniad am wybodaeth. Yr ydym yn synu llawer pan glywom am ddyn wedi dysgu amryw ieithoedd, a dyfod yn gyfarwydd â llawer cangen o wybodaeth; ond ped ystyriem yn iawn caem weled achos mawr i synu wrth gymaint ag y mae dynion yn gyffredin yn ddysgu dan gymaint o anfanteision. Mae fod y plentyn yn dysgu iaith neu ddwy cyn medru siarad yn groew yn brawf fod rhyw awydd neillduol am wybodaeth yn ei fynwes. 6. Dymuniad am allu. Mae awydd ar ddyn am reoli eraill, naill ai trwy nerth meddwl neu trwy ddylanwad uniongyrchol swydd, neu ynte trwy ddylanwad cyfoeth. Pan elo dyn yn rhy awyddus am gyfoeth, ac i'w geisio er ei fwyn ei hun, yr ydym yn ei alw yn gybydd. Dywed Brown nad yw cybydd-dod yn tarddu oddiar gariad at arian, ond fynychaf bob amser oddiar ofn tlodi. Gwaria y plentyn geiniog am deisen, a bwyty hi. Yn mhen ychydig teimla ei fod wedi ei adael heb y deisen na'r geiniog. Er ei fod yn gwybod y bodola y geiniog yn rhywle, nid yw yn ei feddiant ef; mae hyn yn creu gofid yn ei fynwes ei fod wedi bod mor ffol a rhoddi peth mor barhaol am beth mor ddarfodedig. Y teimlad hwn wedi ei fagu am flynyddau yw cybydd-dod. 7. Dymuniad am serch y rhai sydd o'n cwmpas. Nid oes neb a deimlai yn ddedwydd, fel y sylwasom eisoes, mewn gwlad heb drigolion, ac nid oes ychwaith neb a deimlai yn ddedwydd ymhlith bodau difywyd a dideimlad. Yr hyn sydd yn gwneyd cymdeithas yn felus i ni yw ein bod yn credu fod gan eraill rywfaint o serch tuag atom. 8. Dymuniad am glod. Mae amryw ysgrifenwyr ar foesoldeb wedi haeru na ddylai dyn wneyd dim er mwyn clod, gan y byddai hyny yn ei rwystro i wneyd pob peth er gogoniant i Dduw. Ond byddai yr un mor resymol i ddywedyd wrth ddyn am beidio caru ei berthynasau rhag i hyny ei rwystro i garu Duw â'i holl galon. Mae rhyw dwyll yn yr awydd sydd gan ddynion am glod ar ol marw ag sydd yn deilwng o sylw. Paham y mae dyn yn awyddu am i bawb siarad yn dda am dano ar ol iddo farw, gan na fydd ef yn clywed pa beth a ddywedant? I hyn gellir ateb, fod yn anhawdd iawn i ddyn feddwl am ddim perthynol iddo ei hun mewn amser dyfodol heb feddwl am dano ei hun mewn cysylltiad â'r peth hwnw; o ganlyniad, pan feddylia dyn am rywrai yn siarad am ei enw mewn oesau eto, nis gall lai na meddwl am dano ei hun fel yn bresennol yn gwrandaw. Er mor gyfarwydd ydym â gweled ein cyd-ddynion yn cael eu claddu, ac er y gwyddom nad oes ond y corff yn myned i'r bedd, eto nid oes neb all feddwl am fyned i'r bedd heb fraw, oblegid nis gall feddwl am ei gorff yn myned i'r bedd fel ar wahan

oddiwrtho ei hun. 9. Dymuniad am ddedwyddwch eraill. Mae hwn yn dal perthynas mor agos â'r teimlad o gariad fel nad oes llawer i'w ddyweyd am dano yn wahanol. Ond y mae yn deilwng o'n sylw fod Awdwr natur wedi rhanu ein teimladau yn gyson â'r cyfleusderau sydd genym er eu gosod mewn gweithrediad. Gwir yw ein bod yn dymuno dedwyddwch dynion na welsom erioed mo honynt, ond nid mor awyddus a'n cymydogion a'n perthynasau, y rhai y gallwn wneyd rhyw les iddynt bob dydd. 10. Dymuno annedwyddwch y rhai yr ydym yn eu casâu. Er fod y teimlad hwn yn anghenrheidiol yn ei le, er cynhyrfu cymdeithas i gosbi drwgweithredwyr, eto mae yn beryglus iddo gael ei fagu yn ormodol mewn mynwes unigol rhag iddo droi yn genfigen, yr hon sydd bob amser yn lladd ei pherchenog, tra nad yw yn alluog i niweidio ei gwrthdrych ond ychydig neu ddim.

Mae hyn wedi ein dwyn hyd ddiwedd galluoedd yr enaid. Yr ydym ar droiau wedi cyffwrdd â dyledswyddau dyn fel creadur meddiannol ar y naill deimlad neu y llall. Hwyrach yr ymddengys hyn, i rai, fel yn dyfod yn rhy agos i derfynau moesoldeb. Pa fodd bynag, yr oeddem yn awyddus am gymeryd y cyfle, gan ystyried fod golygiadau cywir ar alluoedd a dyledswyddau dyn, ynghyd â daioni Duw yn rhoddiad y fath alluoedd, yn fwy bendithiol i bob meddwl na'r darganfyddiadau ardderchocaf a wnaed erioed.

Bellach, daw athroniaeth foesol dan ein sylw. Mae athronwyr wedi myned i ddyryswch mawr wrth ymofyn, yn gyntaf, pa beth sydd yn cyfansoddi rhinwedd, ac yna, pa beth sydd yn cyfansoddi teilyngdod, a pha beth sydd yn cyfansoddi dyledswydd i wneyd yr hyn ydym yn ganfod sydd iawn a da. Yn lle hyn, ein gwaith ni yw ymofyn, pa weithredoedd sydd yn cynnyrchu ynom deimlad o gymeradwyaeth neu anghymeradwyaeth, yn ei wahanol gysylltiadau; dyma y cyfan yr ydym i chwilio am dano. Mae gwahanol foesolwyr wedi gosod allan wahanol sylfeini, er esbonio gweithrediadau moesol. Dywedai Mandeville, ein bod yn gwneuthur da, am ein bod yn gweled fod hyny yn rhesymol. Dywed Clarke a Wollaston, ein bod yn gwneyd da oddiar ein hawydd am gydymffurfio â iawn drefn pethau. Dywed Hume, mai caru daioni yr ydym oblegid ein bod yn canfod ei ddefnyddioldeb. Dywedai Aristippus, a'i ganlynwyr, mai hunan-les sydd yn ein cynhyrfu i wneyd da. Mae y gyfundraeth hon wedi ei gosod allan mewn gwahanol ddulliau, nes, yn llaw Paley, y mae crefydd, a phob peth, yn cael eu dwyn ymlaen oddiar hunan-les, gyda golwg ar fyd arall. Dywed Adam Smith, yr enwocaf a'r mwyaf doniol o bawb a ysgrifenodd ar foesoldeb, mai cydymdeimlad sydd yn ein cynhyrfu i wneyd da, yn gystal ag i gymeradwyo gweithredoedd da. Ond y mae Brown, gyda manylder, yn sylwi fod yr holl ysgrifenwyr yma wedi cymeryd yn ganiataol, heb wneyd un sylw o hyny, fod gan yr enaid alluoedd gwreiddiol i gymeradwyo da, ac anghymeradwyo drwg; felly, adeiladasant, heb un amser gydnabod y sylfaen. Mae Dr. Hutchinson, drachefn, yn son am synwyr moesol, trwy yr hwn y mae dyn yn canfod gwahaniaeth rhwng drwg a da; ond mae hyn yn tueddu i arwain i gamsyniad, o herwydd ei fod yn cymeryd yn ganiataol fod rhyw briodoleddau moesol mewn gweithredoedd yn annibynol ar y gweithredydd. Nid oes y fath beth a chywir ac anghywir, rhinwedd a phechod, ond y mae gweithredwyr gweithredoedd, pa rai nis gallwn feddwl am danynt heb deimlo cymeradwyaeth neu anghymeradwy-

aeth; ac felly, yr ydym yn dosbarthu pob gweithred, neu yn hytrach, gweithredwyr, yn ol y teimlad yma a gynnyrcha y meddwl am danynt ynom ni.

Sylwn, yn bresennol, ar ein dyledswyddau. Gellir rhanu y rhai hyn i dri dosbarth. 1. Dyledswyddau tuag at eraill. 2. Dyledswyddau tuag atom ein hunain. 3. Dyledswyddau tuag at Dduw. Mae ein dyledswyddau tuag at eraill yn ein dysgu—1. I beidio yspeilio neb o'i fywyd. Byddai hyn yn ein hyspeilio ein hunain, trwy ein gwneyd yn feddiannol ar gydwybod euog. 2. Peidio yspeilio neb o'i feddiannau. Byddai yn hawdd profi na byddai y byd ddim gwell, pe na byddai un diogelwch ynddo i feddiant personol; ond pe tynid yr argae yma, syrthiai dynion mewn ychydig amser i'r sefyllfa fwyaf barbaraidd, os nid i ddifodiad. 3. Mae cysuron eraill i fod yn ddiogel hefyd. O bob adyn ag sydd yn niweidio cymdeithas, y godinebwr yw y gwaethaf, yr hwn sydd yn yspeilio y wraig o'i rhinwedd, y gŵr o'r cariad a'r cysur a brisiai mor fawr, a'r plant o'r cysuron ddylent gael. 4. Mae enw da ein cymydogion hefyd i gael ei ddiogelu. Yn nesaf at y godinebwr, a gwaeth na'r lleidr a'r llofrudd, gellir rhesu yr hustyngwr, yr hwn a ymhyfryda mewn siarad yn ddrwg am eraill; ond ar yr un pryd, rhaid i ni beidio myned i'r arferiad o ddyweyd am y drwg mai da yw. Dylai pawb arfer dyweyd y gwir, a dim ond y gwir, yn y fath fodd na byddo eraill mewn perygl o gael eu twyllo. 5. Denu eraill i bechod, o ba natur bynag, sydd drosedd ar ein dyledswyddau tuag atynt. Y mae o'r pwys mwyaf i ni pa fath esiampl a roddom o flaen eraill, gan fod esiampl yn dylanwadu yn neillduol er ffurfio cymeriad. 6. Dylem beidio dyweyd dim sydd yn tueddu i ddolurio teimladau eraill. Mae genym hefyd ddyledswyddau cadarnhaol—pethau i'w cyflawni yn gystal a'u gochelyd—sef caredigrwydd tuag at bersonau neillduol. Sylwn, yn mlaenaf, ar ein dyledswyddau tuag at bersonau neillduol, yn codi oddiar berthynas, megys tad a mam, &c.; cyfeillgarwch, caredigrwydd, a dderbyniasom, a chydundeb. Amlwg yw fod arnom fwy dyledswyddau, ac yr ydym yn teimlo hyny, i'n perthynasau nag i ddyeithriaid; ac yr ydym yn caru ein cyfeillion yn fwy na'r rhai na welsom erioed mo honynt. Nis gallwn, ychwaith, lai na bod yn ddiolchgar am garedigrwydd. Fel dinasyddion, mae arnom rwymau i ufuddhau i ddeddfau y wlad, mor bell ag y maent yn cydfyned â deddfau Duw, a'r meddwl dynol.

Mae genym hefyd ddyledswyddau tuag atom ein hunain, a thuag at Dduw. Ond cyn myned i ymofyn am y rhai hyny, ymofynwn i'r profion sydd genym o fodolaeth Duw. Mae y prawf yma i'w dynu yn hollol oddiwrth yr arwyddion o amcaniaeth sydd i'w canfod mewn natur; ac y mae y prawf hwn mor amlwg, fel mae braidd yn anghredadwy fod un dyn ystyriol yn ei wadu. Pwy byth a feddyliai fod llyfr wedi ei gyfansoddi trwy i'r llythyrenau ddygwydd dyfod ynghyd? llawer llai, ynte, y gellid meddwl fod y byd yma wedi dyfod i'w ffurf bresennol trwy ddygwyddiad. Nid ydym ni yn gwybod dim am briodoleddau Duw ymhellach nag y maent wedi eu dadguddio. Mae daioni Duw yn amlwg yn ei holl waith. Dylem ninnau ryfeddu ei weithredoedd, a'i barchu am ei ddaioni. Dylem hefyd fod yn ostyngedig ger ei fron, a bod yn barod i wneuthur ei ewyllys. Mae ein perthynas â Duw yn gwneuthur parhad ein bodolaeth yn bwysig i ni. A ydyw y berthynas sydd yn ymddangos i ni mor bwysig i ddarfod yn fuan, neu ynte, a oes genym ryw le i gredu fod yr enaid yn anfarwol?

Tuag at brofi anfarwoldeb yr enaid, rhaid i ni sylwi ar unoliaeth sylwedd yr enaid. Un ydyw; ac felly nid yw yn agored i lygru a darfod fel y corff, yr hwn sydd wedi ei wneuthur i fyny o ronynau. Nid yw gronynau y corff yn darfod, ond newid eu sefyllfa y maent; ac felly, nid oes genym un rheswm dros gredu fod meddwl yn darfod pan yn newid sefyllfa. Mae amryw resymau yn cael eu dwyn ymlaen, heblaw hyn, dros gredu anfarwoldeb yr enaid, ond rhaid addef nad yw y cyfan ond tebygolrwydd. I'r Bibl yn unig yr ydym yn ddyledus am sicrwydd ar y pwnc yma. Yn ddiweddaf, sylwn ar ein dyledswyddau tuag atom ein hunain. Dylem ofalu peidio ymarfer â drwg, peidio gwneyd dim fyddo yn tueddu i leihau ein rhinwedd, gan y bydd hyny yn lleihau ein cysur. Dylem hefyd ymdrechu am wybodaeth, a diwyllio ein meddyliau ein hunain, a chynnyddu ein dedwyddwch meddyliol, moesol, a chrefyddol.

Dyma ni wedi gosod o flaen ein darllenwyr sylwedd athroniaeth Brown, fel ei dadblygir yn ei ddarlithiau. Rhaid i ni, cyn dybenu, ddyweyd ychydig am ragoriaethau a diffygion Brown, fel athronydd. Yr oedd yn ddarllenwr mawr, ond tra afreolaidd, a helaeth yn hytrach na gofalus a dwfndreiddiol. Yr oedd yn feddyliwr grymus, trefnus, a gafaelgar; yn gallu edrych ar ei bwnc yn ei holl ranau, gan nad pa mor helaeth. Mae amrywiaeth ei bethau, helaethder y maes y teithiai drosto, a'r trefnusrwydd â pha un y gosodai y cyfan ger bron y darllenydd yn ei ddarlithiau, yn brawf o hyn. Yr oedd Brown yn brydydd pur enwog; cyhoeddodd amryw ddarnau prydyddol yn moreu ei oes. Fel y cyfryw, meddai ar gyflawnder o iaith, yr hyn a'i galluogodd i osod allan bwnc a ystyrid bob amser yn sych, mewn iaith ddestlus a hynod ddarllenadwy. Fel adeilad brydferth, yn cyd-daro yn ei holl ranau, y mae cyfundrefn Brown yn rhagori ar un a fu o'i blaen. Y mae yn gyson âg ef ei hun trwy ei holl ddarlithiau hirfeithion. Fel prawf o hyn, gellir dyweyd fod lliaws o feddylwyr goreu Lloegr a Scotland wedi ei ddarllen, a'i gymeradwyo fel yn hollol ddifai. Pa fodd bynag, rhaid i ni ddyweyd, er mor brydferth yw yr adeilad, ac er mor hardd y lliwiau â pha rai y mae gwedi ei haddurno, fod y sylfaen yn ddrwg, ac felly yn gosod yr holl gyfundrefn mewn perygl. Mae ar brydiau hefyd yn rhy brydyddol, ac felly yn gwneyd ei frawddegau yn rhy faith, ac yn cryglwytho mwy o eiriau nag sydd anghenrheidiol er gosod allan ei feddwl. Mae wedi dyfynu llawer iawn o weithiau pryddyddol a dychymygol ei oes, er eglurhau ei bwnc; ond nid yw yn gwneyd ond ychydig iawn o sylw o weithiau athronyddol, oddigerth i'w condemnio. Tebyg na threuliodd Brown ryw lawer o amser at gyfansoddi ei ddarlithiau; a'r canlyniad naturiol o hyn ydoedd, ei fod wedi gwneyd cam â'r gweithiau athronyddol a adolygai, trwy gyhoeddi ei farn arnynt cyn eu chwilio; ac yn enwedig, wedi cymeryd yn ganiataol rai pethau a ddylasent gael eu chwilio yn fanylach.

Yr oedd Brown yn meddu ar alluoedd arddansoddol a chydansoddol (*analytical* a *synthetical powers*), ond yn dra diffygiol mewn meddyldraidd (*intuition*). Ni wnai dim y tro iddo ef oni oddefai gael ei ddosranu, neu ei gymharu; o ganlyniad, gadawodd egwyddorion sylfaenol crediniaeth, y rhai ydynt wrthddrychau meddyldraidd, yn ddisylw, oddigerth lle yr oedd yn rhaid iddo eu haddef, neu syrthio i dir anffyddiaeth; oblegid hyn gellir dyweyd fod athroniaeth Brown yn ein harwain yn ol i dir meddyliaeth ac anffyddiaeth, yn lle ein harwain ymlaen at dir disigl y gwirionedd, yn ol

esiampl Reid. Nid ydym yn petruso dyweyd fod athroniaeth Brown, pe gweithid hi allan, mor sicr o arwain i anffyddiaeth, a hyny yn gynt nag y darfu i'r eiddo Locke, arwain Hume yno. Dywed Syr William Hamilton, fod darlithiau Brown yn achos ac yn brawf o esgeulusiad athroniaeth yn Lloegr. Darfu gweled dyn mor alluog a Brown, (oblegid nid oes neb feiddia ammheu ei alluoedd), yn troi o'r neilldu y cyfundrefnau oedd eraill wedi bod yn adeiladu am flyneddau, fel pethau diwerth, beri i lawer feddwl nad oedd athroniaeth ddim ond defnydd twyll, a defnydd cynnen rhwng athronwyr. Ac nid oedd neb wedi dychymygu llai, nad oedd Brown yn un o'r ysgrifenwyr mwyaf gwreiddiol a chywir fu erioed, hyd nes i'r meddyliwr mawr hwnw (yr hwn a ystyrir yn gyffredin fel y meddyliwr cryfaf, a'r athronydd goreu yn Ewrop, os nad yn y byd) Syr William Hamilton, ei gymeryd mewn llaw, a dangos ei fod yn ddyledus i De Tracy, Condillac, ac eraill, am y pethau goreu yn ei ddarlithiau, ac hefyd ei fod wedi camsynied y rhan fwyaf i gyd o'r athronwyr mae yn enwi er eu condemnio. Gwir fod Brown, wrth ail ranu y galluoedd meddyliol, wedi dyfod yn agos iawn at y dull a gymeradwyir gan y rhan fwyaf o athronwyr yn bresennol, sef teimleddaeth, deallaeth, ac ymdeimlad. Ond mae yr enwaua arferodd yn dra annerbyniol, sef yr allanol a'r mewnol; oblegid, yn ol cyfundrefn Brown, yn y meddwl mae teimledd, yn gystal a barn neu ymdeimlad. Dylai pob dosbarth, medd Morell, gael ei hynodi gan rywbeth perthynol iddo ei hun, ac nid rhywbeth a'i blaenorai. Mae Morell hefyd yn anfoddlawn i'r geiriau *Ailddyrchiad syml a pherthynasol*, yn lle *cymdeithasiad meddyliau*, a geiriau eraill a arferid yn gyffredin gan athronwyr; a meddylia mai gwaith ofer yw profi, pe gellid, mai math o ailddyrchiad yw barn a chof, oblegid nid yw y cyfan ond dadl am briodoldeb enw. Mae hefyd yn anfoddlawn arfer y gair *sefyllfa meddwl* yn lle *gallu*, ac amryw ymadroddion eraill, a ddynodant weithrediad a rhyddid y meddwl dynol. Nid cadwen, ond edafedd, yw ein hymwybyddiaeth (*consciousness*.) Nis gallwn ddyweyd, Yr wyf yn bresennol yn bodoli mewn un sefyllfa o ymwybyddiaeth, ac yna symud i un arall. Mae bodoli a chynnyddu yr un peth i ymwybyddiaeth. Yn lle edrych ar y meddwl ynte fel dilyniad o sefyllfaoedd, yr ydym yn nes i'n lle, pan yn edrych arno fel unoliaeth fywiol yn meddu ar alluoedd. Mae tuedd amlwg y cyfnewidiad at deimleddiaeth yn lleihau ein teimlad o hunan, fel ffynnon annibynol gallu, a thuedda i'n harwain i edrych ar y meddwl fel bod dyoddefol.

Tebyg fod Brown wedi ei arwain i'r golygiadau yna, fel y sylwa Morell, gan ei olygiadau ar achos ac effaith. Dywedai Brown, nad oes genym un dybiaeth am achos ac effaith, ond sydd gynnwysedig mewn cyson ddilyniad yr un amgylchiadau. Hyny yw, nis gallwn ffurfio un meddylrith am allu annibynol heb fod mewn gweithrediad, ond y meddwl Dwyfol. O'r fan yma, arweiniwyd ef i edrych ar y meddwl dynol fel rhywbeth yn cael ei ddylanwadu, ac anghofiodd fod ganddo allu annibynol er dylanwadu, yn gystal a derbyn dylanwad. Yr ydym ni yn hoffi barn Syr William Hamilton, yr hwn sydd yn dyweyd fod y dybiaeth o achos yn sylfaenedig ar wendid ein galluoedd meddyliol. Rhaid i ni gredu fod y fath beth ag achos, er nas gallwn ei amgyffred; oblegid, tra ar y naill law nas gallwn amgyffred dechreu annibynol, ar y llaw arall, nis gallwn amgyffred cadwen ddiderfyn heb ddechreu.[1] Y camsyniad nesaf o eiddo Brown

[1] "*Hamilton's Essays:*" tudal. 591.

oedd camsyniad ffeithiau ymwybyddiaeth. Dywedai fod ymwybyddiaeth yn profi bodolaeth meddwl, ond nad oedd yn profi bodolaeth defnydd. Gorfyddid Brown, yn gystal ag eraill, i addef ei fod yn credu yn modolaeth byd allanol. Ond dywedai, nad oes genym wybodaeth uniongyrchol am ei fodolaeth. Gosodir ei gredo allan gan Hamilton fel y canlyn:—Nis gallaf lai na chredu fod defnydd. Nis gallaf lai na chredu mai y defnydd hwnw yw y gwrthddrych a ganfyddir genyf yn uniongyrchol. Mae y cyntaf o'r credoau hyn, medd Dr. Brown, yn anwrthwynebol, ac am hyny, yn wirionedd. Mae yr olaf, medd Brown, wrth weithio allan ei gyfundrefn, er yn anwrthwynebol, yn anghywir. Ac yna, nid yn unig y mae dwy grediniaeth wreiddiol yn gwrthdaro eu gilydd, ac ymwybyddiaeth, o ganlyniad, yn dwyllodrus, ond y mae y gred a dderbynir fel yn iawn yn ymddibynu am ei chywirdeb ar y llall, yr hon yn ol ei ymresymiad ef sydd yn anghywir.[1] Mae yn gwneyd ymwybyddiaeth yn gelwyddog. Yr ydym yn credu mai y byd defnyddiol yw yr hwn ydym yn ganfod, ond dywed Brown, Nagê, ond arddangosiad o hono yn y meddwl. Fel hyn, wedi i ni gael ein twyllo unwaith gan ein hymwybyddiaeth, nis gallwn ymddiried ynddi mwy am ddim oll. Mae yn dra hynod fod Brown wedi meddwl fod Reid o'r un farn ag ef ar y pen yma, ac nad oedd holl ymresymiadau Reid yn erbyn y camddefnydd a wnaed gan athronwyr â'r gair *meddylrith*, ond siarad ofer, gan fod yr holl athronwyr diweddar, er amser Descartes, yn ei arferyd yn yr un ystyr a Reid; pan mewn gwirionedd, mai o amser Descartes ymlaen y dechreuwyd arfer y gair yn yr ystyr mae Reid yn gondemnio. Ond mwy rhyfedd fyth yw y camsyniad a wnaeth Brown o ymresymiad Hume, yn erbyn bodolaeth defnydd, a'r rhesymau a ddygodd Reid er dymchwelyd ei gasgliadau anffyddaidd. Dengys y cyfan wirionedd yr hyn a sylwasom eisoes, fod Brown yn darllen ac yn cyfansoddi yn rhy gyflym, ac heb gymeryd amser i ddeall yr awdwyr y cyfeiria atynt.

Mae yr un diffygion i'w canfod yn ei athrawiaeth foesol, fel y gellid dysgwyl, ag sydd yn ei athroniaeth am y meddwl. Nid yw wedi cynnyg chwilio i bwnc hanfodol moesoldeb, sef rhyddid yr ewyllys. Mewn gair, nid oes lle i'r ewyllys weithredu yn ei gyfundrefn ef; ac o ganlyniad, nid oes y fath beth a rhinwedd yn ei farn ef, ond fel y mae yn ymddibynu ar weithredwyr. Felly os yw rhinwedd yn ymddibynu ar gymeradwyaeth y meddwl, mae yn bosibl i'r meddwl gyfnewid, ac felly dyfod i gymeradwyo drwg; o ganlyniad, daw drwg yn rhinwedd. Fel hyn, gadawodd Brown ar ei ol gyfundrefn o foesoldeb, yr hon, pe ei gweithid allan i'w heithaflon, a dorai i lawr yn hollol y gwahaniaeth sydd rhwng drwg a da. Tra yn cymeradwyo sylwadau ymarferol Brown, ac yn teimlo yn ddiolchgar am ei raniadau trefnus, a'i ddulliaith ddestlus, eto, teimlwn rwymau arnom i anghymeradwyo y seiliau ar ba rai y mae wedi adeiladu cyfundrefn mor brydferth; neu yn hytrach, dywedwn ei bod yn drueni o'r mwyaf fod adeilad mor hardd wedi ei osod ar seiliau mor dywodlyd, a sylwadau mor dda oblegid diffyg eu hegwyddorion sylfaenol yn arwain i ganlyniadau mor ddinystriol i athroniaeth a moesoldeb. Pwy bynag fyddo am weled ychwaneg, cyfeiriwn ef at "Hanes Athroniaeth," gan Morell, yr ail gyfrol, a darlithiau Syr William Hamilton.

[1] "*Hamilton's Essays*:" tudal. 90.

Wrth derfynu, dywedwn air am ein geiryddiaeth. Cyferfydd y darllenydd âg amryw eiriau newyddion o ran dull; gorfodwyd ni i hyn, oblegid diffyg geiriau. Yr ydym wedi gosod gair Seisneg ar ol pob gair dyeithr y tro cyntaf yr arferwn ef; ond ofer fydd i'r darllenydd droi i'r Geirlyfrau Cymraeg a Seisneg er gweled a oeddem yn iawn, gan mai anaml y cawsom ynddynt eiriau yn taro, a chymerasom ein rhyddid i gyfansoddi, er nad i greu, geiriau at ein pwrpas. Gwnaethum oreu y medrem yn hyn, a lle yr ydym yn gamsyniol, byddwn ddiolchgar am oleu. Byddai yn dda genym weled rhestr o eiriau athronyddol oddiwrth ryw un cyfarwydd.

Dygwyddodd gwall yn tudal. 454, llinell 25. Darllener,—"Amser sydd yn rhoddi i ni feddylrith am *hyd*, ac nid *hyd* sydd yn rhoddi meddylrith am amser."

---

# MOESGARWCH.

Y MAE yn ddywediad cyffredin trwy Ewrop am y Seison, nad ydynt, yn nghanol eu holl enwogrwydd, yn enwog fel cenedl am foesau da tuag at eu gilydd, a thuag at ddyeithriaid. Hen ddiareb a ddywed, "Sais am onestrwydd, a Ffrencyn am foesgarwch." Y mae cenedl y Ffrancod, o oes i oes, yn cael eu cyfrif yn foneddigeiddiach eu 'hymddygiadau cymdeithasol na'r Seison. Ond yn hyn, y mae eisieu, medd De Quincy, dal y fantol yn deg. Os yw pobl Lloegr yn pallu yn rhy fynych mewn ymddangosiad o barch tuag at eraill, y mae pobl Ffrainc, medd efe, yn pallu mewn parch tuag atynt eu hunain. Pa fodd bynag, mae y Cymry fel cenedl yn cael eu golygu yn gyffredin ymhell ar ol y Seison mewn moesgarwch; cyfrifir eu bod, yn debyg i'w mynyddoedd, yn fras a geirwon i'r rhai a ddynesäo atynt. Nid ydyw pob hen ddiareb, a phob hen sylw cyffredin, i'w credu fel gwirionedd efengyl; ac y mae ambell nodiad hysbys am dylwyth, ac am genedl, wedi ei ystrydebu a'i gymeryd yn ganiataol, heb fod y cywirdeb eithaf yn sail iddo. Dichon, os bernir barn gyfiawn yn lle barnu wrth y golwg, fod cymaint o elfenau gwir foesgarwch i'w cael yn Nghymru, yn ol ei maint, ag yn Lloegr, os nad mwy; ac nad ydyw coethder y Ffrancwr defodol, ond arwynebedd ymddangosiadus mewn cyferbyniad i foesau da Cymro call. Ond y mae yn rhaid cyfaddef nad yw y mater hwn, ar y cyfan, wedi cael yn ein gwlad ni y lle priodol a berthyn iddo; ac hwyrach fod llai o athrawiaethu teilwng arno yn y genedlaeth hon nag a fu yn mysg ein tadau. Yn sefydliad yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru, yr oedd Mr. Charles, o'r Bala, yn ofalus iawn am i'r athrawon ddysgu egwyddorion moesgarwch, gydag egwyddorion crefydd, i'r plant a'r bobl ieuainc; ac efe a roddodd bennodau o reolau rhagorol ar weddeidd-dra mewn ymddygiadau cyffredin yn ei "Sillydd." Ond, hyd yr ydym ni yn deall, rhy anfynych yn y dyddiau presennol, y dysgir gwersi o'r natur hyn i'r ysgoleigion Sabbothol, nac mewn cynnulliadau cyhoeddus eraill; ac nid yn aml y cyffyrddir â'r pwnc yn ein cylchgronau cyfnodol. Mae yn ddigon gwir, mai nid hyn yma yw y peth pwysicaf sydd yn orphwysedig arnom; y mae llawer gwirionedd uwch yn galw ein sylw, a dyledswydd fwy yn gofyn ein hufudd-dod, na'r deongliad a'r ymarferiad o foesgarwch. Ond megys y mae y meini llai, yn gystal a'r rhai mwy, yn anghenrheidiol mewn adeilad-

aeth, felly y mae moesgarwch yn ei le ei hun yn rheidiol er perffeithio a phrydferthu adeilad crefydd a rhinwedd.

Y mae ei rith i bob peth da; felly y mae rhith-foesgarwch yn bod. Mae rhai yn meddwl mai bod yn foesgar yw gosod eu hunain mewn rhyw ffurf gelfyddydol a chymhenllyd; astudio rhestr o funudiau, ystumiau, a seremonïau, ac arfer y rhai hyny ar bob achlysur, megys pe byddent yn epaod, ac nid yn berchenogion eneidiau rhesymol. Mursendod yw hyna, ac nid moesgarwch. Nid mewn dilyniad ffyddlawn o'r cyfryw reolau a'r eiddo Arglwydd Chesterfield yn ei lythyrau at ei fab, y mae iawn foesgarwch yn gynnwysedig. Yn y llythyrau hyny, medd awdwr gonest, dysgir moesgarwch *dancing-master* yn gymysgedig â moesoldeb puten. Moesgarwch rhai pobl, nid ydyw ond gweniaith a thwyll; gyda thafod fel ymenyn, a geiriau fel mêl, maent yn coleddu calon lawn o falais a chenfigen; fel y dywed yr hen air, "Gwên deg a gwenwyn dani." Mae gan y teigr creulawn groen teg a llathraidd, ac nid gwell yw pobl y geiriau mwynion a'r ysbrydoedd hunangar. "Efe a ddywed wrthyt, Bwyta ac yf, a'i galon heb fod gyda thi."

Gellir dywedyd fod gwir foesgarwch yn gynnwysedig mewn tueddfryd serchog, hynaws, cyfeillgar, caredig, a hunanymwadol,—awydd ac ymdrech i ddedwyddu pawb o'n hamgylch,—parodrwydd i gydffurfio âg archwaethau ac arferion eraill, mewn pethau na byddom yn halogi egwyddor a chydwybod wrth wneuthur hyny,—dewis cysur ein gilydd o flaen yr eiddom ein hunain,—egniad gwastadol i beidio rhoddi poen i neb, ond i weinyddu hyd y gallom hyfrydwch i bawb. "Yr egwyddor gyffredinol," medd Dr. Johnson, "ar ba un y mae pob moesgarwch yn seiliedig, ac oddiwrth ba un y deillia yr holl ddefodau moes a sefydlwyd yn mysg cenedloedd gwareiddiedig, ydyw, Nad oes i un dyn roddi y blaenoriaeth iddo ei hun; rheol mor gynnwysfawr ac mor sicr, fel nad yw, fe allai, yn hawdd i'r meddwl ddychymygu am un math o anfoesgarwch, heb dybied fod y rheol hon wedi ei thori." Mae yr un reol yn cael ei rhoddi gan un llawer mwy na Johnson, yn y geiriau hyny, "Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd, yn rhoddi parch, yn blaenori eich gilydd;" sef, yn blaenori eich gilydd mewn rhoddi parch: nid mewn gofyn parch.[1] Yr ydym i arfer

[1] Mae yn y Bibl Seisneg air da iawn sydd yn darlunio ac yn arddodi moesgarwch, nad ydyw y cyfieithwyr Cymreig, er eu tra-rhagoriaeth yn gyffredin, wedi gallu ei drosglwyddo yn ddedwydd i'r Cymry: "*Be courteous;*" 1 *Pedr* iii. 8. Y darlleniad Cymraeg ydyw, "Yn *fwynaidd.*" Y gair gwreiddiol, medd Mr. Charles, yn y "Geiriadur Ysgrythyrol," a arwydda ymgais yn garedig am wneuthur beth bynag fyddo yn foddhaol ac yn gymeradwy gan eraill; a dyna ydyw hanfod moesgarwch. Yn Nhestament William Salesbury, mae y gair wedi ei roddi yn Saesneg-Gymreigaidd, fel yr arferir ef hyd heddyw mewn rhai parthau o Gymru:—"Yn *gwrtais.*" Yn *Act.* xxviii. 3, cawn gan ein cymydogion, "And Julius *courteously* entreated Paul." "A Julius a ymddug yn *garedigol* at Paul," medd y Testament Cymraeg. "A Julius, gan fod yn *gymwynasgar* wrth Paul," medd Dr. William Morgan. "A Julius a ymdduc yn *ddyngar* at Paul," medd William Salesbury, gan roddi ar ymyl y ddalen, "Yn voneddigaidd, yn hawddgar," Ac yn *Act.* xxviii. 7, lle yr adroddir am ymddygiad Publius, penaeth ynys Melita, at Paul a'i gyd-deithwyr, y Sais a ddarllena, "And lodged us three days *courteously.*" "Ac a'n lletyodd dridiau yn *garedig,*" medd ein Bibl ni. "Ac 'an lletyawdd dros dridie yn *anwyl,*" medd William Salesbury, gan ddodi ar ymyl y ddalen, "Yn gu, yn foesawl, yn gwrtais." Mae y gair *courtesy* yn tarddu o'r gair *court;* ac felly yn cyfeirio, yn ei ystyr gyntefig, at y moesddull coeth a syber a ddysgwylid mewn llysoedd breninol, ac i addurno ymddygiadau pobl fawrion yn eu cyweithas âg eraill.

y moesgarwch hwn, megys dilledyn parhaus, ac nid fel gwisg oreu ar ddydd gŵyl; yr ydym i'w ddangos gyda phethau distadl a bychain, ac nid yn unig ar ryw amgylchiadau pwysig. Ychydig o ddygwyddiadau mawrion, mewn cymhariaeth, sydd yn gwneyd i fyny hanes bywyd y rhan fwyaf o ddynion; tra y mae lliaws o fân-ddygwyddiadau yn eu cyfarfod yn wastadol. Gall blyneddau fyned heibio heb i ddyn gael cyfleusderau i wneuthur gweithredoedd o fuddioldeb hynod, neu o gymwynasgarwch anghyffredin; ond nid oes odid ddydd nac awr yn myned dros ein penau, pryd nad allwn, trwy air mwyn, edrychiad tirion, ac ymddygiad caruaidd, wasgar boddhâd dedwydd i rywun neu rywrai o'n cydgreaduriaid. Cymhwys y canodd Hannah More,—

"Since trifles make the scene of human things,
And half our misery from our foibles springs;
Since life 's best joys consist in peace and ease,
And though but few can serve, yet all may please;
O let th' ungentle spirit learn from hence,
A small unkindness is a great offence.
To spread large bounties, though we wish in vain,
Yet all may shun the guilt of giving pain:
To bless mankind with tides of flowing wealth
With rank to grace them, or to crown with health,
Our little lot denies; yet liberal still,
Heaven gives its counterpoise to every ill;
Nor let us murmur at our stinted power,
When kindness, love, and concord may be ours."

Mae moesgarwch yn angenrheidiol i wneuthur pob ymddyddaniad yn ddifyr a chyfeillgar. Tra y mae yn rhaid i ambell un gael siarad y cwbl yn mhob cyfeillach, a chymhell, ar draws ac ar hyd, ei syniadau ei hun ar bob mater, nes diflasu ei wrandawyr, a gwneuthur ei hun yn nwydd o'r fath rataf, mae y moesgar yn cymeryd gofal rhag siarad gormod mewn cwmnïaeth, gan gofio yr hyn a ddywed y gŵr doeth, "Gwr synwyrol a attal ei ymadroddion." Sieryd ef yn amserol, ac fe allai, yn fynych, ond ni sieryd ond ychydig ar y tro. Mae efe hefyd yn wrandawr astud, yn gystal ag yn siaradwr doeth. Nid oes dim yn fwy anfoesgar nag i un, pan mewn ymddyddan, droi ei wyneb draw oddiwrth y siaradwr, neu siarad cyn iddo ef orphen, neu wneyd gwên ddirmygus, neu hanner mwngial tôn ganu, neu sibrwd wrth y nesaf ato, neu wneuthur dim a fyddo yn dangos diystyrwch ar y llefarydd, neu ar yr hyn a ddywed. Peth digon anfoesgar hefyd, yn ein barn ni, yw i ddyn dynu gwyneb llaes, neu ryw ymruddfanu yn bruddaidd, pan mewn cwmni, fel pe byddai am alw sylw ei gymdeithion at ei fawr sancteiddrwydd, neu at ddwysder ei deimlad. Yr oedd y diweddar Enoc Evans, o'r Bala, yr hwn, fel y gŵyr pawb a'i hadwaenai, oedd yn berchen athrylith fywiog, a chwaeth dda, er nad oedd ei ddoethineb yn trigo gyda challineb bob amser, mewn cydgyfeillach unwaith, pan yr oedd un brawd yn ymddangos yn ddifrifddwys dros ben, ac, yn lle mwynhau y gyfeillach, yn gwneyd rhyw drydar gwynfanus ac ocheneidiau hirion. Llwyr flinodd Enoc arno o'r diwedd, a dywedodd wrtho, "Ddyn! beth sydd arnoch? Byddaf finnau yn ocheneidio ac yn cwynfanu; ond ar fy mhen fy hun, ac wrth y Brenin Mawr y byddaf fi yn gwneuthur hyny. Yn nghyfeillach brodyr fel hyn, dylech chwi a minnau fod yn siriol; gan gofio fod Crist yn dywedyd hyd yn nod am ympryd, 'Pan ymprydiech di, eneinia dy ben, a golch dy wyneb; fel nad

ymddangosech i ddynion dy fod yn ymprydio.'" Ond wrth ochelyd prudd-der neu sarugrwydd ar un tu, nid oes eisieu myned i eithafion o ysgafnder chwerthingar ar y tu arall. Dylai hunan-barch gadw dyn rhag rhoddi ei hun yn fath o *merry-andrew*, er mwyn gwneyd i bobl chwerthin. Er fod chwerthin ynddo ei hun yn beth eithaf diniwed, ac yn beth iachus i'r cyfansoddiad, ac mai nesaf i anmhosiblrwydd yw ei attal ar achlysuron, mae y dyn sydd yn chwerthin bob amser, ac am ben pob peth, yn un o feddwl gwagsaw yn ddiau. Mae sirioldeb natur dda, a chwerthiniad dyn ynfyd, yn ddau beth sydd yn gwbl wahanol i'w gilydd.

Llawer a gamweddwyd yn erbyn rheolau moesgarwch mewn dadleuon ymddyddanol. Yn lle gwrandaw yn dawel ar wrthddadl, ateb yn bwyllog, ac ymresymu yn deg a diduedd, mynych y gwelir dadleuwyr yn poethi, yn digio, yn troi at bethau personol, ac yn awyddus am gael yr enw o ennill y fuddygoliaeth trwy ba foddion bynag ag a fyddo yn ddichonadwy. Cumberland, yn ei "*Observer*," er ys llawer dydd bellach, a roes reolau rhagorol i ddadleu yn foesgar a thangnefeddus; ac yr ydym yn tybied na bydd bras gyfieithiad o honynt yn anfuddiol i'n darllenwyr, nac yn annerbyniol ganddynt.

"Dylai pob dyn a elo i ddadl gydag un arall, wrandaw yn amyneddus ar y rhesymau a roddir dros y syniad a wrthwynebir ganddo ef.

Dylai pob un a roddo i lawr syniad gwrthwynebol, ei adrodd mor gryno, mor gywir, ac mor fwynaidd ag y byddo bosibl.

Ni ddylai yr ymresymiad, i'r hwn yr atebwyd unwaith yn foddlonol, byth gael ei ailddywedyd, na'i drawsffurfio i ryw ystum arall trwy un math o gecraeth.

Ni ddylid, mewn un modd, arfer dim ffraethineb, neu ddigrifeiriau, a fyddo yn tueddu i wneyd gwrthwynebydd, neu ei ymresymiad, yn wrthddrych gwawd, neu godi chwerthin ar ei gôst; canys ymosodiad ar ei dymher yw hyny, ac nid moddion tebygol i ennill ei reswm.

Ni ddylai dau ddadleuydd siarad ar yr un pryd, nac un dyn fod yn orfodol ar ddyn arall o herwydd meddu cryfach ysgyfaint, neu roddi allan chwerthiniad uchel, neu ddadgan rhyfeddeb ddisymwth.

Os bydd i un dadleuydd guro y bwrdd â'i law, bydded hysbys iddo nad yw y cyfryw weithred yn anfon ei ymresymiad un mymryn yn nes adref, a bod hyny yn faddeuadwy yn unig mewn gof neu gigydd.

Os gwna un dadleuwr gynnyg cyngwystl, mae yn eglur nad oes ganddo ddim arall i'w gynnyg, ac yno y mae y ddadl i ddybenu.

Pwy bynag a siarado uwchlaw cywair naturiol ei lais, sydd yn rhoddi ammheuaeth am ei wroldeb; o herwydd y mae pobl lwfr yn cadw mwyaf o sŵn pan y maent allan o berygl.

Nid yw gwrthddywediadau yn rhesymau, ac nid gweddus yw defnyddio y cyfryw ymadroddion ag,—'Yr wyf fi yn gwadu hyny'—'Dyna chwi yn camgymeryd'—'Mae hyna yn anmhosibl,' neu gyffelyb haeriadau breision, y rhai a barant gyffroad, ac nid argyhoeddiad

Nid yw manteision sefyllfa, neu gyfoeth, i'w cyfrif yn un math o fanteision mewn dadleuaeth; ac nid yw y gŵr o radd isel i gynnyg, na'r llall sydd o radd uchel i ddysgwyl, ymddarostyngiad y deall ar gyfryw achlysuron, oblegid y mae i reswm pob dyn yr un achau; mae yn dechreu a darfod gydag ef ei hun.

Os bydd i ddyn, wrth ddadleu, siarad yn ol tafodiaith neillduol ei ardal, neu dripio yn ei ramadeg, neu, ag efe yn Ysgotiad, neu Wyddel, neu Gymro, iddo arfer rhyw ymadrodd cenedlaethol, os bydd ei wrthwynebydd yn deall ei feddwl, cellweiriaeth ffol yw ei wawdio am hyny; canys nid all dyn ddangos ei feddwl yn eglur ond yn yr iaith y mae yn feistr arni.

Na foed i ddadleuydd a fyddo wedi trechu arall, ddadgan ymfawrygiad o herwydd hyny; yn gymaint ag mai efe, yr hwn sydd wedi cael ychwanegiad i'w wybodaeth trwy y ddadl, sydd wedi ennill mwyaf; ac felly, mae yspail yr oruchafiaeth hon yn dyfod i'r gorchfygedig yn fwy nag i'r gorchfygwr

Bydded i bob un a ddadleuo, wneuthur gwirionedd yn unig amcan ei ddadleuaeth; a

pha un bynag ai efe ei hunan a gaiff allan, ai un arall a rydd iddo, y gwir ar y mater, gall fod yn sicr fod y gwir yn werth ei dderbyn, ac y dylai yntau ei groesawu yn galonog."

Yr oedd yr hen Gymro gwledig a gonest, Siôn Gruffydd, o Fryn 'r odyn, gerllaw Caernarfon, yn deall yn dda y rheol ddiweddaf ond un a nodwyd. Ryw bryd yn nhŷ y capel yn Mryn 'r odyn, aeth yn ychydig ddadl rhyngddo ef a'r Parch. Evan Richardson, Caernarfon, ynghylch rhyw bwnc o'r ysgrythyr; ac wedi i bob un draethu ei resymau dros ei farn, yr oedd yn dra amlwg mai Mr. Richardson oedd ar yr ochr oreu. Yn y man, dywedai Siôn Gruffydd, "Wel, Mr. Richards, myfi a *ennillodd.*" I'r hyn yr atebai Mr. Richardson, "Pa fodd y dywedi felly, Siôn, pan y mae yn eglur i bawb mai o'm tu i y trodd y fuddygoliaeth?" "Wel," ebe Siôn, "mi ddaliaf fi eto i ddyweyd mai myfi a *ennillodd;* mae yn wir mai chwi a gafodd y fuddygoliaeth, ond myfi sydd ar fy ennill, ac nid chwychwi: yr oeddech chwi yn gwybod y peth o'r blaen, ond yn awr yr *ennillais* i y wybodaeth hòno."

Troseddwyr mawrion o gyfraith moesgarwch yw y siaradwyr breision a hyfion hyny, sydd yn ymfawrygu mewn bod yn rhai *plain* a gonest, fel y maent hwy yn eu galw eu hunain, ac a ddywedant eu meddyliau yn y modd mwyaf craslyd a gerwin, heb dalu dim sylw i deimladau pobl eraill. Ganddynt hwy, siarad trahausder yw gwneuthur yn ffyddlawn, ac arfer geiriau geirwon yw dyweyd y gwir yn ddigêl. Rhyw hanner-bwystfilod yw y rhai hyn, ac nid dynion cyflawn; anwariaid ansyberw, ac nid Cristionogion prydferth. Mae eu cymeriad wedi ei wneyd i fyny o anwybodaeth, hunandyb, balchder, a dideimladrwydd. Plâau ydynt yn mhob cymdeithas; yn mhob man lle y byddont, gwnant eu hunain yn anghariadus, a'u cymdeithion yn anghysurus. Os byddant wedi cael rhyw fath o ddyrchafiad, eu codi i swyddogaeth eglwysig, neu i oruchwyliaeth fydol, neu ddyfod i afael swm o gyfoeth, byddant yn fwy annyoddefol fyth. Maent fel wedi myned ar eu llw i sathru holl reolau tiriondeb a moesau da; tra yn dysgwyl parch oddiwrth eraill, nis gallant hwy roddi parch i neb; ni fedrant byth ddyweyd *Mr.* a *Mrs.* wrth nac am rai llawer teilyngach yn mhob modd na hwy eu hunain; mae eu dull meistrolgar, coeg, a bustlaidd, yn gwneyd eu holl gynghorion a'u ceryddon yn ffiaidd ac anghymeradwy. Beth bynag yw eu codiad, maent yn mhob man yn arddangos i bawb geudod pwll y *low life* y cloddiwyd hwy o hono, trwy y tom a'r llaid adgas sydd yn glynu wrthynt. Os gwyddost, anwyl ddarllenydd, am greaduriaid deudroed o'r rhywiogaeth yma, gâd hwy yn llonydd, a chilia oddiwrthynt mor bell ag y medrot; canys nid yw ond oferedd i ti feddwl am eu gwellâu. "A weli di ŵr doeth yn ei olwg ei hun? gwell yw y gobaith am ffol nag am hwnw."

Nid yw moesgarwch, mae yn wir, yn ein rhwymo i beidio beio a cheryddu, pan y bydd achosion am hyny. Nis gall teimlad o garedigrwydd at ein gilydd ein gwneyd yn ddall i wahaniaeth a rhagoriaeth ymddygiadau. Er coleddu ewyllys da tuag at bawb, nid ydym i gymeradwyo colliadau neb. Y mae yn orchymyn dwyfol,—"Gan geryddu cerydda dy gymydog, ac na oddef bechod ynddo." Ond wrth weini ceryddon, ni ddylid dangos dim yn debyg i dymherau digofus, neu arfer un math o eiriau afrywiog; y mae hyny yn gwrthweithio y dyben, ac yn gwneuthur niwed yn lle cynnyrchu lleshad. "Mae y drancell feddygol wedi ei rhoddi yn rhy boeth," medd

Matthew Henry, "yn ysgaldanu y claf, ac yn gwneyd mwy o ddrwg nag o dda; ac felly y mae llawer cerydd, oedd yn dda ynddo ei hun, wedi ei andwyo trwy draddodiad annoeth. Mae addfwynder yn cuddio y fflaim, yn siwgru y belen, ac yn ei gwneyd yn hawdd ei chymeryd; mae yn trochi yr hoel mewn olew, a thrwy hyny yn ei gyru yn rhwyddach ac ymhellach."

Un o brif arwyddeiriau moesgarwch ydyw, "Perchwch bawb." Nid y cyfoethogion, a'r rhai galluog, yn unig; nid y rhai sydd uwchlaw i ni, a'r rhai sydd yn gydradd â ni, yn unig; ond, "pawb:" pawb, heb wahaniaeth, sydd yn cyfarfod â ni ar dir cyffredin y natur ddynol. "*Honour all men.*" Y mae pobl i'w cael, y rhai a ymgrymant i'r llwch o flaen eu huwchafiaid, ond a sarnant yn ddibris ar eu hisafiaid; maent yn eu hymddygiadau caethwasaidd at y naill, a gormesol at y llall, yr un mor annheilwng o'r enw dynion. Mae dynoliaeth, a chrefydd, yn erchi i ni fod "yn gydostyngedig â'r rhai iselradd." Hyd yn nod y rhai sydd yn berchenogion meddwl a dawn, maent hwy, ar y cyntaf, yn methu bod yn hollol rydd a dedwydd yn nghymdeithas eu huchafiaid; ond y mae y gwir foesgar am symud ymaith deimladau o gaethiwed ac anhyfrydwch oddiwrth bawb a fyddont gydag ef; ac felly, y mae yn dueddol i dalu mwy o sylw a gofal i'r rhai a gyfrifir, mewn rhywbeth, yn is nag ef, nag i'r rhai hyny sydd yn fwy cydraddol iddo. Nid yw sefyllfa undyn yn ein cyfreithloni i ymddwyn ato gydag anfoesgarwch. Cofféir am un o hen freninoedd Ffrainc, fod ysgubwr simneiau, un diwrnod, yn tynu ei het iddo ar y ffordd, ac i'w fawrhydi, fel cydnabyddiaeth o'i warogaeth, dynu ei het iddo yntau. Yr oedd gwŷr y llys yn ymddangos yn synu at ymostyngiad y brenin; yntau a ddywedodd, "Beth? a fynech chwi i mi fod yn fwy difoes nag ysgubwr simneiau?" Yr ydym, yn y fuchedd hon, yn ymddibynol, bawb, ar ein gilydd; ac felly, dylai callineb ein dysgu i beidio bod yn annhirion wrth neb, o herwydd ni wyddom oddiar law pwy y bydd yn dda i ni ein hunain gael derbyn tiriondeb. "Ni ŵyr dyn beth a fydd;" doeth a da, gan hyny, yw i ddyn iawn ymddwyn at bawb yn awr, fel, yn mha amgylchiad bynag y byddo yn cyfarfod â hwy mewn adeg ddyfodol, na byddo yr adgof am a fu yn chwerw iddo. Dyna chwi yn taraw wrth fachgen gwladaidd a diolwg; edrychwch na ddiystyroch ef, canys ni wyddoch na chyfyd hwna i ragoroldeb ac enwogrwydd. Ac, heblaw hyny, efe a gofia trwy ei oes am garedigrwydd neu angharedigrwydd, parch neu sarhad, a ddangosir genych ato yn ei oedran tyner; bydd eich ymddygiad ato y pryd hwn yn cerfio ar lech ei galon lythyrenau annileadwy o glod neu anghlod i'ch enw.

Ac fel nad yw moesgarwch i fod yn gyfeiriedig at, felly nid yn gyfyngedig mewn, rhyw un sefyllfa. Adwaenem ambell ddyn oedd yn amddifad o lawer peth a gyfrifir yn anghenrheidiol i roddi godidogrwydd ar enw un; yr oedd heb waedoliaeth, heb ddysg, heb gyfoeth, heb dalent; ac eto yr oedd yn amlwg i ni fod gwir foneddigrwydd yn dysgleirio yn ei holl ymarferiadau. Byddai yn dda i lawer un gredu mai nid dim oddiallan i ddyn sydd yn ei wneyd yn ŵr boneddig, ond fod eisteddle boneddigeiddrwydd yn y meddwl, a'i gerddediad yn yr ymddygiadau. Clywsom am yrwr anifeiliaid oedd yn gyru gwartheg tua'r ffair ar ddiwrnod oer o eira. Yr oedd benyw gyfrifol yn rhodio'r llwybr yn ochr y ffordd; a dyma y gwartheg, heb rith o foes yn perthyn iddynt, yn myned ar draws y llwybr, ac yn gorfodi y foneddiges i fyned oddiyno i ganol yr eira. "*Ma'am,*" ebe y gyriedydd tlawd, "mae yn ddrwg genyf eich bod wedi cael eich gyru

o'r llwybr fel yna; pe buasai y gwartheg yna yn gwybod cymaint ag a wn i, er nad yw hyny ddim llawer, ni chawsech chwi eich troi i gerdded yn yr eira." Yr oedd y dyn yna yn ei *smock-frock*, dybygem ni, yn ŵr boneddig; tra mae yr ysgoegyn ffromaidd, gyda ei wisgiad boneddigaidd am dano, heb ddim defnyddiau boneddigrwydd ynddo. Mae cyfranogi yn helaeth o ysbryd gwir grefydd, yn dysgu yn y modd mwyaf naturiol, i ddynion yn mhob sefyllfa, ymddwyn yn weddus tuag at bawb. Y dyn hwnw, pwy bynag ydyw, yr hwn sydd fel y pren da, yn rhoddi ei ffrwyth yn ei bryd, "ffrwyth yr Ysbryd, yr hyn yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest," er y dichon nad oes ganddo oriawr aur yn ei logell, cadwen aur am ei wddf, menyg am ei ddwylaw, na'r un cerbyd, neu yn wir, un march, i'w gludo o le i le, ac er ei fod yn ddyeithr i drefniadau manwl a ffurfiau dillynaidd *politeness* bydol, nid yw hyny yn gwneyd un gwahaniaeth ar ei foneddigdod; y mae efe yn foneddwr mewn gwirionedd. Mae efe, oddiar egwyddor grefyddol, yn dirion, addfwyn, a chymwynasgar, ac yn talu yn rhwydd "ofn i'r hwn y mae ofn, parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Hyd y mae ynddo, efe a ochel bobpeth sydd yn dramgwyddus i eraill, ac a wna yr hyn a allo i wasgar dedwyddwch i bawb o'i amgylch. Mae y Bibl yn dysgu moesgarwch, ac y mae yntau yn cymeryd ei ddysgu gan y Bibl. Nid oes bosibl i ungwr fod yn anfoneddigaidd ac anfoesgar, a gymero ei arwain gan y cyfryw reolau a'r rhai canlynol:—"Na wneler dim trwy gynhen neu wagogoniant, eithr mewn gostyngeiddrwydd, gan dybied eich gilydd yn well na chwi eich hunain. Nac edrychwch bob un ar yr eiddoch eich hunain, eithr pob un ar yr eiddo eraill hefyd. Bod heb gablu neb, yn anymladdgar, yn dirion, gan ddangos pob addfwynder tuag at bob dyn. Tyner ymaith oddiwrthych bob chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd, gyda phob drygioni; a byddwch gymwynasgar i'ch gilydd, yn dosturiol, yn maddeu i'ch gilydd. Boddhaed pob un o honom ei gymydog yn yr hyn sydd dda iddo er adeiladaeth. Byddwch ddiachos tramgwydd i'r Iuddewon ac i'r Cenedloedd hefyd, ac i eglwys Dduw. Bydded eich ymadrodd bob amser yn rasol. Trwy gariad gwasanaethwch eich gilydd. Cyfod ger bron penwyni, a pharcha wyneb henuriad. Pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy, od oes un rhinwedd, ac od oes dim clod, meddyliwch am y pethau hyn." Mae holl sylwedd a defnydd gwir foesgarwch yn gynnwysedig yn y cyfarwyddiadau hyn; ac y mae y Cymro mynyddig a rodio wrthynt yn iawn foneddwr yn nghyfrif pawb synwyrol sydd yn gwybod am dano.

Ond tra nad ydym i fod yn ddiffygiol mewn moesgarwch tuag at eraill, dylid cofio nad ydym i fod yn ddisylw o'r hyn sydd ddyledus i ni ein hunain. Mae y moesgarwch a gefnogir genym yma yn gwbl gydweddol â gwneuthur amddiffyniad grymus, ond pwyllog, o'n holl freiniau a'n hiawnderau dyledus, mewn gwrthwynebiad i ymosodiad a sarhâd. Yr oedd Paul, yn ngharchar Philippi, yn gwrthod cymeryd ei ryddid, pan ei cynnygiwyd iddo, oddigerth iddo ei gael mewn modd cyson â'i hawliau gwladol fel dinesydd Rhufeinig. A thra yr ydym i fod yn dirion wrth bawb, nid ydym i fod yn wenieithgar wrth neb. Nid ydyw gwir foesgarwch yn arddodi ar ddyn i ddywedyd yr hyn nad ydyw yn ei gredu, neu i

roddi canmoliaeth i un heb deimlo fod hwnw yn ei haeddu. Mae yr hwn a elo i foddhau personau ar gôst gwirionedd, yn myned yn ddirmygus gan bawb, ac yn benaf gan ei gydwybod ei hun. Gellir gweled rhai pobl sydd yn debyg i'r helyg yn plygu o flaen pob awel a chwytho arnynt; nid oes berygl i'r cyfryw rai fyned yn golofnau mewn gwlad nac eglwys. Digon ganddynt hwy geisio gwneyd yr un fath a phobl eraill, pa un bynag ai cam ai cymhwys fyddo hyny; cydsyniant yn ebrwydd â phob peth a ddyweder wrthynt, gan nad pa un ai gau ai gwir a leferir. Plantos bwhwmanllyd, ac nid gwŷr o anrhydedd, yw y cymeriadau hyn. Mae moesgarwch gwirioneddol yn seiliedig ar egwyddorion diysgog. Fel y ddoethineb oddiuchod, "yn gyntaf pur ydyw," ac, fel y dywedir am gariad, "cydlawenhau y mae â'r gwirionedd." Byth ni eilw y du yn wyn; ac nid yw yn medru ar y gelfyddyd o "fwrw sorod arian dros ddryll o lestr pridd;" ond y mae i'w weled yn wastad yn myned law yn llaw â chywirdeb.

Fel cymhelliadau cryfion i foesgarwch, gallwn gyfeirio at esiamplau saint enwog yr ysgrythyrau. Cawn Abraham yn glodfawr am ei foes, yn gystal ag am ei ffyddlondeb. Darllenwn ei hanes, ac ni a welwn nad oedd dim ynddo yn hunangar, anghyfeillgar, a chilgwthiol, ond ei fod yn hen foneddwr rhyddfrydig, mwynaidd, a moesgar i'r pen. Yn ngwyneb yr ymrysonau rhwng ei fugeiliaid ef, a bugeiliaid Lot, o achos fod y tir yn rhy gyfyng i liaws anifeiliaid y naill a'r llall, mor hynaws ac anrhydeddus yr ymddygodd Abraham at Lot ei nai. Er mai mwy rhesymol ydoedd i'r hynaf a'r mwyaf urddasol gael ei ddewisiad yn gyntaf, efe a adawodd i Lot gael ei ddewisiad blaenaf, ac a attolygodd yn dirion am barhad y cydfod a'r cariad rhyngddynt. Mae rhai yn eu dangos eu hunain yn foesgar iawn at y rhai hyny sydd o fewn cylch eu cydnabyddiaeth, ac yn enwedig tuag at y rhai y maent yn dysgwyl rhywbeth oddiar eu llaw; ond nid oes ganddynt ddim moesgarwch i'w hebgor at ddyeithriaid. Lle y byddont yn anadnabyddus, arddangosant eu hunain yn anghymwynasgar, yn oeraidd, ac yn drahaus. Ond nid un felly ydoedd Abraham. Pan yr ymwelodd yr angelion âg ef, yn ngwedd a diwyg tri ŵr dyeithr, er ei fod ef yn hynafgwr, ac nad ydoedd yn gwybod dim am danynt, càn gynted ag y gwelodd hwy, "efe a redodd o ddrws ei babell i'w cyfarfod hwynt, ac a ymgrymodd tua'r ddaear;" gofynodd, fel ffafr oddiwrthynt, am iddynt droi i mewn ato; rhoes groesaw calon iddynt, a cheisiodd trwy bob sylw a gwasanaeth o'i eiddo eu gwneyd yn gysurus yn ei gymdeithas. Mae rhai, tra yn bur foesgar tuag at ddyeithriaid, na ddangosant nemawr neu ddim cyweithas a pharch tuag at eu cymydogion; eithr nid un felly ychwaith oedd Abraham. Fel yn ei groesawiad o'r dyeithriaid yn ei babell, felly yn ei drafodiaeth â meibion Heth, yr oedd efe yn ymddwyn gyda phob parch a moesgarwch. Er eu bod hwy yn edrych arno "fel tywysog Duw yn eu plith," nid oedd efe yn ymddyrchafu ger eu bron; eithr pan yn prynu meddiant beddrod gyda hwy, i gladdu ei farw allan o olwg, dywedir unwaith a dwywaith am y patriarch anrhydeddus, ei fod "yn ymgrymu o flaen pobl y tir." Gan fyned heibio i lawer o anghreifftiau eraill y gallesid eu dwyn ymlaen, deuwn i'r Testament Newydd, ac ni a gawn Paul, yr enwocaf am ei gymhwysder a'i lafur fel apostol, yn dra nodedig am ei foesgarwch fel dyn. Edrychwn arno yn sefyll yn llys Cesarea, ger bron y brenin Agrippa a'r rhaglaw Ffestus; yr oedd yn ei holl ddull a'i iaith ar

unwaith yn urddasol ac yn ddeniadol. Pan yn rhoddi hanes cryno am ei dröedigaeth hynod, ac yn amddiffyn yr athrawiaeth a ddysgid ganddo, wele Ffestus, yn wrthwyneb i holl reolau gweddeidd-dra, yn ei rwystro i fyned ymlaen, gan waeddi yn groch, "Paul, yr wyt ti yn ynfydu; llawer o ddysg sydd yn dy yru di yn ynfyd." Ond os oedd y rhaglaw ar yr orsedd yn ei ddiraddio ei hun trwy arfer iaith isel, anfoneddigaidd, a chythruddus, yr oedd y carcharor o flaen y fainc yn ei ateb gyda'r ymadroddion coethaf, a'r moesgarwch mwyaf dyrchafedig. Yn llednais, ac eto mewn modd penderfynol, efe a ddywedodd, "Nid wyf fi yn ynfydu, O ardderchocaf Ffestus, eithr geiriau gwirionedd a sobrwydd yr wyf fi yn eu hadrodd." Mae efe yna gyda medrusrwydd digymhar, yn appelio at Agrippa am ei argyhoeddiad o wirionedd ei athrawiaeth, ac yn ei anerch, "O frenin Agrippa, a wyt ti yn credu y prophwydi? mi a wn dy fod yn credu." A phan ddywedodd yntau, "Yr wyt ti o fewn ychydig i'm hennill i fod yn Gristion;" mae yr apostol yn ei atebiad yn arddangos cyfuniad o'r duwiolfrydedd ffyddlonaf, y serchogrwydd tyneraf, a'r gweddusrwydd prydferthaf: "Mi a ddymunwn gan Dduw, o fewn ychydig, ac yn gwbl oll, fod nid tydi yn unig, ond pawb hefyd a'r sydd yn fy ngwrandaw heddyw, yn gyfryw ag wyf fi, ond y rhwymau hyn." Llythyr Paul at Philemon sydd yn dangos boneddigeiddrwydd Cristionogol yr apostol yn y lliw dysgleiriaf; ac y mae hyn i'w weled hefyd mewn amryw o'i lythyrau eraill.

Gallasem fanylu llawer ar ein mater, ac ymdrin am foesgarwch mewn amrywiol gysylltiadau nad ydym yma wedi cyffwrdd â hwy; ond hyderwn fod ein bras-nodiadau blaenorol yn ddigon i egluro ei ansawdd, ac i ddynodi ei brif linellau; a hawdd yw i'r darllenydd eu cymhwyso at bob rhyw amgylchiad neillduol. Ein nod oedd ceisio argraffu ar y meddwl fod moesgarwch o werth arbenig yn ein holl ymarferiadau cymdeithasol. Ac am bwy bynag a edrycho gydag iselhad ar destun ein hysgrif hon, gallwn sicrhau iddo na bydd hyny yn ddim canmoliaeth i'w synwyr, i'w chwaeth, nac i'w rinwedd.

---

## LLYFRYDDIAETH Y CYMRY.

Dyma ni o'r diwedd yn dechreu ein herthygl olaf. Gweli, ddarllenydd, ein bod wedi trefnu llyfrfa "Llyfryddiaeth y Cymry" yn wyth gwyneb, a phob gwyneb yn cynnwys nifer o *silffoedd*, yn ol y nifer o flyneddau a gymerai pob gwyneb i'r llyfrfa; a phob silff yn cynnwys nifer o lyfrau, wedi eu rhifnodi, fel y gelli roddi dy law ar y llyfr a fynot, heb ddim trafferth. Ti a gofi mai silff y flwyddyn 1779 oedd y ddiweddaf ar y gwyneb arall i'r llyfrfa. Ond aethom ar draws un llyfryn arall, yn perthyn i'r flwyddyn ddiweddaf hono, a ddylasai fod ar y silff hono, yr hwn a roddwn i mewn yma:—

18. "Berr Hanes o'r pethau mwyaf hynod ym mywyd James Albert Ukawsaw Groniasaw, tywysog o Affrica: fel yr adroddwyd ganddo ef ei hun. Aberhonddu, argraffwyd dros y Parch. Mr. W. Williams, gan E. Evans, 1779."

Felly ymddengys mai Williams, Pant-y-celyn, a gyfieithodd ac a gyhoeddodd y llyfryn hwn. Y mae "Y Rhagymadrodd at y Darllenydd," gan W. Shirley.

1780.

1. "Y pedwerydd lythyr oddiwrth eich cyfaill a'ch (pechadurus) sydd yn ymdrybaeddu y'ngwiniau a'i chwantau, fel y gwaethaf o honoch. Gan Ellis Roberts, Cowper. Argraffwyd yn Nhrefriw."

2. "Llyfr Gweddi Gyffredin. Argraffwyd yn Llundain, gan C. Eyre, a W. Stratham."

Prynodd C. Eyre y 30 mlynedd o *patent* Newcome a Hills, fel argraffwyr y brenin, am *P*.10,000, a chymerodd W. Stratham yn *bartner*, wedi hyny ei fab, Andrew; a bu hwnw farw yn werth miliwn o bunnau, gan adael y *business* i Spottiswood, &c.

3. ¶ "Dadl dros ddarllen yr Ysgrythyrau mewn cynnulleidfaoedd crefyddol. Gan y Parch. W. Richard o Lynn."

Y Parch. W. Richard ydoedd Dr. Richard, awdwr y "*Dictionary* Saesoneg a Chymraeg," bychan, a welir mor aml ar hyd y Dywysogaeth yn awr. Traethodyn gwerthfawr yw yr uchod o tua 12 tudal. Argraffwyd yr unrhyw yn Seisneg hefyd.

4. "Hanes y Byd a'r Amseroedd. Er hyfforddiad rhai Cymru. O waith S. T. Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, yn y flwyddyn 1780."

Gwel hefyd rhif. 4, 1721; rhif. 1, 1724; a rhif. 1, 1728.

5. "Rhai diwygiadau ar, ac ychydig ychwanegiadau at Hanes y Bedyddwyr. Argraphwyd yng Nghaerfyrddin, 1780."

Dernyn gwerthfawr yw hwn; ac nid yw yn ddiogel dilyn "Hanes y Bedyddwyr," gan y Parch. J. Thomas, heb fod y "Diwygiadau a'r ychwanegiadau" hyn wrth law. Y mae weithiau i'w gael yn gydrwymedig â'r "Hanes;" os amgen, y mae yn lled anhawdd cael gafael arno.

6. "Antigraphon neu Wrthgraphiad Sïon yn achos y camachwyniad a gafodd yn ddiweddar gan awdwr mewn llyfr newydd a elwir, Amddiffyniad o'r Eglwys Gristionogol yn bedyddio plant bychain. Gan D. Saunders, Aberduar. Caerfyrddin, argraphwyd gan J. Ross, tros Dafydd William."

7. "Llythyr y Gymanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1780. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-prior."

1781.

1. "History o Rybydd i bechaduriaid i edifarhau, neu ddisgrifiad rhyfeddol fel y cafwyd dau henuriaid ynghoed Ressington, yn agos i Donchester, yn sir Gaer Efrog. O gyfieithiad Thos. Morris o'r Yspytty. Trefriw."

2. "Galwad gan wyr Eglwysig at bawb ffyddlon, i gydsynio mewn Gweddi, yn enwedig tra parhao'r rhyfel presennol. Gan P. Williams. Yr ail argraffiad. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Ross, 1781."

3. "Dadl dros Grefydd bur a Dihalogedig, &c., gan gyfaill: mewn llythyr at y cyfaill hwnw. A gyhoeddwyd gyntaf yn Saesoneg, yn y fl. 1741. A gyfieithiwyd i'r Gymraeg o'r 3ydd lyfr, o waith Mr John Glass. Argraffwyd yn Abertawy, gan D. Evans."

4. "Agoriad i athrawiaeth y Ddau Gyfammod, &c. Gan John Bunyan. Yr ail argraffiad, wedi ei ddiwigio a'i wellhau. Trefecca, argraffwyd dros y cyhoeddwr. 1781. (Pris Swllt)."

Dywedir yn "Hanes Edward Parry, Bryn-Bygad," yn cyf. iii. o'r "Goleuad Cymru," i'r gwr hwnw gyfieithu y "Traethawd ar y Ddau Gyfammod," trwy gynnorthwy Dafydd James, athraw ysgol yn Llansannan—un o athrawon ysgolion symudol Mr. G. Jones, Llanddowror, mae'n debygol.

5. "Y Beibl Sanctaidd, gyda sylwadau ar bob Pennod. Gan y Parch. Peter Williams."

Yr ailargraffiad; gwel rhif 1, 1770.

6. ¶ "Y Catecism Byrraf, a gyflwynwyd gan gymmanfa o Dduwinyddion Westminster i'r ddau dŷ o Barliament. Caerfyrdding, argraphwyd ac ar werth gan J. Ross. Pris dwy geiniog, neu 12s. a 6d. y cant."

7. "Halsing, neu gân newydd ar Ddydd Natolic. Gan John Williams, o St. Athan, ym Morganwg. Pontfaen: argraffwyd gan R. Tomos. 1781."

8. "Marwnad, ar farwolaeth Mrs. Grace Price, anwyl wraig y Capten Price, o Waterford, yn sir Forganwg: yr hon a ymadawodd â'r byd, yr 16eg o Dachwedd, 1780, yn y 37 flwyddyn o'i hoed. Wedi bod yn briod â Mr. Price 12 mlynedd."

Hon oedd wraig foneddig, nid yn unig o dylwyth goruchel, a dygiad da i fyny, ac o rinweddau moesol, ond hefyd goruwch y cwbl, wedi dyfod i adnabod yr Arglwydd Iesu; ac yn ei holl fywyd a'i hymarweddiad yn byw yn addas i'w phroffes; yn llawn o bob rhinweddau nefol, tiriondeb, ffydd, addfwynder, tosturi, haelioni, gostyngeiddrwydd, a chariad at bawb, gwlad a theulu, ac yn enwedig at eglwys Crist, i'r hon yr oedd hi yn fam, yn chwaer, ac yn fammaeth ffyddlawn. Ac yn ei chlefyd diweddaf, yr hwn oedd y *pleurisy*, a ddangosodd y fath ffydd, wroldeb, amynedd, a boddlondeb, ag a synodd ar bawb ag oedd yn bresennol. Ac ymadawodd â'r byd tan ganu,

"O Iachawdwr pechaduriaid, sydd â'r gallu yn dy law, &c."

Yr ailargraffiad. Aberhonddu, argraffwyd dros yr awdwr gan E. Evans, 1781. Yr awdwr ydoedd hen fardd Pant-y-celyn.

9. "Cyssuron Dwyfol: neu Addewidion Gwerthfawr; er Annogaeth i Gredinwyr; gyda Gair o Gynghor. Wedi ei gyfieithu o'r Saesonaeg, er budd i'r Cymru. Mwythig; argraphwyd gan T. Wood, lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau Cymraeg, wedi eu diwigio yn ofalus, ac am brîs gweddaidd. M,DCC,LXXXI. (Prîs Ceiniog yr un.)"

10. "Atteb i Bob Dyn a ofynno Reswm am y Gobaeth sydd ynom mewn ffordd o Holiad ac Ateb. Gan Joseph Humphreys. Gyda rhagymadrodd canmoliaethol. Gan Parch. Mr. Whitfield, yn ddiweddar caplan i'r Anrhydeddusaf Iarlles Huntington. Mwythig, argraphwyd gan T. Wood. M,DCC,LXXXI."

11. "Wele y Chweched Llythyr, ar ddull Pregeth, y testun a gymerwyd o *Luc* xv. 18, 19. O waith Ellis Roberts, Cowper, Llanddoged. Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans, dros Hugh Williams. 1781."

12. "Memoirs of the Gwydyr family, &c. By Sir John Wynne. London. 1781."

Gwel rhif 22, 1773; ac yn y "Cylchgrawn," tudal. 87.

13. "A Gentleman's Tour through Monmouthshire and Wales, in the months of June and July, 1774. A new edition. To which is added, an Account of a Journey into Wales. By George, Lord Lyttleton. London: printed for T. Evans. M,DCC,LXXXI."

Yr awdwr ydoedd Mr. Pennuddock Wyndham.

14. "Llun Agrippa, &c. Y trydydd argraffiad. Trefecca. M,DCC,LXXXI."

Gwel rhif 1, 1723; a rhif 5, 1779.

1782.

1. "Tair o ymddiddanion rhwng Gweinidog ac un o'i blwyfolion, ar gywir egwyddorion Crefydd, &c. Gan y Parch. Thos. Vivian, A. B., ficar Cornwood, Defon. A gyfieithiwyd i'r Gymraeg, gan y Parch. W. Williams, A. B., curat Caergybi. Amwythig, argraphwyd gan T. Wood, lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau Cymraeg, wedi eu diwygio yn ofalus gan Ifan Tomos, M,DCC,XXXI.

2. "Cydymaeth mewn cystudd: neu Hyfforddwr trwy ddyffryn marwolaeth. O gasgliad Peter Williams, gweinidog yr efengyl. Caerfyrddin, argraphwyd gan Ioan Ross. M,DCC,LXXXI."

3. "Bywyd a Marwolaeth yr Annuwiol, dan yr enw Mr. Drygddyn, &c. Gan Ioan Bunyan, awdwr Taith y Pererin Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg, gan T. Lewis, o'r pedwerydd argraffiad yn Saesonaeg. At yr hyn y chwanegwyd bywyd a marwolaeth John Bunyan. Lerpwl, argraphwyd gan C. Waseencourt, yn Cook-street. M,DCC,LXXXI."

Tebygol mai dyma y llyfr Cymraeg cyntaf a argraffwyd yn Lerpwl neu Liverpool. Yr oedd hwn yn ailargraffiad; canys dywedir ei argraffu gan N. Thomas. Yr oedd yn rhaid fod hyny tua'r flwyddyn 1725. John Prichard, Bryniog Uchaf, ger Llanrwst, ydoedd cyhoeddydd yr argraffiad hwn, am yr hwn y ceir peth hanes yn "Nrych yr Amseroedd," gan R. Jones.

4. "Afalau Aur i Bobl Ifangc, &c, gan T. Brooks. Ail argraffiad [wedi ei ddiwygio gan Hugh Jones, o Faesglasau]. Rhagymadrodd gan Evan Williams. Argraffwyd yn y Mwythig, gan T. Wood, lle y gellir cael argraphu pob math o lyfrau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus, gan Ifan Tomos. 1782."

Am yr argraffiad cyntaf, gwel rhif. 5, 1732.

5. "Annerch i'r Cymry, o waith Ellis Pugh. Llundain, argraffwyd gan James Phillips. M,DCC,LXXXII."

Gwaith Crynwr ydyw, o ymyl Dolgellau, a aethai i Philadelphia. Cyhoeddwyd argraffiad arall yn 1802, a chan yr un argraffydd.

6. "Dwy Bregeth; y gyntaf, am y creaduriaid yn myned i mewn i Arch Noa, &c.; yr ail, am y Creaduriaid yn myned allan o'r Arch i fynydd Ararat, &c. Gan Edmund Jones, Gweinidog yr Efengyl. Trefecca; Argraphwyd yn y Flwyddyn 1782."

7. ¶ "Gwrthodedigaeth yn Brofedig: Neu 'r Athrawiaeth o Etholedigaeth Tragwyddol, a Gwrthodedigaeth, wedi ei ystyried, &c. Gan John Bunyan. Wedi ei Gymreigio gan John Thomas. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin, gan John Daniel."

8. ¶ "Crist yn Iachawdwr Cyflawn, &c. Gan John Bunyan. At ba un y chwanegwyd Nodau Profiadol ac Ymarferol, Gan Wm. Mason ac ereill, wedi ei Gymreigio gan y Parch. John Thomas. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin, gan John Daniel."

9. ¶ "Llwybrau Nefolaidd, &c. A gasglwyd o Lyfr a argraffwyd yn y flwyddyn 1664, fel yr ymddengis trwy gymmeradwyaeth Dr. J. Hall. Wedi ei droi i'r Cymraeg gan J. Davies. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin, gan J. Daniel."

10. "Gorfoledd yn Mhebyll Seion, neu ychydig o Hymnau Efengylaidd a gyfansoddwyd gan Dafydd William. Argraphwyd gynt yn bedair rhan, ond yn awr a argraphwyd yn un llyfr. Aberhonddu argraphwyd tros yr awdwr gan E. Evans. 1782. (Pris tair geiniog.)"

11. "Mer Difynyddiaeth Iachus: neu Bortreuad o'r Cyfammod Gras, a'r Cyfammod Gweithredoedd, &c., mewn dull o Ymddiddan. Gan Edward Fisher, A.M., y trydydd argraphiad. Wedi ei ddiwygio a'i gydmaru, &c. Trefecca; argraphwyd dros y cyhoeddwr, 1782. (Pris Swllt.)"

Gwel rhif 1, 1651; a rhif 1, 1754.

12. "Gair yn ei amser: neu Lythyr-annerch i'r cyffredin Gymry, &c. A ysgrifenwyd er tawelu, llonyddu, a gystegu y cwynfanau sydd ym mhlith y Cymry yn y dyddiau helbulus hyn; a'u cyfarwyddo at yr iawn amddiffynfa yn nydd trallod. Gan Hugh Jones, awdwr y Myfyrdodau ar Dymhorau 'r Flwyddyn, &c. Mwythig, argraffwyd gan T. Wood, &c. Pris dwy geiniog. 1782."

Yr awdwr ydoedd y diweddar H. Jones, o Faesglasau, ac ewythr i Mr. H. Jones (Erfyl), Caerlleon.

13. Llythyr y Gymanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1782. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst.

14. "Telynau i Blant yr Addewid, i'w canu ar eu taith o'r Aipht i Ganaan nefol: neu ychydig o Hymnau efengylaidd, &c. A gyfansoddwyd gan Dafydd Williams. Aberhonddu, argraffwyd dros yr awdwr, gan E. Evans, 1782."

15. "Rhai Hymnau newyddion, ar fesurau newyddion. Gan W. Williams. Yr ailargraffiad. Aberhonddu, argraffwyd gan E. Evans, 1782."

16. "Tystiolaeth o Ffydd ac Ymarferiad Eglwys Crist, yn Carter-lane, Southwarc, yn Llundain; Tan ofal gweinidogaethol Dr. John Gill: A ddarllenir ac a gydsynir â hi ar dderbyniad Aelodau. A gyfieithwyd, ac a gyhoeddwyd ar draul Dafydd Hughes o Lanelli, yn Sir Gaerfyrddin, ar ddymuniad amryw Ewyllyswyr da. Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans, 1782."

17. "Rhai geiriau ar ddull Marwnad ar farwolaeth yr anwyl a'r ffyddlon frawd John Philip o Lwyn-gyferthwch, ymhlwyf Llanelli. Ynghyd a rhai Hymnau

newyddion. Aberhonddu, argraffwyd dros John Evan, a Thomas Dafydd, gan E. Evans, 1782."

1783.

1. "Y Testamentwr, neu Bregeth ar y 9 o'r *Heb.* a'r 16, 17. Gan y Parchedig Mr. J. Morgans, Curat Llanberis yn Sir Gaernarfon. Trefriw. Argraphwyd gan Dafydd Jones, 1783."

Yr oeddym wedi clywed lawer gwaith, mai y diweddar Lewis Morris a sefydlodd wasg argraffu yn Modedern, yn Môn, ac mai y wasg hòno ydoedd gan Dafydd Jones, o Drefriw; ond ymddengys mai argraffweisg gwahanol ydoedd un Bodedern ac un Lewis Morris. Aeth John Rowland i'r Bala, a'i argraffwasg gydag ef, fel y dengys amseriad y llyfrau a argraffwyd ganddo. Yn mha le yn Môn yr oedd argraffwasg Lewis Morris, nid allasom gael gwybod, ac nid ydym wedi gweled un math o lyfr wedi ei argraffu yn Môn, ond yn ngwasg John Rowland, yn Modedern. Dywedai Mr. John Jones, Llanrwst—ŵyr i'r Dafydd Jones uchod,—wrth Mr. Robert Davies, Llansannan, mai ei dad—Dafydd Jones, o Drefriw—a brynodd hen wasg Lewis Morris. Gelwid mab Dafydd Jones, yn Ismael Davies; ond gelwir ei fab ef yn John Jones, gan gyrchu y cyfenwad i'w orhendaid, tad Dafydd Jones, enw yr hwn mae'n debyg ydoedd John, neu Sion. Yr oedd Dafydd Jones, o Drefriw, yn wr enwog yn ei oes—yn fardd a hynafiaethydd. Efe a olygodd ddau gasgliad o brydyddiaeth Gymraeg, sef, y "Diddanwch Teuluaidd," a "Dewisol Ganiadau." Efe a gasglodd at eu gilydd hefyd ystorfa helaeth o MSS., y rhai a brynwyd oddiar law ei feibion, gan y Parch. H. D. Griffith, Caerhun, ger Conwy, a chyflewyd hwynt ganddo ef, er cyflenwi yr "*Archialogia of Wales.*"

2. "Ffordd anffaeledig i foddlonrwydd, wedi ei Gymreigio gan y Parch. Peter Williams. Caerfyrddin."

3. "Rhodd i'th gymmydog, neu iawn adnabyddiaeth o Dduw, &c. Gan Sir Richard Hill, Marchog. O gyfieithiad y Parch. Thos. Jones, Curat Loppington, yn sir y Mwythig. Argraffwyd yn y Mwythig, gan T. Wood."

4. ¶ "Ystyriaethau ar ddull Pregeth, gan y Parch. Wm. Hughes, Person Llanfihangel-glyn-y-Myfyr. Caerlleon, argraffwyd gan Thomas Huxley; a anwyd yn Llanelwy, a'r unig argraffydd yn y parthau hyn ac sydd yn deall yr iaith Gymraeg."

5. ¶ "Dyferyn dewisol o Fel o'r graig Crist. Caerlleon argraffwyd gan T. Huxley."

Gwel rhif 12, 1740; rhif 4, 1762; a rhif 7, 1778. Pa un ai yn y lle uchod ai ynte cyn y flwyddyn 1765 y dylasai y ddau lyfr uchod fod sydd ansicr. Bu T. Huxley a W. Read yn *bartners* rhwng y flwyddyn 1765 a 1783; ond y rhai uchod a argraffwyd gan Huxley, heb enwi Read. Pa un ai yn nechreu ei yrfa argraffyddol y bu Huxley yn cydargraffu â Read, nid yw yn hawdd penderfynu; os yr olaf, buasai amseriad y llyfrau yn nes i'w lle yn 1765; ond os y cyntaf, a bod y *bartneriaeth* wedi ei gwahanu, yr hyn sydd fwyaf tebygol, a bod Huxley wedi sefydlu masnach ei hun, er mwyn tynu y Cymry ato,—yn cyhoeddi ei hun yr "unig argraffydd yn y parthau hyn, ac sydd yn deall yr iaith Gymraeg;"—y maent yn nes i'w lle fel uchod. Yr ydys hefyd yn methu cysoni yr ymffrost yna â ffeithiau eraill. Yr oedd Dafydd Jones yn Nhrefriw, ac "Efan Tomas" yn y Mwythig. Nid oedd ef, mae 'n wir, ond *foreman* yn swyddfa Wood; ac fe allai nad oedd Dafydd Jones wedi ei ddwyn i fyny i'r gelfyddyd, eithr yn cadw swyddfa trwy hurio gweithwyr; os felly, yr oedd ystyr gywir i ymffrost T. Huxley.

6. "Hanes daeargryn ofnadwy yn Itali. Gan Weinidog o Eglwys Loegr. Mwythig."

7. "Gogoniant Duw yn Iesu Grist, wedi ei osod allan mewn deuddeg pregeth ar *Ecsod.* xxiii. 21. Gan y Parch. Mr. Ebenezer Erscin, Gweinidog yr Efengyl yn Sterling yn Scotland. Newydd ei gyhoeddi yn Gymraeg gan Dafydd Hughes o gerllaw Llanelli, yn sir Gaerfyrddin. Argraffwyd yn y Bontfaen gan Rhys Tomas. Lle gellir cael argraphu a rhwymo pob rhyw lyfrau, 1787."

8. "Y Cwestiwn Mawr; sef, Pa fodd y myn Duw gadw dyn. Wedi ei egluro mewn pregeth, ar *Phil.* ii. 12, 13, &c. Gan E. Griffith, G. E. Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, 1783." 24 tudal. 12plyg.

9. "Rhybydd i Bechaduriaid, neu Hanes rhyfeddol am un Samuel Whilby, yr hwn a syrthiodd mewn Gweledigaeth ar y 15 dŷdd o Ebrill, 1756; Wedi ei gyfieithu ŷn Gymraeg gan un a chwenyche lesâd i lawer. Trefriw, Argraffwyd gan Dafydd Jones, 1783."

10. "Enterlute newydd ar ddull ymddiddan rhwng Protestant a Neillduwr. Gan Hugh Jones o Langwm."

11. "Llythyr y Gymmanfa, at yr Eglwysi, Yn y Flwyddyn 1783. Caerfyrddin Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst, Lle y mae pob math o lyfrau ar werth."

12. "Marwnad Elizabeth James, Casnewyddarwysg, Sir Fynwe. Gan Dafydd William. Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans."

13. "Hyfryd goffadwriaeth y Cyfiawn, neu farwnad i un Richard Jones, mab Mr. John Jones, o'r Homri, o blwyf Saint Nicholas, yn sir Forganwg, a gyfansoddwyd gan Ddafydd William. Trefecca, Argraffwyd tros yr awdwr, yn y flwyddyn M.DCC.LXXXIII."

1784.

1. "Llythyr o Gyngor Difrifol oddiwrth weinidog yr Efengyl at ŵr mewn cyflwr methiant afiachus. Gan y Parch. Mr. De Courcy. A gyfieithwyd gan Edward Barnes. Mwythig, Argraffwyd gan J. Eddowes."

2. "Speculum Terarum, &c., Cœlarum. Neu Ddrych y Ddaear a'r Ffurfafen, &c. Gan Mathew Williams, Land Surveyor. Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross."

3. "Dull Priodas Ysprydol rhwng Siloh a Sion, yn dangos tragywyddol gariad Siloh, Mab y Brenhin Alpha at Ferch yr hen Amoriad, sef, Yr Ail Ran o'r Pererindod Ysprydol o'r Aipht i Ganaan. Gan yr un awdwr, sef Ioan Bunyan. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross. M.DCCL.XXXIV. Ailargraphiad o rhif 2, 1758.

4. "Amser a diwedd Amser, yn ddau draethawd. A osodwyd allan gyntaf yn Saesoneg gan John Fox. Ac a gyfieithwyd yr awr hon i'r Gymraeg er daioni y Cymru. Gwrecsam, Argraffwyd gan R. Marsh."

5. "Llythyr oddi wrth Dafydd ab Ioan, y Pererin, at Ioan ab Gwilym, y Prydydd; Yn rhoddi byrr hanes o fywyd a marwolaeth y Parchedig Mr. Christopher Basset, Athraw yn y Celfyddydau, o Aber Ddawen, yn Sir Forganwg. Trefecca Argraffwyd, 1784."

6. "*The* History of *Wales*. Written originally in British, by Caradoc of Lhancarvan, *Englished by Dr. Powell*, and augmented by W. Wynne, Fellow of Jesus College, Oxon. To which is added, *A description of Wales*, by Sir John Price. *A new edition, greatly improved and enlarged with Pedigrees of Families.* London: printed for T. Evans, at No. 50 in the Strand, near York Buildings. MDCCLXXXIV."

Y mae y geiriau a roddwyd yn *Italaidd* mewn argraff goch.

7. "Hyfryd Goffadwriaeth y Cyfiawn, neu Farwnad Elizabeth James, o blwyf Casnewydd ar Wysg, yn sir Fynwe, &c. Aberhonddu argraffwyd gan J. Evans, dros yr awdwr Dafydd William."

Merch ieuanc ragorol mewn crefydd ydoedd hi. Bu farw yn 19eg oed. Yr oedd o deulu crefyddol. Yr oedd dau ewythr iddi yn weinidogion yn yr oes hòno.

8. "Dull o Ymddyddan rhwng Gweinidog yr efengyl, a Dysgybl ieuanc dan holiad. Gan Morris Griffiths, gerllaw Hwlffordd. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. M,DCC,LXXX,IV."

9. "Y Briodas ysbrydol; sef Pregeth, fuddiol, i bawb a garant ein Harglwydd Iesu Grist mewn gwirionedd, &c. Ym mha un y gosodir allan Undeb yr Enaid duwiol â Duw, a dedwydd gyflwr y cyfryw mewn bywyd, yn angeu, ac yn y farn. Gan P. W., gweinidog yr efengyl. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross. 1784."

Nid ellir ammheu mai y Parch. Peter Williams a feddylir wrth y P. W. uchod.

10. "A Tour in Wales. Vol i. and ii. London, printed for Benjamin White, at Horace's Head, in Fleet street. MDCCLXXXIV."

Teithlyfrau Pennant ydyw yr uchod.

11. "Ymddygiad Cristionogol; neu ffrwythau gwir Gristionogrwydd. Yn dangos y gwagedd o ba le y maent yn tarddu yn eu dwyfol drefniant yn nyledswyddau perthynasau, megis gwyr, gwragedd, rhieni, plant, meistriaid, gweision, &c. Gyda gair o Gyfarwyddyd i Wrthgilwyr. Gan Ioan Bunyan, carcharor gobeithiol. A gyfieithiwyd o'r ail argraffiad yn Saisonaeg. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross, dros P. Williams. M,DCC,LXXXIV."

12. "Marwnad ar farwolaeth y Parchedig Mr. Christopher Basset, yr ieuangaf, o Aberddawen, yn sir Forganwg, Athro celfyddydau, yr hwn a ymadawodd a'r byd yr 8fed o Chwefror, 1784. Yn yr 31ain flwyddyn o'i oed, ac a gladdwyd yn Saint Athens. Hwn oedd ŵr duwiol dysgedig a rhinweddol, yn bregethwr dwys, gwresog, ac awdurdodol, yn holl athrawiaethau yr ysgrythyr lân; yn arweinydd goleu i'r pererinion trwy holl hyfryd lwybrau 'r brynedigaeth yng Nghrist; a mawr alar sy yr awr hon am dano trwy holl ddeheudir a gogledd Cymru. 'Roedd ganddo ddiadell o rai duwiol yn Mhorthcery, yn agos i dŷ ei dad, i'r rhai y bendithiodd Duw ef. Y rhai sydd yn awr yn amddifad oni bai gweinidogion ffyddlon eraill, y rhai sy'n gwneud eu gorau am edrych attynt. Gan W. Williams. Aberhonddu, argraffwyd tros yr awdwr gan J. Evans. 1784."

13. "Musical and Poetical Relics of the Welsh Bards. By Edward Jones (Bardd y Brenin)."[1]

14. "Llythyr y Gymanfa at yr Eglwysi yn y flwyddyn 1784. Trefecca, argraffwyd yn y flwyddyn, M,DCC,LXXXIV.

15. "Antiquities of England and Wales, by — Grose, 10 vols. London, 1784." 4to.

16. ¶ "'Ti fuost ffyddlon ar ychydig, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd.' Marwnad er Coffadwriaeth o farwolaeth Mr. Dafydd Jones; pregethwr rhagorol yn perthyn i gynnulleidfa Pentre-tŷ-gwyn, yn sir Gaerfyrddin; yr hwn a ymadawodd a'r byd hwn, yn y flwyddyn 1784. John Morgan o blwyf Bedwillty a'i cânt. Trefecca, argraffwyd."

17. "Marwnad Mr. Christopher Basset. Gan D. William. Aberhonddu, argraffwyd gan J. Evans. 1784."

1785.

1. "Cyfiawnhad pechadur, neu 'r Arglwydd Iesu Grist, yr Arglwydd ein Cyfiawnder, a draddodwyd mewn amryw bregethau, gan Obadiah Grew, D.D., gynt gweinidog yr Eglwys yng Nghofentri. At ba un y chwanegwyd Traethawd byrr er amddiffyn Bedydd plant bychain, &c. Gan y Parchedig Mr. Nathaniel Taylor. Trefecca, argraffwyd yn y flwyddyn, MDCCLXXXV."

2. "Esboniad ar Ddammeg y Mab Afradlon. Gan John Bunyan. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross."

3. "Myfyrdodau Herfei, y rhan gyntaf, o gyfieithiad Iorwerth Barnes. Caerlleon, Argraffwyd gan J. Monk."

4. "Y Cwestiwn mawr, sef pa fodd y myn Duw gadw Dyn? Wedi ei egluro mewn Pregeth ar Phil. ii. 12, 13. Gan E. Griffith, G. E. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross. 1785."

5. ¶ "Darllen Dwfr a Meddyginiaeth. Gan Nathaniel Williams."

Un o gymydogaeth Meidrim, yn sir Gaerfyrddin, ydoedd N. Williams; a bu am beth amser yn weinidog cynnorthwyol, ordeiniedig i'r Bedyddwyr, yn Ffynnon Henry, yn yr un sir. Bu farw oddeutu 1815 neu 1816;—"Hanes y Bedyddwyr," gan D. Jones. Gwel hefyd rhif 12, 1765. Gall mai camgymeriad yw y mynegiad hwn; ni welsom ond y llall, a rhoddasom hwn ar awdurdod eraill.

6. ¶ "Goleuni yr Efengyl; Pregeth gan Edmund Jones, Ebenezer, Pont-y-pool."

7. "Gwaith Prydyddawl y diweddar barchedig Dafydd Llwyd, Gweinidog

[1] Gwel "*Williams' Eminent Welshmen.*"

Eglwys Llwyn Rhyd Owen, yn Sir Aberteifi. Caerfyrddin; Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst, 1785."

Yr oeddem wedi clywed llawer o siarad parchus iawn gan bobl grefyddol sir Aberteifi, rai blynyddau yn ol, am y gwr uchod. Creodd hyny ynom awydd i wybod rhywbeth yn helaethach am dano; yn enwedig gan nad yw Mr. D. Peter ond crybwyll am ei ordeiniad yn unig; ac nad yw Mr. Morgan yn cymeryd arno roddi hanes y cynnulleidfaodd i ba rai y perthynai Mr. Lloyd, sef yr hen henaduriaethwyr a gofleidiasant farnau Ariaeth, &c. Ysgrifenasom at ei wyr, y Parch. D. Lloyd, D.D., Athraw Ieithyddol Athrofa Caerfyrddin, a gweinidog Undodaidd yn y dref hòno; yr hwn, yn mhen amser, a'n hatebodd yn garedigol, i'r perwyl canlynol:—"Nid wyf yn meddu unrhyw bapyrau a rydd ddim hysbysiad o berthynas i'm diweddar dad-cu (taid), y Parch. D. Lloyd, o Llwyn-rhyd-Owen. Mi a ysgrifenais yn ebrwydd ar dderbyniad yr eiddoch, at gefnder hynach yn America, tad yr hwn a gafodd bapyrau, pregethau, &c., fy nhaid; ond efe a ddywed nas gall roddi ond ychydig o hysbysiad ar y pwnc. Efe ydoedd sylfaenydd y cynnulleidfaoedd Ariaidd ac Arminaidd yn sir Aberteifi. Yr oedd yn ysgolâig enwog, ac yn bregethwr nerthol iawn, ac yn ymlynol ymroddgar wrth yr egwyddorion mawrion o ryddid gwladol a chrefyddol, ac yn fardd o chwaeth dda ragorol. Cafodd ei ddysg yn y coleg hwn; ac ymadawodd i waith y weinidogaeth yn ei 18fed flwydd oed, oddeutu y flwyddyn 1742. Bu farw yn ei 54ain mlwydd oed, er galar cyffredinol gan bob sect a phlaid." Dywed Mr. D. Peter, mai yn 1743 yr ordeiniwyd ef yn Llwyn-rhyd-Owen; yr hyn sy'n gyson â dywediad Dr. Lloyd, uchod, iddo adael y coleg yn 1742, er y gall mai efe ydoedd sylfaenydd rhai o'r cynnulleidfaoedd hyny a enwa ei wyr. Yr oedd Ymneillduwyr y wlad hòno, yn enwedig cynnulleidfa Llwyn-rhyd-Owen, yr hon a ystyrid fel eu mam oll—wedi cofleidio Ariaeth, &c., o'r blaen trwy weinidogaeth Mr. Jenkin Jones, fel y crybwyllasom rai gweithiau o'r blaen yn ein herthyglau hyn. Ymddengys mai yn y flwyddyn 1778 y bu farw, ac mai 36 mlwydd y bu yn gweinidogaethu. Gwelir hefyd mai yn mhen saith mlynedd wedi ei farwolaeth y cyhoeddwyd ei "Waith Prydyddawl."

8. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1785. Trefecca; Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXV."

9. "Mesurwr Cyffredinol. Gan Mathew Williams. Ail-argraphiad."

10. "Llawlyfr Ysgrythyrol, neu Ddarluniad eglur o'r Ordinhad o Fedydd, wedi ei amcanu er budd i bawb a ddymunant atteb Cydwybod dda tuag at Dduw, a rhoddi rheswm dros eu ffydd a'u Hymarferiad gydag addfwynder ac ofn. Gan y Parchedig Mr. Samuel Wilson. Yr ail argraphiad yn Gymraeg; a Gyfieithwyd o'r pedwerydd Argraphiad yn Saesonaeg. 1785."

Cynnwysa 24 o dudalenau, ac heb enw argraffydd.

11. "Elegia, neu Fyfyrdodau ar farwolaeth Mary Thomas, o Drecastell, yn sir Forganwg. Gan Thomas Williams. Trefecca, 1785."

1786.

1. "Marwnad er Coffadwriaeth am Jane, gwraig Mr. Thos. Foulks, o'r Bala. A gladdwyd Hydref 28, 1785. Yn yr 68 o'i hoedran. Gan William Evans. Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn 1786."

Y W. E. uchod ydoedd, mae'n debyg, o'r Fedw-arian; am yr hwn y crybwyllir gan Mr. R. Jones, yn ei "Ddrych yr Amseroedd."

2. "Histori neu Hanes Bwystfil rhyfeddol a anwyd o wraig, mewn Pentref a elwir Methram, yn agos i Huddersfield, yn y flwyddyn hon, 1786. Trefriw, Argraphwyd, 1786."

3. ¶ "Ychydig o Ymddiddan difrfol rhwng dau ymdeithydd, sef Gwr Ifangc yn cwyno tan bwys cydwybod euog, a Hên Wr yn ceisio ei gysuro. Gan Hugh Williams. Trefriw, Argraphwyd."

4. ¶ "Gwallt Samson: Pregeth gan Edmund Jones, Ebenezer, Pont-y-pool."

5. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1786. Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVI."

6. "Immanuel. Neu Ddirgelwch dyfodiad Mab Duw yn y Cnawd. Wedi ei Agor. Gan y gwir Barchedig Dad yn Nuw, James Usher, Gynt Arch-Esgob Armagh, yn Iwerddon. Newydd ei gyfieithu i'r Gymraeg, gan W. Williams, Gweinidog yr Efengyl. Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVI."

7. "Marwnad John Thomas, Gweinidog Maesyberllan, gan Benjamin Francis. Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel.

8. "Hymnau a Chaniadau Duwiol, ar fesurau hen a newydd: gyda Phrofiadau Ysgrythyrol, er cadarnhad i'r gwirionedd. Gan Ioan Sanders, o Blwyf Penbre, yn sir Gaerfyrddin. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, (Gwerthwr Llyfrau, &c.) yn Heol y Brenin, Lle yr Argreffir pob math o gopiau, yn gywir ac yn hardd, ac am bris tra rhesymol. MDCCLXXXVI."

1787.

1. "Marwnad ar y Parchedig Mr. William Davies, o Gastellnedd; yr hwn a ymadawodd a'r Byd, ddydd Gwener y 17 o Awst, 1787. Yn y driugeinfed flwyddyn o'i oed, ac a gladdwyd ym Mynwent Castell Nedd; Wedi treulio tros 30 o flynyddau i bregethu Efengyl Crist ymhlith y Methodistiaid: ynghyd â rhai gwersi i eraill a fuont feirw yn yr Arglwydd. Gan William Williams. Trefriw; Argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVII."

2. "Y Cyssylltiad rhwng Ffydd Achubol a Gweithredoedd da, mewn Pregeth ar Tit. iii. 8. Gan y Parchedig John Hallward, A. M. Ficar Shubury, yn Sir y Mwythig, a Chyfaill o Ysgoldy Caerwrangon yn Rhydychen. Mwythig: Argraphwyd gan T. Wood, dros y Gymdeithas, yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVII."

3. "Marwnad ar Farwolaeth Mrs. Ann Parry. Gan y Parch. T. Jones. 1787."

Y gwrthddrych ydoedd yr hynod Ann Parry, o'r Bryn-bugad, sir Ddinbych; a'r awdwr, y diweddar Barch. Thomas Jones, o Ddinbych.

4. "Egwyddorion y Grefydd Gristionogawl yn gynhwysol mewn Catechism Byrr a osodwyd allan gan Gymmanfa o Ddifynyddion yn Westminster, yn y flwyddyn 1647, &c. Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn 1787. (Pris Pedair Ceiniog)

"Catecism y Gymanfa," ond wedi ei droi ar y pwnc o Fedydd yn ffafriol i drochiad, at wasanaeth yr enwad o Fedyddwyr, felly, ydyw. Y mae rhagymadrodd iddo gan Abel Morgan, am yr hwn y crybwyllir cryn lawer yn "Hanes y Bedyddwyr."

5. "Cynnadledd Ymresymaeg rhwng Pleser a Gofid; ar ddull Interlude, &c. Gan Thomas Edwards. Caerfyrddin." 12 plyg.[1]

6. "Testyn y Traethod yr Wythfed Llythyr, a gymerwyd o'r Littani. O waith Ellis Roberts, Cowper. Trefriw, Argraffwyd, 1787."

7. ¶ "Y Chweched Llythyr ar ddull pregeth. Gan Ellis Roberts, Cowper, Llanddoged. Trefriw, Argraffwyd."

8. "Marwnad ar farwolaeth y Parchedig John Thomas, Gynt o Faes y Dorglwyd, &c. Gan B. Francis. Caerfyrddin, Argraphwyd yn 1787."

9. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1787. Caerfyrddin: Argraphwyd gan John Daniel, yn Heol-y-Brenin."

10. "Can Dduwiol, &c. Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel, 1787."

1788.

1. "Dechreuad a Chynnydd Crefydd yn yr Enaid, &c. Gan P. Doddridge, D. D. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan John Griffith, Gweinidog yr Efengyl. Yn y Mwythig argraffwyd ac ar werth gan J. a W. Eddowes, a chan yr Awdwr yn Abergafenny."

Y John Griffith uchod ydoedd weinidog Ymneillduol, yn Abergafenni, ac wedi hyny yn Nghaernarfon, a thad y Parchedigion W. a J. Griffith, gweinidogion Annibynol—y cyntaf yn bresennol yn Nghaergybi.

2. "Yr Athrofa Rad, &c. O gasgliad a myfyriad John Roberts. M,DCC,LXXXVIII."

3. "Y Bibl Sanctaidd, gyda Sylwadau y Parch. Peter Williams. Argraffwyd yn Nhrefecca."

Y trydydd argraffiad. Gwel rhif 1, 1770; a rhif 5, 1781.

[1] Gwel "Gwladgarwr:" Mai, 1838, *tudal.* 144.

4. "Llyfr Gweddi Gyffredin a Gweinidogaeth y Sacramentau, &c. Mwythig; Argraphwyd ac ar werth gan Ann Prys. MDCCLXXXVIII."

5. "Esponiad ar y Deg Pennod gyntaf o Genesis, a rhan o'r unfed-ar-ddeg. Gan yr enwog a'r Parchedig John Bunyan. Newydd ei gyfieithu yn ofalus ac yn ffyddlon i'r Cymraeg, o'r Argraffiad diweddaf yn Saesonaeg. Caerfyrddin, Argraffwyd, gan John Daniel. (Pris Swllt heb ei rwymo.)"

Cynnwysa 160 o dudalenau wythplyg. Argraffwyd hwn hefyd yn Llanrwst, yn y ganrif hon. Yr oedd yn mwriad Mr. Daniel i gyhoeddi holl waith Bunyan, fel y prawf y nodiad a ganlyn ar waelod dalen olaf, "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi [y Bedyddwyr], 1789." —"N. B. Gan fod Mr. Daniel wedi cael ei siomi mewn perthynas i'w amcan i argraffu holl waith Mr. Bunyan, gan na ddaeth cynnifer o enwau ag oedd yn anghenrheidiol mewn trefn i'w annog i ddwyn yn y blaen waith mor bwysig, mae yn awr yn bwriadu gosod yn y wasg Esboniad Mr. Bunyan ar ran fawr o *Genesis*, o gylch swllt o bris. Ac os bydd yn gweled parodrwydd yn ei gydwladwyr i gymmeryd hwnw yn fuan oddiar ei law, y mae yn bwriadu argraffu y lleill, bob un, yn gyfatebol i'r blys a brofo mewn dynion i'w derbyn."

6. "Caniadau Sion: neu Hymnau Ysgrythyrol a phrofiadol, i'w canu yn nghynnulleidfaoedd y Saint, ynghyd â Marwnadau ac Odlau. Yr ail Argraphiad Gan J. Thomas, Gweinidog yr Efengil. Trefecca; Argraphwyd, ac ar werth yno, a chan yr Awdwr, a chan Mr. John Thomas, Siopwr yn Llannerch y Medd, Sir Fôn, a Mr. Owen Owens, Caernarfon. M,DCC,LXXXVIII."

7. "Troedigaeth Atheos, &c. Lle yr ymddengys Doethineb, Gallu, a Daioni Duw, mewn Creadigaeth, Rhagluniaeth, a Phrynedigaeth, &c. Yn Dair Rhan, &c. Gan J. Owen, Machynlleth. Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth dros yr Awdwr gan Ioan Daniel, yn Heol y Brenin. 1788."

Masnachwr yn Machynlleth ydoedd yr awdwr, un o berchenogion gwaith mwn y Dyfngwm, ac aelod o gymdeithas y Methodistiaid Calfinaidd. Bu farw yn Llangyndeyrn, sir Gaerfyrddin, 1830, yn 72 oed. Efelychiad yw y llyfr o "Theomemphus" Williams Pant-y-celyn.

8. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1788. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin."

9. "Marwnad, neu Dduwiol Goffadwriaeth am y Parchedig Mr. Thomas Davies; Gynt Gweinidog yr Efengyl; yr hwn a ymadawodd a'r byd hwn Gorphenaf 26, 1788. Gan Rees Lloyd. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin, 1788."

1789.

1. "Crynhodeb o Egwyddorion Crefydd, neu Gatecism byrr i blant ac eraill, i'w dysgu. Gan y Parch. T. Charles, A.B. Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXIX."

Yr uchod ydoedd yr argraffiad cyntaf o Gatecism Mr. Charles; yr hwn a gyhoeddwyd wedi hyny gyda chwanegiad, o dan yr enw "Hyfforddwr," ac a fu mor boblogaidd yn Ysgolion Sabbothol y Methodistiaid Calfinaidd, ac eraill, am dros driugain mlynedd. Un bychan 32 plyg ydoedd y cyntaf hwn.

2. "Nodau y Gwir Gristion yn cael ei brofi o'r Ysgrythyrau, &c, Caerfyrddin."

3. "Enw yn y Nefoedd, y sail gywiraf o lawenydd, &c. Gan Mathew Mead. Trefecca: argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXIX."

4. "Difrifol Ystyriaeth: sef i. Pa beth yw dyn. ii. A phwy yw Duw, &c. Caerfyrddin."

5. "Ffordd i fod yn happus mewn Byd Truenus. Caerfyrddin."

6. "Y Ddinas Sanctaidd, neu'r Jerusalem Newydd, &c. Gan y duwiol a'r enwog was hwnw o eiddo Crist, y Parchedig Mr. John Bunyan. Wedi ei gymreigio yn ofalus ac yn ffyddlon, er budd y Cymry uniaith, gan John Thomas. Caerfyrddin, argraffwyd ac ar werth gan Ioan Daniel, yn Heol-y-brenin, &c. 1789. [Pris 1s. wedi ei wnio, a 2s. 6ch. wedi ei rwymo gyda'r esboniad ar y deg pennod gyntaf o Genesis.]

Dyma yr ail lyfr o eiddo Bunyan, a gyhoeddwyd gan Mr. Daniel, er ymdrechu cyflawni ei fwriad o gyhoeddi ei holl waith.

7. "Amddiffyniad yn erbyn y cyhoeddiadau a wasgarwyd yn ddiweddar gan y Sosiniaid, &c. A osodwyd allan gan Wr Eglwysig at ei blwyfolion. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-brenin. M,DCC,LXXXIX.

8. "Pregeth ar yr Adgyfodiad Cyffredinol, yn Saesonaeg, gan y Parch. Samuel Davies, diweddar olygwr ar y Colledge yn Princeton, yn Jersey Newydd, yn America. Wedi ei chyfieithu i'r Gymraeg gan y Parch. M. Jones. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin gan I. Daniel."

9. "Angau a Nefoedd, gan Dr. Watts, o gyfieithiad Daniel Griffith. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Daniel."

10. "Llythyrau at Gyfaill ar y pwngc o Fedydd: ynghyd ag amddiffyniad o honynt, mewn 'chwanegol lythyrau. Gan y Parchedig B. Evans. Caerfyrddin: argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. 1789."

11. "Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym. O grynhoad Owen Jones, a William Owen. Llundain, argraffwyd gan H. Baldwyn, yn argraffdy y St. James's Chronicle. M,DCC,LXXXIX.

Bu Mr. Baldwyn farw yn 1813, yn oedranus iawn.

Dafydd ab Gwilym a anwyd mewn lle a elwir Bro Gynen, yn mhlwyf Llanbadarn fawr, yn sir Aberteifi, oddeutu y flwyddyn 1340. Mab ydoedd i Gwilym Gam, yr hwn oedd fab i Dafydd ab Ieuan ab Hywel ab Cynwrig ab Gronwy ab Meredydd ab Madog ab Iorwerth ab Llywarch ab Bran, yr hwn oedd sylfaenwr un o bymtheg llwyth Gwynedd. Ei fam oedd Ardudful, chwaer i Llewelyn ab Gwilym Fychan, o Emlyn, yr hwn oedd yn berchenog ar Emlyn a Chryngae, yn sir Benfro, a Dôl goch, yn sir Aberteifi. Treuliodd lawer o'i amser yn Llys Ifor Hael, o Wenallt, a Gwern y Cleppa, yn mhlwyf Maesaleg, yn sir Fynwy. Dyn lled drythyll oedd Dafydd, ac y mae llawer iawn o'i waith yn folawdlau i'w gariadau. Dywedir iddo unwaith benodi cyfarfod â'i gariadau oll ar yr un awr, o dan dderwen yn y gymydogaeth. Aeth ef ei hun yno yn brydlawn, a dringodd i frigau y pren, gan ymguddio yn nghysgod y cangenau i glywed y canlyniad. Yr oedd pob un yno yn brydlawn, a phob un yn rhyfeddu gweled yr un fenyw yno ond ei hunan. Wrth weled ei fod wedi chwareu cast â hwy, penderfynasant bob un y lladdent ef, pan y taflodd yntau gipolwg oddirhwng y cangenau uwch eu penau, gan draethu yr englyn hwn:—

"Y butain wen fain fwynaf—o honoch,
I hono maddeuaf;
Tan frig pren, a heulwen haf,
Teg anterth, t'rawed gyntaf."

Bu farw oddeutu y flwyddyn 1400; a chladdwyd ef, meddant, o dan un o'r yw mawrion yn mynwent mynachlog Ystrad Flûr, neu Ystrad Meurig, yn sir Aberteifi. Dywed y golygydd i'r gwaith gael ei gymeryd o "Lyfrau Lewys Rhisiart, a Gwilym Morrus o Fon," ac nad yw y cynnulliad yma, er ei fod yn helaeth, yn cynnwys fawr dros hanner gwaith Dafydd ab Gwilym, ond eto rhyfedd fod cynnifer wedi ymachub rhag disgyn i drigfanau anghof.—"*Meuryck's Cardigan*," a rhagymadrodd y llyfr.

12. "Ychydig o Reolau yw derbyn, a'i harfer gan bob dyn; ac a fydd am fod yn Gristion yn ol y Bibl. Yn ddwy ran. O gasgliad John Richard, Llwyngronw. Machynlleth, argraffwyd gan T. Evans. 1789."

13. ¶ "Ychydig o Hymnau, na buont yn argraffedig o'r blaen, o waith Edward Parry, o blwyf Llansanan, yn sir Ddinbych, ac hefyd o waith William Evan, o 'Fedw arian, ger llaw 'r Bala, yn sir Feirionydd, &c. Argraffwyd tros ddyn tlawd a elwir William Ellis, trwy ganiatad y brodyr Ynghymanfa Cairwys.

14. ¶ "Ychydig o Benhillion er coffadwriaeth am Robert Ellis, o'r Tŷ yn y Ddôl, yn agos i'r Bala; yr hwn a orphenodd ei yrfa Rhagfyr 31, 1788, yn 33 oed. Ynghyd a rhai hymnau newyddion, gan Maurice Davies. Trefriw, argraphwyd.."

Aelod o'r Gynnulleidfa Ymneillduedig o dan ofal y Parch. W. Thomas, Bala, ydoedd R. Ellis.

15. "Atteb Byrr i lyfr y Parchedig Mr. Benjamin Evans, ar y pwngc o Fedydd. Gan Ioan Rhys. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Daniel, Heol y brenin 1789."

Atebiad ydoedd i'r rhif 10 uchod.

16. "Gardd o Gerddi, gan Thomas Edwards.

Yr awdwr ydoedd yr hynod "Twm o'r Nant."

17. "Y Beibl Cyssegr-lân, &c., aphwyntiedig i'w darllen mewn eglwysi. Rhydychain, printiedig yn argraffdy Clarendon, tros y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol. 1789."

Bibl unplyg mawr i'r eglwysi ydoedd hwn.

18. "Dioddefiadau miloedd lawer o Ddynion Duon mewn caethiwed truenus yn Jamaica a lleoedd eraill; yn cael eu gosod at ystyriaeth ddifrifol y Cymry hawddgar, er mwyn ceisio eu hennill i adael Siwgr, Triagl, Rum. Gan Gymro, gelynol i bob gorthrech. Caerfyrddin, argraphwyd ac ar werth yno gan Ioan Daniel, yn Heol-y-brenin; Mr. Ross, yn Heol-Awst,—Mr. Tho. Morgan, wrth y farchnad, yn Abertawe; a Mr. O. Rees ym Mristo,—lle gellir cael ar werth Cân yn erbyn arferyd Siwgr. Pris Dimmeu. (Pris Ceiniog.)"

19. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi. 1789. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Daniel."

20. "Collection of Poems, published by W. Owen." 1789.

Y casglydd ydoedd y Dr. W. Owen Pughe.

21. "Britania, by W. Camden. Edited by ——— Gough, 3 vols. London." 1789. Folio.

22. "Marwnad ar farwolaeth Mrs Hannah Williams, o'r Bont-hîr, yn mhlwyf Llangatwg, gerllaw Caerlleon, yn sir Fynwy, yr hon a fu farw, Rhagfyr 3, 1788, yn 70 oed. At ba un y chwanegwyd Hymn Newydd, gan Dafydd William, o Gaerfyrddin. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Daniel. 1789."

Cristionoges dda, berthynol i eglwys y Bedyddwyr yn Hengoed, ydoedd y wraig hon.

1790.

1. "Tragywyddol Orphwysfa 'r Saint, neu draethawd ar ddedwydd gyflwr y Saint yn y mwynhad o Dduw yn y nefoedd. A 'sgrifenwyd gan y Parchedig, dysgedig a duwiol Mr. Richard Baxter. A gymreigiwyd gan Thos. Jones, curad Creaton, yn sir Northamton. Argraffwyd yn y Mwythig; ac ar werth gan J. a W. Eddowes. M,DCC,XC.

2. "Yr Hapusrwydd o nesau at Dduw, &c. Gan Thos. Watson. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross."

3. 'Gweddiaf â'r Ysbryd, neu Draethawd ar Weddi, &c. Gan John Bunyan. Caerfyrddin."

4. "Rhwygiad Llen y Deml: neu fynediad i'r Sanctaidd—Sancteiddiolaf trwy Farwolaeth Crist, &c. Gan y Parch. Ralph Erscin, A. M., awdwr y llyfr Marw i'r Ddeddf. Caerfyrddin."

5. "Cynnullion Barddorion, i Gantorion; sef Carolau, Cerddi, ac Englynion. Gan Daniel Jones [o blwyf Rhuabon.] Croesoswallt: argraphwyd ac ar werth gan J. Salter. M,DCC,XC. Prîs Swllt yn rhŷdd, neu Ddeunaw yn rhwŷm."

6. "Y Beibl Sangtaidd, gyda Nodau ysgrythyrol ar ymyl y ddalen. Trefecca, argraffwyd dros y Parchedig gyhoeddwyr P. Williams, a D. Jones. M,DCC,XC."

Gelwir hwn yn gyffredin yn Fibl John Cann. Gwnaed cryn lawer o gyfnewidiad yn y cyfieithiad, yr hyn a roddodd dramgwydd mawr i lawer yn yr oes hono. Dywed rhai hanesion mai un o'r Browniaid ydoedd Cann, a'i fod yn weinidog i gynnulleidfa Seisnig yn Holland tua'r flwyddyn 1660. Ond y mae y "*Broadmead Records*," yn rhoddi ei hanes yn un o'r Bedyddwyr. Gwel hefyd y "Gwyliedydd:" Hydref 1834, tudal. 297. Rhoddwyd hysbysiad hefyd ar ddiwedd "Llythyr Cymanfa y Bedyddwyr," am 1792, yr argreffid argraffiad wythplyg o'r uchod: ond nis gwyddom a wnaed hyny.

7. ¶ "Almanac Rhisierdyn, neu Gasgliad o ymadroddion Doethion, yn cynnwys Rheolau tra buddiol a chwbl angenrheidiol at Gynhaliaeth Dynolryw: &c. Argraffwyd yn Mhont-y-Fôn, ac ar werth gan H. Walters. (Pris dwy geiniog.)"

Mab ydoedd H. Walters i'r Parch. John Walters, awdwr y "*Dictionary.*"

8. "Angau a Nefoedd: dwy bregeth gan I. Watts, D.D. Cyfieithiwyd gan Daniel Griffith. Caerfyrddin."

9. "Can ar y testyn o Fedydd, mewn attebiad i eiddo y Parchedig B. Francis: ac mewn amddiffyniad i hawl Babanod i'r Ordinhad. Gan y Parchedig B. Evans. Machynlleth: argraphwyd gan T. Evans. 1790."

Am y ddadl hon, dywed Mr. J. Thomas, yn ei "*History of the Welsh Association.*"—"Oddeutu diwedd y flwyddyn 1788, daeth allan yn Gymraeg, "Draethawd ar Fedydd," gan Mr. Benjamin Evans, gweinidog gerllaw Aberteifi; ac yn 1789, daeth atebiad iddo gan Mr. William Richard, o Lynn (*Norfolk*), aelod gwreiddiol o Salem, yn sir Gaerfyrddin, eithaf adnabyddus â'i iaith enedigol, ac â'r ddadl Fedyddiol. Cyhoeddodd Mr. Benjamin Evans ailatebiad, ac atebodd Mr. Richard drachefn. Am y rhai sydd genym o'r llyfrau uchod, gwel rhif 10, a 15, 1789.

10. "Cadwedigaeth trwy Râs: neu draethawd am Râs Duw, &c. Gan John Bunyan. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Ross."

11. "Y Porth Cyfyng: neu 'r Anhawsdra mawr o fyned i'r Nefoedd, &c, Gan John Bunyan. Caerfyrddin."

12. "Pregeth ddiweddaf Mr. John Bunyan, ar *Ioan* i. 13. A bregethwyd yn Llundain ym mis Gor. 1688. O gyfieithiad Hugh Jones o Faesglasau. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Ross."

Nid ydys yn deall i'r tri diweddaf gael eu cyhoeddi ar wahan, ond yn un llyfryn, eithr fod gwyneb-ddalen i bob un.

13. "Rhodd i'th Gymmydog, neu Iawn adnabyddiaeth o Dduw, ac o Honom ein Hunain, &c. Gan Richard Hill, Marchog. O gyfieithiad y Parchedig Thomas Jones. Y drydydd argraffiad, allan o'r ddwyfed ar bymtheg yn Saesoneg. Mwythig, argraphwyd gan T. Wood. M,DCC,XC."

14. "Llun Anghrist, &c. Gan William Richard o Lynn."

Llythyrau ar Fedydd yw y llyfr hwn, yn erbyn rhif 10, 1789.

15. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1790. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Daniel, yn Heol-y-brenin."

16. "Gorchestwaith Beirdd Cymru yr Oes bresenol, yn Eisteddfod y Bala, &c. Argraffwyd gan J. Hughes, Yngwrecsham. 1790."

17. "Marwnad er Coffadwriaeth am fywyd a marwolaeth Thomas Sheen, gweinideg yr efengyl, o blwyf Glasgwm, yn sîr Faesyfed, yr hwn a orphenodd ei ei yrfa yr 28 o Chwefror, 1790, a'i lygaid yn gweled iachawdwriaeth ein Harglwydd. Gan Geidwad y Carchar. Aberhonddu, argraffwyd gan W. a G. North."

Dechreuodd Thomas Sheen bregethu mewn cysylltiad â'r Methodistiaid a'r Arglwyddes Huntingdon yn Nghymru, ond ni bu yn hir heb lyncu tybiau Antinomaidd, a thynodd rai dysgyblion gydag ef, ymhlith pa rai yr oedd Walter Watkin, ceidwad carchar Aberhonddu. Gwehydd ydoedd Watkin wrth ei gelfyddyd, ac yr oedd ganddo weithdŷ gwehydd yn y carchar. Crybwylla y Parch. John Prickard, un o'r pregethwyr Seisonig cyntaf a gyfododd gyda'r Wesleyaid yn y Deheudir, yn ei gofiant am dano ei hun, dan amseriad y flwyddyn 1770, am Mr. Watkin fel hyn:—"Yr wythnos ar ol hyn, casglodd y brawd Phillips[1] ynghyd y rhai mwyaf duwiol a synwyrol ag oedd yn ein cymdeithas ni (ac un gwr ieuanc, Walter Watkin, ag oedd yn perthynu i gymdeithas *Lady* H.), a darfu iddynt barhau i weddïo hyd hanner nos." Byddai yn gweddïo dair gwaith yn y dydd gyda y carcharorion, ac y mae hen bobl yn fyw hyd yn hyn, yn cofio ei glywed yn gweddïo ar yr esgynglwyd gyda y rhai a grogid. Wedi iddo encilio oddiwrth y Methodistiaid, ac ymlynu wrth Sheen, byddai yn pregethu mewn teiau lle y caffai, heb fod mewn cysylltiad â neb. Bu Sheen a'i blaid yn achos o gryn gynhwrf ymhlith y Methodistiaid yn y Deheubarth y dyddiau hyny, am yr hwn y crybwylla Mr. R. Jones yn dra chynnil yn ei "Ddrych yr Amseroedd." Wedi i Watkins fod felly am beth amser yn ceisio ffurfio crefydd newydd, dangosodd ei egwyddorion drwg eu hunain yn nirywiad ei rodiad; a chollodd ei le fel ceidwad y carchar oblegid ei feddwdod. Dywed i bennill cyntaf y farwnad redeg i'w feddwl yn Seisoneg mewn breuddwyd: ac iddo pan ddeffrodd, ei gyfieithu, a rhedeg ymlaen yn Gymraeg ar yr un mesur, sef yr hwn a elwir yn gyffredin "Mentra Gwen." Y mae prawfiadau ysgrythyrol gyferbyn a phob llinell. Y mae y cyfansoddiad mor gyfrifol a'r cyffredin o'r cyfryw gyfansoddiadau o'r oes hono.

1791.

1. "Rhyddyd: Traethawd a ennillodd Ariandlws Cymdeithas y Gwyneddigion

[1] Phillips ydoedd dad Mr. Evan Phillips, gof, Penpont, yr hwn ynta, yn awr, sydd yn dra oedranus.

ar ei thestyn i Eisteddfod Llanelwy, B. A. 1790. Gan Walter Davies. Llundain, argraffwyd gan T. Rickaby." 8plyg.

Yr oedd swyddfa argraffu Mr. Rickaby yn *Bow street.* Dystrywiasid y cwbl gan dân, Ionawr 16fed, 1788. Efe oedd y cyntaf i argraffu yr argraff fân sydd yn gwneyd ein llyfrau *diamond.*

2. "Dialogos, neu Ymddiddan rhwng Philalethes ac Eusebes, mewn perthynas i wir Gristionowgrwydd, &c."

Diffyniad Bibl bychan Peter Williams, sef yr un y gwnaed rhai cyfnewidiadau ynddo, am yr hyn y beiid Mr. Williams yn fawr. Yr awdwr, tybygid, ydoedd bardd Pant-y-celyn. Nid oes amseriad wrtho, na'r lle yr argraffwyd; ond gellid barnu wrth y llythyrenau, mai o wasg Trefecca y daeth allan. Ei amseriad yw "Gorphenaf 21ain, 1791."

3. "Awdlau ar Destynau Cymdeithas y Gwyneddigion i'r Eisteddfodau yn B. A. 1789, 1790, 1791, Sef Ystyriaethau ar Oes Dyn, Rhyddyd, a Gwirionedd. Gan Dafydd Ddu o'r Eryri. Ac ar werth gan Dafydd Thomas, o'r Waen-Fawr, yn Arfon. Llundain. Pris Swllt."

4. "Llyfr Gweddi Gyffredin. Caerlleon: Argraphwyd gan J. Fletcher. MDCCXCI."

5. "Marweiddiad Pechod mewn Credinwyr. Gan John Owen, D. D. O gyfieithiad Hugh Jones, o Faesglasau. Mwythig, Argraffwyd gan B. Partridge a J. Hodges."

6. "Pregeth eglur a difrifol ar Fedydd, yn ei gysylltiad ag Egwyddorion cyntaf ac yspryd Cristionogaeth. Gan W. Richard, Ll.D. gynt o Lynn."

7. ¶ "An Enquiry into the truth of the Tradition concerning the discovery of America by Prince Madog, son of Owen Gwynedd, about the year 1170, in two Parts. By John Williams, Ll. D."

Ganed Dr. Williams yn Llanbedr-pont-Stephan, yn 1727. Bu yn weinidog cynnulleidfaoedd Ymneillduol mewn amryw fanau yn Lloegr, ac yn lyfrydd Llyfrfa Dr. D. Williams, yn Llundain. Bu farw yn 1793, yn 66ain oed.

8. "Difyrwch diniwed | I blant i'w hystyried, | I'w cannu ar gynydd | Mewn deall a G. | Sef deunaw o Ganiadau | Ar amryw destynau. Gan Sion Llewelyn, o Goed-y-Cymer, yn y Faenor, sir Frycheiniog. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, 1780. [Pris Chwecheiniog.]"

Gwel rhif 8, 1772. Sion Llewelyn ydoedd ôf wrth ei gelfyddyd, ac yn aelod o Gymdeithas y Presbyteriaid, yn awr Sosiniaid, yn hen gapel Coed y Cymer. Efe ydoedd un o'r rhai cyntaf a wyrodd yn eu barnau yno, yr hyn o radd i radd a'u dygodd i'r hyn ydynt yn awr.

9. "Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1791."

10 "Y Siars a roddwyd gan Samuel, Arglwydd Esgob Ty Ddewi, i offeiriaid ei Esgobaeth, ar ei Ymweliad Cyntaf, yn y flwyddyn 1790. Ynghyd a Phregeth ar Gnawdoliaeth ein Iachawdwr, gan yr un Gwir Barchedig Awdwr. Wedi eu cyfieithu i'r Gymraeg gan y Parchedig John Harries, Curad Llanfrynach, yn Sir Frycheiniog, yn y flwyddyn 1791. Aberhonddu, Argraffwyd gan William a George North."

11. "Marwnad y Parchedig Mr. Daniel Rowlands, yr hwn a ymadawodd â'r Byd Hydref 16, 1790, yn 77 mlwydd o'i oed, ac a gladdwyd yn Llangeitho. Gan William Williams. Yr ail argraphiad. Trefecca; Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCI."

12. "Marwnad er coffadwriaeth am y Parchedig Mr. William Williams, Gynt o Bant y Celyn. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, M,DCC,XCI."

Y mae enw David Saunders wrth ei therfyn, yr hwn a fu am flyneddau yn weinidog cynnulleidfa o Fedyddwyr yn Merthyr Tydfil.

13. "Llinell i'r Byd, ac Alarwm i'r Eglwys. Marwnad Dafydd Evan, Gweinidog y Doleu, gan Thomas Morris. Caerfyrddin, I. Daniel, 1791."

14. "Marwnad y Parchedig William Williams, o Bant-y-Celyn; yr hwn a ymadawodd â'r Byd Ionawr 11, 1791, yn 74 o'i oed, ac a gladdwyd yn Llanfair-

bryn, yn sir Gaerfyrddin. Gan Jacob Jones. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin."

15. "Drych Olwg ar Dir Angof, neu Goffadwriaeth o farwolaeth y Parchedig Mr. Dafydd Morris o Dan yr Allt, Llangwnwr, Gweinidog y Porth tywyll, Caerfyrddin. Ynghyd a Choffadwriaeth o Farwolaeth Jane Sanders, Llanon. Gan Dafydd William. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel."

1792.

1. "Myfyrdodau diweddaf y Parch. Mr. Baxter ar Farwolaeth, &c. A dalfyrwyd gan Benjamin Ffosset, A. M., ag a gyfieithwyd o'r ail argraffiad yn Saesonaeg, gan William Thomas, Gweinidog yr Efengyl yn y Bala. Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCII."

Gan i ni gyfarfod âg enw William Thomas, gweinidog yr efengyl yn y Bala, yn dra mynych yn gysylltiedig â llyfrynau Cymreig y rhan olaf o'r ganrif ddiweddaf, yn enwedig gan mai efe ydoedd cyfieithydd a chyhoeddydd Esboniad Dr. Guyse ar y Testament Newydd, chwennychasom feddu rhyw gofnod i'w drosglwyddo am dano yn ein herthyglau hyn; a chan ein bod yn dra adnabyddus âg un o'i feibion—Mr. John Thomas, yr hwn yntau yn awr sydd wedi ei gyfrif ymhlith y meirwon—ni a ymofynasom gryn lawer âg ef, a thrwy ei gyfarwyddyd ef a'i chwaer—Mrs. Mary Johns, gweddw y diweddar Barch. David Johns, cenadwr yn Madagascar—galluogwyd ni i gasglu yr ychydig a ganlyn:—Yr oedd ei rieni yn amaethwyr cyfrifol; ei dad yn enedigol o sir Forganwg, a'i fam o sir Gaerfyrddin. Bu farw ei dad cyn i'r bachgen gyrhaedd ei ddeuddeng mlwydd oed, a symudodd ei fam i'w chymydogaeth ei hun. Rhoddwyd iddo addysg Seisneg dda; aeth i Lundain, lle yr oedd ganddo berthynasau mewn sefyllfa gyfrifol; a chafodd le gyda masnachwr yn Longacre, lle y bu am rai blyneddau mewn parch mawr. Yr oedd y pryd hyny yn ddyn ieuanc moesol a difrifol, ond yn hollol ddyeithr i grefydd. Pan yr oedd oddeutu 23ain oed, cafodd *fever* drom, ag oedd y pryd hyny yn ffynu yn Llundain; ac wedi ei adferu yn ddigonol, efe a symudodd at ei fam i ymyl Llanymddyfri. Yr oedd adfywiad crefyddol y pryd hyny mewn amryw o'r eglwysi. Eglwys-wraig, neu Làn-wraig zelog oedd ei fam, ond hudwyd ef gan gywreinrwydd i Cryg-y-bâr,—lle ag oedd y pryd hyny o dan weinidogaeth y Parch. Isaac Price—a than y bregeth hòno yr argyhoeddwyd ef. Ymunodd yn fuan â'r eglwys, ac yn mhen ryw amser wed'yn decbreuodd bregethu. Tybiai ei hun yn rhy hen i dreulio ei amser arferol mewn coleg, ond treuliodd ddwy flynedd yn efrydu yn Athrofa Dduwinyddol y Fenni, (Abergavenny), o dan Dr. Davies. Oddi yno ordeiniwyd ef yn nghapel Hanover, ger y dref hòno; ac yn mhen ychydig flyneddau wed'yn, efe a symudodd i'r Bala, lle y bu fyw dros 21ain o flyneddau. Bu farw yn y Bala, yn Mai, 1809; ac a fuasai yn 60ain mlwydd oed yr Awst canlynol—rhaid felly, y ganed ef yn Awst, 1749. Ystyrid ef yn bregethwr da, a gwir awyddus am wneyd daioni trwy ei bregethau a'i gyhoeddiadau: ond fel dynion da eraill, cafodd lawer o chwerwderau i'w hyfed oddi wrth yr eglwys a'i deulu. Yn ei glefyd olaf, caethiwyd ef i'w wely am dri mis; ac yn ystod yr holl amser hwnw, nid aeth cwmwl o aflonyddwch dros ei feddwl. Dewisodd yn destun ei bregeth anghladdol eiriau Dafydd, 2 *Sam.* xxiii. 5; gan adrodd yn fynych, gyda phwyslais—"Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi." Ei eiriau olaf oeddynt, "Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd."

Cyhoeddodd amryw fân-lyfrau, a gwnaeth yn dda o honynt, yn enwedig, waith Dr. Owen —"Angeu i Angeu." Ond y gwaith mwyaf a gymerodd arno, ydoedd, "Esboniad Guyse ar y Testament Newydd." Yn Nhrefecca y byddai yn argraffu ei holl lyfrau, fel ag yr oedd hefyd y rhan fwyaf o Ymneillduwyr rhanau canolbarthig o'r Dywysogaeth; ac yno y dechreuwyd argraffu "Guyse." Byddai Mr. Thomas yn prynu y papyr ei hun, ac yn ei anfon i Drefecca. Llawer o drafferth a gafodd gydag argraffwyr Trefecca. Byddai yn methu a chael y rhanau allan mewn pryd; ac anfonai ei fab (John) o'r Bala i Drefecca i ymofyn y rhanau, a'u cludo yn bwn ar gaseg fechan i'r prif ddosbarthwyr ar hyd y wlad; ac wedi ei fyned yno at yr amser addawedig, ni byddai rhan yn barod, yr hyn a orfyddai i'r bachgen aros wythnosau yn Nhrefecca, er mawr anghyfleusdra. O'r diwedd blinodd arnynt, a symudwyd ei argraffu at John Evans, Caerfyrddin; ac wedi hyny i Mr. Saunderson, Bala. Yr oedd wyth ran heb eu parotoi pan fu farw Mr. Thomas, y rhai y cafodd ei fab, gan Mr. Ebenezer Jones, o Bont-y-pool, eu cwblhau. Darfu i'r maith flyneddau ag y bu yr Esboniad hwn yn dyfod trwy y wasg, beri anghyfleusderau a cholledion trymion. Yr oedd deunaw cant yn ei dderbyn yn y dechreuad. Yr oedd Eglwys Henllan, yn sir Gaerfyrddin, yn derbyn 120 ei hun: ond cyn y diwedd, nid oedd mwy nag 800; yr hyn a wna fod mil o hono yn anorphenol ar hyd y wlad. Collodd Mr. Thomas *p*.300 yn yr anturiaeth.

2. "Drych Ysbrydol, sef ychydig o Ystyriaethau ar ystâd y Meirw, a Nef ac Uffern, &c. &c. Gan John Thomas, o Ben-ffordd-wen. Trefriw."

3. "Cynghor difrifol i un ar ol bod yn glaf, mewn llythyr oddiwrth Weinidog at un o'i blwyfolion. Gan Edmund Gibson (esgob Llundain, fel y tybir). Llundain."

4. "Hanes Troedigaeth y wraig o Samaria, &c. Wedi ei osod allan mewn Pregeth ar *Ioan* iv. 29. Gan y Parch. Ralph Erscin, A.M. Machynlleth argraffwyd gan Titus Evans. M,DCC,XCII" ,

5. "Dydd olaf y Credadyn ei Ddydd goreu, &c. Gan y Parch. Thomas Brookes. Machynlleth, argraffwyd gan Titus Evans."

6. "Gwledd i'r Eglwys, neu ddeuddeg Pregeth ar Gân Solomon. Gan y Parch. W. Romaine, M.A. A gymreigiwyd gan Thos. Jones, Curad Creaton, yn sir Northamton. Machynlleth, argraffwyd gan Titus Evans, M,DCC,XCII. (Pris 1*s.* 9*d.*—neu 13 am guni)."

7. "Undeb Crefyddol, Neu Rybydd yn erbyn Schism. Yn dangos ei Anghyfreithlondeb wrth reswm a'r ysgrythyr, a barn yr hen dadau yn y brif Eglwys. Gan Weinidog o Eglwys Loegr. Gwrecsam, argraffwyd gan T. Marsh."

8. "Heroic Eligies of Llywarch Hen, translated by William Owen, F.S.A., 1792." 8plyg.

Cynnwysa rhagymadrodd y llyfr hwn lawer o fynegiadau cywrain.

9. "Annogaethau Efengylaidd i Sancteiddrwydd Bywyd, &c. A dalfyrwyd allan o waith y Parchedig Mr. Flavel, gan W. Mason. Machynlleth, argraffwyd gan Titus Evans. M,DCC,XCII."

10. "Athrawiaeth Bedyddiadau wedi ei hadferu oddiwrth ei Llygredigaethau Cynnar a diweddar, a'i hadnewyddu i'r Iachus brif berffeithrwydd, yn ol gair y Gwirionedd, sylwedd ffydd, a natur Teyrnas Crist. Gan Wm. Dell, gweinidog yr efengyl, ac athraw Confil Chaius, dwy o'r brif ysgolion yng Nghambridge. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Daniel."

11. "Goruchwiliaeth Crist: neu Ragoriaeth yr Efengyl: sef pregeth y Dr. Playfere. Wedi ei Chymreigio gan y Parchedig Peter Williams. Caerfyrddin argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol y brenin. M,DCC,XCII."

Testun y bregeth uchod yw, "Phylip—a bregethodd iddo'r Iesu;" *Act.* viii. 53.

12. ¶ "Coron Gogoniant tra'gwyddol i'w ddewis o flaen holl olud y byd hwn—Pregeth Angladd, a bregethwyd ar farwolaeth y diweddar wir anrhydeddus a pharchus Arglwyddes Selina, Iarlles o Huntington; ac a bregethwyd o flaen yr Eglwys yn Heol-Jewin, yn Llundain. Ar ddydd Sul, Gorphenaf y 17eg, 1791. Gan y Parchedig T. Priestley, gweinidog y ddywededig eglwys, ac awdwr yr efengylaidd Feibl Teuluaidd—A gyhoeddwyd ar ddymuniad, ac a gyfieithwyd gan Edward Barns. Machynlleth, argraffwyd, ac ar werth gan Titus Evans."

Mr. Priestley uchod, ydoedd frawd i'r hynod Dr. Priestley, ac yn weinidog Ymneillduwyr Presbyteraidd fel yntau; ond yn hollol wahanol ei farn i'w frawd ar Berson ac Iawn Crist—yn "Efengylaidd." Wedi ei farwolaeth ef, syrthiodd y gynnulleidfa yn Heol Jewin, trwy ddylanwad ei olyddion, i'r un cyfeiliornadau ag eraill o'r corff hwnw, yr hyn a wywodd y gynnulleidfa agos i ddyddymdra; a darfu i'r rhelyw o'r ymddiriedolwyr werthu y capel i'r Wesleyaid, rai blyneddau yn ol, y rhai a'i helaethodd gryn lawer.

13. "Hanes Ferr o fywyd Howell Harris, Yswain; a dynwyd allan o'i Ysgrifeniadau ef ei hun. At ba un y chwanegwyd Crynhodeb byrr o'i Lythyrau o'r flwyddyn 1728, hyd y fl. 1772. Trefecca: argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXII."

14. "Tafol Gywir i bwyso Sosiniaeth: neu Atteb i Lyfr a gyhoeddasid yn ddiweddar, dan yr enw Appel at Broffeswyr difrifol, &c. Gan y Parchedig Peter Williams, gynt Curad Eglwys Gymmun. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Daniel, yn Heol-y-farchnad. M,DCC,XCII."

15. "Coffadwriaeth o Farwolaeth Mr. Josiah Evans. Gan George Rees. Trefecca: argraphwyd. M,DCC,XCII."

16. "Dirgelwch Duwioldeb: neu Athrawiaeth y Drindod: wedi ei datguddio mewn dull eglur a chynnefin, i'r Diben o wneuthur Egwyddorion Crefydd Crist yn hyfryd, ac yn flasus, i bob Enaid duwiol, yn ddirgel ac yn gyhoedd. Gan y Parchedig Peter Williams. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Bren. M,DCC,XCII."

17. "Ymddyddan rhwng Methodist Uniawngred ac un camsyniol. Y trydydd argraffiad. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Daniel. M,DCC,XCII."

Gwaith Rowlands, Llangeitho, ydyw yr uchod. Ni welsom ond un argraffiad o'r blaen; sef, rhif 12, 1750.

18. "Llythyr y Gymanfa yn y flwyddyn 1792. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Daniel."

19. "Coffadwriaeth o farwolaeth y Parch. Dafydd Jones, Dol-goch, gweinidog yr efengyl, gynt o Bont y pool, ac yn ddiweddar o eglwys y Graig, Castellnewydd yn Emlyn. A gyfansoddwyd yn Paris, Ffrainc. Gan y Parchedig Morgan Rees. Yr ail argraffiad. Trefecca, 1792."

Y Morgan Rees uchod oedd golygydd y "Cylchgrawn."

20. "Coffadwriaeth o farwolaeth y Parchedig Mr. David Jones o'r Ddol-goch. Gan Dafydd William. Caerfyrddin. I. Daniel, Heol y Brenin."

21. "Galarnad er Coffadwriaeth am y Parchedig Mr. David Jones, o'r Ddol-goch, yn sir Aberteifi. Yr hwn a ymadawodd â'r byd hwn mewn tawelwch, Ionawr 24, 1792, yn 52 oed. Gan Maurice Jones. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Daniel.

Gweinidog y Bedyddwyr ydoedd Mr. Dafydd Jones; ac ymddengys ei fod yn barchus iawn gan ei frodyr; canys dyma dri gweinidog yn cyfansoddi galarnadau ar ei ol. Yr olaf oedd frodor o Langollen, ac yn gweinidogaethu yn Merthyr Tydfil y rhan olaf o'i oes.

22. "The History of the Boroughs of Great Britain. 3 vols. London, 1792." 8plyg.

23. "Carnarvonshire. A Sketch of its History, Antiquities, Mountains, and Productions. London. MDCCXCII."

Awdwr y llyfr uchod ydoedd y Parch. Nicholas Owen, person Botwnog a Meilldyrn, yn y sir uchod. Gwel rhif 15, 1777.

24. "Observations on the River Wye, and several parts of South Wales, &c. Relative to Picturesque Beauty, 1792."

1793.

1. "Athrawiaeth y Drindod, mewn tair Pregeth, &c. O gasgliad B. Jones. Machynlleth: argraffwyd gan Titus Evans, M,DCC,XCIII. [Pris chwe' cheiniog.]"

2. "Sylwadau ar Draethawd a elwir Undeb Crefyddol, neu Rybydd yn erbyn Schism, &c. Mewn ffordd o Lythyr at yr awdwr o hono. Yn dangos o Athrawiaeth a amddiffynir gan y Bibl, a chan erthyglau a Homiliau Eglwys Loegr, ym mha un y mae efe yn proffesu ei fod yn Weinidog, ynghyd a phrawf o'i gam farn ar y bobl a elwir Methodistiaid, &c. Gan Thomas Jones, o'r Penuchaf, ger llaw Caerwys. Llundain, argraffwyd gan Vaughan Griffieths, 1793."

Yr awdwr ydoedd y diweddar Barch. T. Jones, Dinbych; a'r llyfr y mae yn sylwi arno yw rhif 7, 1792.

3. "Cynghor i'r Cymry, mewn deuddeg o bennodau, &c. Gan Morris ab Robert, o'r Bala. Trefecca, argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCIII. [Pris chwe' cheiniog.]"

4. "Y mawr bwys o fod ein tybiau mewn crefydd yn gyson a'r Ysgrythyr.—Pregeth a bregethwyd o flaen Cymmanfa o Weinidogion yn Ringwood, Gorphenaf, 29, 1788. Gan y Parch. David Bogue o Gosport. Wedi ei chyfieithu o'r ail argraffiad yn Saes'naeg a'i chyhoeddi er lles i'r Cymry. Gan y Parch. Lewis Rees. At ba un y chwanegwyd Hymnau ar destynau efengylaidd, gan E. ap Iago ap Dewi. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross, yn Heol Awst. 1793."

5. "Cylchgrawn Cymraeg. Neu Drysorfa Gwybodaeth; rhifyn cyntaf, Pris chwe' cheiniog. Am Chwefror, 1793. Trefecca: argraffwyd yn y flwyddyn 1793."

6. "Urbania, neu Grefyddol Ddadleuon. Gan John Thomas, Pen y ffordd wen. Gwrecsam, argraffwyd gan R. Marsh. 1793. (Pris chwe' cheiniog.)"

7. "Cywydd y Drindod. Gwaith Dafydd Ionawr. Argraffwyd yng Ngwrecsam, gan A. Hughes. M,DCC,XCIII."

8. "Geiriadur Cymraeg a Saesoneg—A Welsh and English Dictionary: compiled from the Laws, History, Poetry, Bardism, Proverbs, and other Monuments of the Knowledge and the Learning of the Ancient Britons, with numerous and select Quotations to elucidate the Meaning of Words. To which is prefixed, A Welsh Grammar. By William Owen, F.A.S. London: printed for E. and T. Williams, Strand. 1793."

Bu Evan Williams dros ddeugain mlynedd yn llyfrwerthydd Cymreig yn y Strand, ac am bymtheng mlynedd ar hugain yn aelod gweithgar o bwyllgor yr Ysgol rad Gymreig. Bu farw Awst 25ain, 1835, yn 86 oed. T. Williams ydoedd cyhoeddydd cyntaf yr "*Evangelical Magazine.*"

9. "Prif Ddyledswyddau Cristion, sef anghenrhaid a mawr lles Gweddi Gyffredin, a mynych Gymmuno, &c. O waith y Gwir Barchedig Dad yn Nuw, William Beveridge, D.D. Diweddar Arglwydd Esgob Llan Elwy. Ac o gyfieithiad Edward Samuel. Caerlleon: printiedig gan John Fletcher, 1793." 227. tudal. 12plyg.

10. "Meddyliau yr Esgob Watson am y cyfnewidiad diweddar yn llywodraeth Ffrainc, Rhyddid crefyddol, a Hawl yr Ymneillduwyr, wedi eu gosod allan ger bron gweinidogion Esgobaeth Llandaf, yn yr Ymweliad diweddaf, Mehefin 1791. Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross. M,DCC,XCIII. [Pris dwy geiniog.]"

11. "Cynghor Cristionogol, mewn efengylaidd gariad, at bawb y mae yn perthyn iddynt, &c. Caerfyrddin, argraffwyd tros yr awdwr, gan I. Daniel. M,DCC,XCIII."

12. "Y Drefn o gynnal Crefydd yn Unol Daleithiau yr America: ynghyd a darluniad byr o Kentucky, a rhesymau digonol i gyfiawnhau 'r cyfryw sy'n myn'd o'r wlad hon i America, a Chynghor i'r Cymry. Pris 2c. neu 1s. 6c. y ddysen. Gan Morgan ab Ioan Rhus."

13. "Dwy Farwnad ar farwolaeth y Parch. Josiah Evans, o'r Ty'n y Cwm, yn Abergwesyn. i. Gan Sechariah Thomas. ii. Gan John Evans. Trefecca. M,DCC,XCIII."

14. "Pharmacopoeia or Medical Admonitions, English and Welsh, Containing a select body of useful and elegant Medicines, for several disorders incident to the human body. By N. Williams. The first part. Trevecka: printed, M,DCC,XCIII. (Price sixpence.)"

15. "Llythyr y Gymmanfa yn y flwyddyn 1793. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Daniel."

16. "Iachawdwriaeth. Gan Benjamin Francis, A. M. Caerfyrddin, argraphwyd, ac ar werth yno gan I. Daniel. M,DCC,XCIII."

17. "Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn y Bala, yn sir Feirionydd, Mai 29, a'r 30: 1793. At Eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd yn Nghymmry, a elwir yn gyffredin Independiaid. Trefecca, argraphwyd yn y flwyddyn, M,DCC,XCIII."

18. "Ymddiddan rhwng y Pulpit a'r Ddesg ddarllain. Liverpool. J. M'Creery, Printer. 1793."

19. "The Celtic Remains, originally collected by the late Lewis Morris; augmented and aranged by Walter Davies, of All Souls College, Oxford. London, E. Williams, 1793."

20. "The Works of Taliesin, a Bard of the sixth centuary. With a Little English Version and Notes. By William Owen. London: E. Williams."

21. "Rhesymmau Ysgrythurol i brofi fod Iesu Grist yn Wir Dduw yn gystal ag

yn wir ddyn. Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross (Gwerthwr Llyfrau, &c.), 1793."

1794.

1. "The Literary Life of the late Thomas Pennant, Esq. By Himself. London, Printed by B. & J. White." 4to.

2. ¶ "Pregeth am y drwg o farnu yn galed ar eraill a'u dirmygu. Gan Josiah Rees. Llundain, Argraphwyd gan V. Griffith, Paternoster row."

**Mr. Rees ydoedd weinidog yr Henaduriaethwyr (Sosiniaid yn awr) yn y Gelli Onen, ger Abertawy.**

3. "Drych y Prif Oesoedd, yn ddwy ran. i. Yn traethu am hen ach y Cymry, o ba le y daethant allan, y Rhyfeloedd a fu rhyngddynt a'r Rhufeiniaid, y Brithwyr, a'r Saeson, a'u Moesau cyn troi yn Gristionogion. ii. Yn traethu am Bregethiad a chynnydd yr Efengyl ym Mrydain, Athrawiaeth y Brif Eglwys, a Moesau 'r prif Gristionogion. Gan Theophilus Evans, gynt Ficar Llangammarch, yngwlad Füallt, a Dewi, yn swydd Frecheiniog. Croesoswallt; Argraphwyd gan W. Edwards. M,DCC,XCIV."

4. "Cyngor Gamelin, neu ddyledswydd Brydain, mewn Pregeth ar ddydd Ympryd, Chwefror 28, 1794. Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, 1794. (Pris 2d.)"

5. "Hymnau a Chaniadau ysprydol. Yn dri llyfr, &c. Gan Isaac Watts, D.D. Ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Dafydd Jones, Cyfieithydd y Salmau. Y trydydd Argraphiad. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol Awst. M,DCC,XCIV." 238 tudal. 12plyg.

6. "General view of the Agriculture of the County of Pembroke, by Charles Hassal. London. 1794." 4to.

7. "Yr Athrawiaeth Gatholig o Ddrindod, gwedi ei phrofi trwy ragor nâ chant o Resymau byrr ac eglur, pa rai a draethir yng ngeiriau 'r Ysgrythur Lân, a'u cydmaru mewn dull hollol newydd: Ac a ddosberthir dan y pedwar titl canlynol, 1. Duwdod Crist. 2. Duwdod yr Yspryd Glan. 3. Drindod o Bersonau. 4. Drindod yn Undod, &c. Gan William Jones, M. A., F. R. S., Person Paston; yn swydd Northamton, a gweinidog Nayland, yn swydd Suffolk. Newydd ei gyfieithu o'r chweched argraphiad Saesonig, i'r Gymraeg, ac mewn rhyw fesur wedi ei dalfyru, gan J. Williams. Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCIV." 96 o dudal. 12plyg.

**Y cyfieithydd ydoedd fab i Ganiedydd Pant-y-celyn.**

8. "Llyfr Gweddi Gyffredin. Argraffwyd yn Nghaerlleon, gan J. Fletcher."

9. "Crist bywyd y Credadyn; sef Pregeth a bregethwyd ar farwolaeth Madam Jones o Pencerrig, yn sir Faesyfed, &c. Gan John Thomas; yn awr wedi ei chyfieithu i'r Gymraeg gan yr awdwr. Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel."

10. ¶ "Egwyddorion yr Iaith Gymraeg, gan H. a Dafydd Thomas."

11. ¶ "De Ultimo Judicio: neu Gân am y Farn Ddiweddaf, &c. Wedi ei gyfansoddi a'i gydmaru â gwaith Saesonaeg Mr. B. Francis. Gan M. Williams. Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel."

12. "Casgliad defnyddiol o waith amryw awdwyr, wedi cael eu cynnull gan Edward Roberts, Tŷ newydd, Cefn-y-ddwysarn, gerllaw y Bala. Argraffwyd yn Ngwrecsam, gan A. Hughes."

**Y mae hwn yn cynnwys "Athrawiaeth i ddysgu ddarllain," &c.; Naw o Lythyrau Ellis Robert, y cowper; Hanes Mr. Richard Brightly; ac Awdl ar Ddadl y Nefoedd.**

13. "Geirlyfr Saesonaeg a Chymraeg, gan John Walters, A. M., Person Llandochan, sir Forganwg." 4plyg.

**Yr oedd yn feistr yr Ysgol Ramadegol yn Bontfaen. Ysgrifenodd hefyd Draethawd ar yr Iaith Gymraeg, a rhai Pregethau. Bu farw yn 1797.**

14. "Musical and Poetical Relics of the Welsh Bards, Preserved by Tradition

and Authentic Manuscripts, from very Remote antiquity; Never before Published, &c. With a select Collection of the Pennillion and Englynion, or Epigrammatic Stanzas, Poetical Blossoms, and Pastoral Songs, of Wales, with English Translation. Likewise, a General History of the Bards and Druids, from the earliest period to the present time: with an account of their music and poetry. To which is prefixed, a Copious Dissertation on the Musical Instruments of the Aboriginal Britons. By Edward Jones, Bard of the Prince, native of Henblas, Llandderfel, Merionethshire. London, Printed, 1794."

15. "Lyric and Pastoral Poems. In two volumes. By Edward Williams, Bardd wrth fraint a defod Beirdd Ynys Prydain. London; Printed for the Author, by J. Nicholas, 1794."

Cyfrolau bychain deuddegplyg ydynt; ond yr oeddynt yn werth deg swllt trwy danysgrifiadau. Yr oedd agos holl bendefigion y deyrnas yn dderbynwyr.

16. "Account of Richard Davies, and the spreading of the Gospel in North Wales. 1794." 12mo.

17 "Llythyr y Gymmanfa yn y flwyddyn 1794. Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel."

18. "Athrawiaeth y Drindod, mewn rhan o Lythyr Cymmanfa oddiwrth Weinidogion a Chenhadon amryw Eglwysi Bedyddiedig, mewn cyfarfod yn Olney, Bucks, yr 28, 29 o Fai, 1776. A ysgrifenwyd gan y diweddar wir Barchedig Mr. Robert Hall. Ac a gyfieithiwyd o'r ail argraphiad Saesonig gan Josuah Thomas. Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel. M,DCC,XCIV."

19. "Pneumatica, neu Gwaedd yn Neheubarth a Gwynedd, yn erbyn y gormeswr creulon hwnw, sef Capten Tivor, &c. O gasgliad J. Williams. Trefecca. M,DCC,XCIV."

20. "Pigion o Hymnau a Salmau, &c. O gasgliad Morgan ab Ioan Rhus. Y rhan gyntaf, pris Tair Ceiniog. Caerfyrddin, argraphwyd ac ar werth gan Ross a Daniel. 1794."

21. "Sylwadau ar y Dirywiaeth mewn Pregethu a Chanu, yng Nghymru. At ba un y'chwanegwyd atteb y cyfieithydd, &c.

Nid Preiliaid, Ffeiriaid, neu Fferen—ddylem
Ni ddilyn yn llawen,
Mab Duw, nid Pab yw ein Pen,
Cydbwys i fod ein Cadben.

Gan William Williams, J. P. &c., V. D. M. Wedi ei Gymreigio gan Morgan ab Ioan Rhus. Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-farch M,DCC,XCIV."

Y Williams uchod ydoedd weinidog i'r Bedyddwyr, yn Aberteifi ac Ebenezer, sir Benfro. Yr oedd hefyd yn ynad yr heddwch. Y ddwy swydd a olygir wrth y llythyrenau ar ol ei enw.

22. "Can Newydd o berthynas i'r Rhyfel a'r Terfysg sydd y pryd hwn tros ran fawr o'r byd. Gan John Morgans. Llundain, argraffwyd.

23. "Llythyr Cymmanfa Ddeheuol y Bedyddwyr yng Nghymru, yr hwn a gynhaliwyd yn Olcton, yn sir Henffordd, y 4ydd a'r 5ed o Fehefin, yn y flwyddyn 1794."

Nid oes enw argraffydd i'r llythyr uchod.

24. "Tabl yn cynnwys Maintioli, Hŷd, Lled, a Rhifedi 'r trigolion, ynghyd a'u hamrywiol grefyddau yn yr holl Wledydd ac Ynysoedd y byd. Hefyd y mae yn canlyn Ymofyniad i'r angenrheidrwydd o arferyd moddion i ddychwelyd y Paganiaid i wybodaeth o'r unig wir Dduw a'r Iachawdwr Iesu Grist, ynghyd a'r rhwymau sydd ar y Cristionogion i ddiwygio oddiwrth goelgrefydd. Meddyliau Prophwydoliaethol am y cyfnewidiad diweddar yn Ffraingc. Llythyr oddiwrth Wr bonheddig o Paris, yn cynnwys Prophwydoliaethau hynod a gafwyd yno ar garreg wedi bod o gylch 600 mlynedd dan sylfaen tŷ.

At ba un y chwanegwyd, Pregeth ar yr achos o Rhyfeloedd, oddiwrth y *Barnwyr* v. 8. Caerfyrddin, argraphwyd dros y cyhoeddwr gan I. Ross. 1794."

25. "Annerchiad difrifol i'r Cymry. Gwrecsam. 1794."

Y mae dwy bregeth yn gysylltiedig â'r annerchiad hwn; un gan M. J. Rhus, a'r llall gan John Jones, Ramoth wedi hyny, y rhai a draddodwyd yn Nglynceiriog, sir Ddinbych, ar yr achlysur o neillduo henuriaid a diaconiaid i eglwys y Bedyddwyr yno.

26. "Marwnad neu Dduwiol Goffadwriaeth am y Parchedig Edmund Jones, gynt gweinidog Ebenezer a Blaenau Gwent, yn sir Fynwy. Gan Rees Lloyd, ynghyd a Phregeth o eiddo y Parch. E. Jones. Trefecca. 1794."

27. "General view of the Agriculture of the county of Brecknock, &c. By John Clarke. London. 1794." 4to.

28. ¶ "Tirion Wahoddiad i bob bechadur ddyfod at Iesu Grist. Yr ail argraffiad. Caerfyrddin, argraphwyd gan John Daniel, yn Heol y brenin."

29. "Sylwedd dwy Bregeth, ar Neillduaeth John Edward, a Thomas Jones i swydd henuriaid; ac Edward Hughes a John Roberts i swydd diaconiaid, yn nhy cyfarfod, y bobl, a elwyr yn Fedyddwyr; yn Glynceiriog, Gorph. 2, 1794. Y Bregeth Gyntaf, a'r Ddyledswyddau Swyddogion Eglwysig: a'r ail, a'r Ddyledswyddau 'r bobl, at eu swyddogion. Gwrecsam: argraphwyd gan Joseph Tye—1794. Pris Tair Ceiniog."

1795.

1. "Tracts of Powys. By Philip York, Esquire of Erthig, near Wrexham."

Hwn oedd cynsail y "*Royal Tribes of Wales,*" a gyhoeddwyd wedi hyn.

2. "Annerch Ieuengctyd Cymru. Yn iv. rhan, &c. i. Areithyddiaeth, &c. ii. Rhifyddaeg, &c. iii. Naturiol Athronddysg, &c. iv. Awyryddiaeth, &c. Gan John Thomas. Argraphwyd yn Ngwrecsam, gan M. &c S. Marsh, 1795. [Pris Hanner Coron mewn papur glâs.]" 376 o dudal. 12 plyg.

Gelwid yr awdwr yn John Thomas, Pen-y-ffordd-wen.

3. "The Miscellaneous Repository: neu y Drysorfa Gymmysgedig. Rhifyn cyntaf, pris Chwe' cheiniog, i ddyfod allan yn Chwarterawl; am y chwarter haf, 1795. Caerfyrddin, argraffwyd gan I. Ross. 1795.".

Cyhoeddiad Sosinaidd ydoedd hwn.

4. "Caniadau Duwiol, o waith Mr. Thomas Lewis, gynt o'r Ynyswen, ym mhlwyf Llanegwad, yn sir Gaerfyrddin; ac, ar un amser, o Gastell Hywel, yn sir Aberteifi. Caerfyrddin, argraphwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,XCV. [Pris swllt heb ei rwymo.]"

5. "Llythyr Cymmanfa dde-ddwyreiniol y Bedyddwyr, yn Nghymru, &c. 1795. Trefecca: argraphwyd yn y flwyddyn, M,DCC,XCV."

6. "A History of Baptist Associations in Wales, from the year 1650, to the year 1790, shewing the Times and Places of their Annual Meetings, whether in Wales, London, or Bristol, &c. Including several other interesting articles. By Joshua Thomas, of Leominster. London, 1795."

7. "Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn y Mynyddbach, wrth Abertawe, yn sir Forganwg, Mehefin yr ail a'r trydydd, 1795, at eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst, M,DCC,XCV.

8. "Caniadau, y rhai sydd ar y Mor o Wydr, &c. Y pummed argraffiad, gyda chwanegiad o Hymnau eraill, o waith yr awdwr. Gan y diweddar Barchedig W. Williams. Trefecca, argraffwyd yn y flwyddyn M,LCC,XCV."

Dyna y dull gwallus y mae y llythyrenau rhifyddol; ac amlwg yw mai gwall ydyw, ac mai y flwyddyn ydoedd 1795. Gwel rhif, 14, 1773.

9. "Tour to Milfordhaven, &c. By — Morgan."

1796.

1. "Gogoneddus ddirgelwch Trugaredd Duw, &c. Gan John Evans. Machynlleth. Argraffwyd gan Edward Prichard. M,DCC,XCVI."

Ailargraffiad: gwel rhif 2, 1798.

2. "The History of the Parishes of Whiteford and Holywell. Engravings. By Thomas Pennant. London printed for B. and J. White." 4to.

3. "History of Monmouthshire, in two Vols. By David Williams."

Yr oedd Mr. Williams yn enedigol o ymyl Caerffili. Bu yn weinidog yr Ymneillduwyr mewn amryw leoedd yn Lloegr. Bu farw 1816.

4. "Y Geirgrawn, neu Drysorfa Gwybodaeth am y fl. 1796. Gan D. Davies. Argraffwyd yn Nghaerlleon, gan W. Minshull."

Mr. Davies ydoedd weinidog yr Annibynwyr yn Nhreffynnon. Caniataodd i lawer o erthyglau ymddangos, yn y cyhoeddiad ag oedd yn mawru pleidiaeth i'r chwildroad Ffrancaidd. Bu mewn enbydrwydd oddiwrth yr awdurdodau, ac ar ffo am beth amser. Ychydig o rifynau a gyhoeddwyd o'r "Geirgrawn."

5. "Yr Egwyddorwr, neu Ymofyniad i Athrawiaeth yr Ysgrythyrau mewn perthynas i'r unig wir Dduw. Gan Theophilus Lindsey, A.M. Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan Thos. Evans. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Ross. 1796."

Llyfr Sosinaidd "rhonc" yw hwn. Y cyfieithydd ydoedd weinidog y Sosiniaid, yn Hen Gapel Aberdar, sir Forganwg, ac a adnabyddid yn gyffredin wrth yr enw "Twm Penpistyll."

6. "Marweiddiad Pechod mewn Credinwyr: yn dangos, ei angenrheidrwydd, a'r Natur o hono; ynghyd a'r Atebiad i amryw achosion Cydwybod, ymberthynas i'r unrhyw. Gan y duwiol a'r dysgedig John Owen, D.D. At hwn y rhagflaenir Byr Hanes o Fywyd a Marwolaeth yr awdwr. Newydd ei gyfieithu i'r Gymraeg. Mwythig: Argraffwyd gan B. Partridge a J. Hodges, yn y flwyddyn M,DCC,XCVI."

Ailargraffiad; gwel rhif 9, 1791.

7. "Casgliad o Salmau a Hymnau, gan Josiah Rees. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Ross, 1796."

8. "Arithmetic, neu Rifyddeg, yn gosod allan sylfaenau ac ymarferiad Rhifyddiaeth, mewn amryw ganghenau; a mesuriaeth yn helaeth wrth y Lliosogiad Deuddegawl, y Degranau, a'r Sliding Rule. Gyda Darluniau, ac addysgiadau Cymmwys i'r unrhyw. Yr ail argraffiad. Gan John Roberts, &c. Argraphwyd tros y Cyhoeddwr. 1796."

Y J. Roberts ydoedd yr enwog hen almanaciwr Caergybi—"Shon Rhobert Lewis," am yr hwn y rhoir hanes helaeth yn fuan, am y waith gyntaf erioed. Mae yn debygol mai yn Nublin yr argraffwyd yr uchod—er na fynegir—lle yr arferai ef argraffu ei almanaciau, a chan Powell a'i fab. Gwel hefyd rhif 8, 1768.

9. "Pymtheg o Bregethau Byrion: Neu Sylwiad ar Bymtheg o Destynau ysgrythyrol, &c. A gyfieithwyd yn ddiweddar i'r Gymraeg, gan Thomas Jones. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,XCVI."

10. "Drych y Prif Oesoedd, yn Ddwy Ran, &c. Gan Theophilus Evans, gynt Ficer Llangammarch, Yngwlad Fuellt a Dewi, yn swydd Frecheiniog. Croesoswallt, argraphwyd gan W. Edwards. M,DCC,XCVI."

Gwel rhif 4, 1716; rhif 4, 1740; a rhif 3, 1794.

11. "Casgliad o Hymnau, gan Joseph Harris."

Y Joseph Harris hwn ydoedd sylfaenydd clodfawr y "Seren Gomer."

12. "Drych Ysgrythyrol, neu Gorph o Dduwinyddiaeth, &c. Gan George Lewis, D.D."

13. "Marwnad am y Parchedig a'r Ffyddlon Was tros Dduw, Mr. Peter Williams, o'r Gelli, ger llaw Caerfyrddin, Awdwr y sylwadau ar y Bibl mawr, a'r Mynegeir Ysgrythyrol, Y Ffordd i Foddlonrwydd, ynghyd ag amryw ethodau adnabyddus yn yr iaith Gymraeg. A ymadawodd a'r Byd hwn

yr 8fed o fis Awst, 1799, a'r 76 o'i oed. Gan Thomas Williams, o Ffon Mon, Morganwg. Caerfyrddin: Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol Awst. 1796."

14. "The Cambrian Register, for the year 1795. London. Printed for E. and T. Williams, Strand, 1796."

15. "Testament Newydd, &c. Yr Ysgrythyrau Cyfeiriol ar Ymyl y Dail, Gan y Parchedig John Canne; A'r Sylwadau ar Odrau'r Dail, Gan y Parchedig W. Romaine. Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth yno, gan Ioan Daniel. M,DCC,XCVI."

16. "Llythyr y Gymanfa, at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1796. Yn cynnwys Annogaeth i Ymddygiad Onest, a chyfiawn tuag at bawb. Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn, M,DCC,XCVI."

17. "Marwnad er coffadwriaeth am yr enwog Mr. Griffith Morgans, o'r Glynhir, ymhlwyf Llandeilo-Tal-y-Bont, yn sir Forganwg; Yr hwn a ymadawodd â'r byd hwn, Rhagfyr, 18fed, 1795. Gan H. Bevan. Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel. 1796."

18. "Marwnad; neu Goffadwriaeth o Farwolaeth y Parchedig Mr. Peter Williams, gweinidog yr efengyl. Yr hwn a aeth i'w Orphwysfa, Awst, 8fed, 1796, yn y 76 o'i oed; Wedi bod yn y Weinidogaeth 53 o flynyddoedd. Gan y Parchedig Ioan Thomas, gweinidog yr efengyl. Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol Awst. M,DCC,XCVI."

1797.

1. "Dychymmygion Dynol ynghylch Ffydd. Allan o waith J. Bunyan; J. Wesley; W. a P. Williams; Ebenezer a Ralph Erskine; Obed Grew; D. Rowlands; a Mac Lean, &c. Gan John Popkin. Argraffwyd yn Nghaerfyrddin, gan Ioan Ross, 1797. Pris wyth Ceiniog." 8plyg.

Y mae Mr. Robert Jones, yn ei "Ddrych yr Amseroedd," yn crybwyll am yr awdwr hwn, a'r niweidiau a gafodd y diwygiad Methodistaidd trwy ei opiniynau Sandemanaidd.

2. "Crefydd Gymdeithasol wedi ei darlunio mewn hanes a sefydliad cyntaf Crist'nogaeth yn ninas Caerlydd (sef Llundain), mewn Ymddiddanion. A gyfieithwyd allan o waith y Parch. Mathias Morris, gan B. Evans. Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. 1797."

3. "Hymnau Newyddion; ynghyd ag ychydig Benhillion ar yr Amserau; a rhai Gwersi o Erfyniad am Ddiogelwch i Frydain, &c. Caerlleon; Argraphwyd gan W. C. Jones a T. Carne, 1797."

4. "Toriad y Dydd; neu Sylw byr ar Hen Gyfreithiau ac Arferion Llywodraethol; ynghyd a chrybwylliad am freintiau dyn, &c. Wedi ei ysgrifenu er mwyn y Cymry uniaith. Gan J. Jones, Glan y Gors, Awdwr y Llyfr a elwir "Seren tan Gwmwl." Llundain: Argraphwyd ac ar werth gan yr Awdwr, a chan W. Baynes, rhif 54, Paternoster Row. 1797. Gwerth Chwecheiniog."

Egwyddorion "*Paine's Rights of Man*" a bleidir yn y llyfr uchod.

5. "Carol ar Concwest Gwyr y Gogledd. Gan E. Jones. Caernarfon, Argraphwyd gan T. Roberts, 1797."

Yr awdwr ydoedd bardd enwog Maes y plwm. Y carol yw hwnw sy'n dechreu:—

"Clywch, clywch ag uchel lef,
Tôn telynorion Nef,
I'r baban byw,
Oen Duw, pan aned ef."

Yr oedd hefyd yn gysylltiedig â'r Llyfr Hymnau a arferid gynt ar bulpudau y Methodistiaid Calfinaidd yn y Gogledd, sef "Grawnsypiau Canaan," gan R. Jones.

6. ¶ "Sir John Froissart's Chronicles of England, France, Spain, and the ajoining Conutries, from the later part of the reign of Edward ii. to the coronation of Henry iv. Newly translated from the French editions, with variations and additions, from many celebrated MSS. By Thomas Johnes, M.P. Havod; Printed at his Private Press."

Yr oedd y gwaith uchod yn ddeg neu ddeuddeg o gyfrolau.

7. ¶ "Memoir of John, Lord De Joinville, Grand Seneschal of Chanpagne, written by himself, containing a History of part of the Life of Louis ix. King of France, surnamed St. Louis, including an Account of that King's Expedition to Egypt, in the year 1248. Translated by Thomas Johnes, M.P. Havod; Printed at his Private Press.

Yr oedd y gwaith uchod yn ddwy gyfrol unplyg.

8. ¶ "The Travels of Bertrandon de la Brocquere, Counselor and first Esquire Carver to Philipe Le Bon, Duke of Burgundy, to Palestine; and his return from Jerusalem overland to France, during the years 1432 and 1433. From a Manuscript in the National Library of Paris. Translated by Thomas Johnes, Esq., M. P. Hafod; Printed at his Private Press."

Yr ydys yn cyfleu y tri gwaith uchod yn y lle hwn, yn unig oblegid eu cyfieithu a'u hargraffu gan Mr. Johnes, gwr boneddig ag oedd yn byw y pryd hyny yn, ac yn perchenogi Hafod Uchryd, yn sir Aberteifi; ac oblegid yr amgylchiad gofidus i'w holl lyfrfa werthfawr losgi, pan hefyd y llosgwyd y palas cyn ei fod wedi ei hollol adeiladu.

9. "Cyfaill y Cymry, sef Englynion, Cywyddau, â Chaniadau Newyddion; ar amryw Destynau, a Mesyrau, y rhan gyntaf. Gan Iolo ap Iorwerth Gwilym, o Ben y Lan, gerllaw'r Bonfaen, ym Morganŵg. Argraphwyd dros yr Awdwr, 1797."

Gelwid yr awdwr yn "Iolo Fardd Glas," ac awdwr y "Cyneirlyfr."

10. "Llythyr y Gymmanfa, at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1797. Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Evans."

11. "Cyfaill i'r Cystyddiedig; neu gyfarwyddyd i deuluoedd a phersonau mewn cystudd: ynghyd a Chynghorion a Chyfarwyddiadau i ddynion mewn, ac ar ol cystuddiau, neu ryw brofedigaethau eraill. Hefyd casgliadau o Eiriau a Phrofiadau diweddaf amryw o'r Merthyron, Gweinidogion, a'r Seintiau mwyaf enwog, &c. Gan y Parch. John Willison. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan y Parch. W. Thomas, Gweinidog yr Efengyl, yn y Bala. Trefecca: Argraphwyd, yn y flwyddyn M,DCC,XCVII. (Pris Swllt.)"

12. "Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yng Nghastellnewydd, yn sir Forganwg, Mehefin y 13 a'r 14, 1797, at Eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid. Abertawe: Argraphwyd gan Voss a Morris, yn Heol-y-Castell. 1797."

13. "Gorfoledd yn Mhebyll Seion, neu Hymnau Efengylaidd, wedi eu cymeryd allan o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. At ba rai y chwanegwyd Hymnau eraill Dafydd William. Wedi eu hamcanu i'r dyben o ddiddanu 'r gwan feddwl ar ei daith tu a'r Jerusalem Newydd, gwir Noddfa 'r gwaredigion. Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel, 1797."

Gwel hefyd rhif 10, 1782.

14. "Marwnad neu Goffadwriaeth y Parch. D. Powell, Gweinidog yn y Nottage a'r Wey, yn sir Forganwg, gan y Parch. J. Richards. Caerfyrddin, J. Evans, 1797."

Yr eglwysi uchod oeddynt Fedyddwyr a gofleidiasant Ariaeth, ac yn awr yn Sosiniaid, ond yn cael eu galw ganddynt eu hunain yn Fedyddwyr Arminaidd.

15. "Tour in North Wales, &c. By ——— Aikin."

16. "Tour through part of South Wales, by a Pedestrian Traveller." 4to.

17. "Angau i Angau yn Angau marwolaeth Crist, &c. Gan John Owen, D. D. Cyfieithwyd gan W. Thomas, Bala. Trefecca: Argraffwyd."

18. ¶ "Deongliad ar y Testament Newydd. Gan Dr. Guise. Cyfieithiedig gan y Parch. W. Thomas, o'r Bala. Trefecca a Chaerfyrddin."

1798.

1. "Hanes Mordaith y Llong Duff. Gan y Parch. Thomas Charles, A. B. Caerlleon, Argraffwyd gan W. C. Jones." 8plyg.

2. "Diwygiad neu Ddinystr: wedi ei dynu allan o lyfr Saesnaeg a elwir Reform

or Ruin; a'i gymhwyso at ddealltwriaeth y Cymry, ym mha un y geill pob dyn ddyscu fel y mae pethau yn sefyll yn bresenol; a pha fath ar ddiwygiad ydyw pa un yn unig a ddichon achub y Deurnas. Croesoswallt, Argraffwyd gan W. Edwards, 1798."

3. "Geiriadur Saesonaeg a Chymraeg. By Wm. Richard, M.A. Carmarthen, Printed by J. Daniel. 1798."

4. "Y Seren Foreu; neu, Ganwyll y Cymry: sef, Gwaith y Parchedig Mr. Rees Prichard, M.A., gynt Ficer Llanymddyfri. Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth gan I. Evans, yn Heol-y-Prior. 1798. [Pris 2s. 6ch. i'r Rhagdalwyr, a 3s. 6ch. i eraill.]"

Gwel rhif 1, 1664; rhif 6, 1672; rhif 2, 1681; rhif 9, 1700; rhif 1, 1721; rhif 14, 1740; rhif 19, 1766; rhif 4, 1771; a rhif 15, 1773.

5. "Y Dydd yn Gwawrio, neu Hanes dechreuad, cynnydd, a lledaeniad y gyfeillach fawr, yn Llundain, 1795. Wedi ei chasglu gan M. Jones, Trelech. Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Evans, yn Heol-y-Prior, 1798. [Pris Pedair ceiniog.]"

6. "Cwyn yn erbyn Gorthrymder, yn nghyd a sylwadau ar hawl Esgobion, a'u Gweinidogion i Ddegymu, &c. Wedi ei ysgrifenu er mwyn gwerinos Cymru. Gan Thomas Roberts, o Lwynrhudol. Llundain: Argraphwyd, ac ar werth gan John Jones, Chapel Street, Soho." 50 tudal. 12plyg.

Amserir y rhagymadrodd, "Llundain, yr 30en, o'r 4edd Mis 1798." Yr argraffydd uchod ydoedd frodor o Glocaenog ger Rhuthyn.

7. "Cnewyllyn mewn Gwisg; sef Cnewyllyn Gwirionedd—Mewn gwisg o Gynghanedd, neu gasgliad o Garolau, a Cherddi, a rhai Cywyddau ac Englynion, ar amryw destynau: Pa rai na buont argraphedig o'r blaen. Gan Robert Davies, o Nantglyn. Treffynon: Argraphwyd gan E. Carnes; dros yr Awdwr. [Gwerth Swllt.]"

8. "Cwyn y Cystuddiedig, a Griddfanau y Carcharorion Dieuog: neu, Ychydig o Hanes Dyoddefiadau diweddar Thomas John a Samuel Griffiths, y rhai gwedi goddef gorthrymder tost, a chaethiwed caled, dros chwech neu saith o fisoedd, yn ddiachos, a gawsant eu rhyddhau, o'r diwedd, yn yr uchel eisteddfod, neu y sessiwn mawr diweddaf, yn Hwlffordd; er dirfawr siomedigaeth i'w gelynion gwaedlyd a dideimlad. Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. [Pris Chwe' cheiniog.]"

Dywedir mai yr awdwr ydoedd Dr. W. Richards o Lynn. Cyhuddid hwy o deyrnfradwriaeth, sef rhoddi cyfarwyddiadau i'r Ffrancod a ddaethant i Abergwaen. Bedyddiwr ydoedd T. John, a henaduriaethwr ydoedd S. Griffiths. Y mae y llyfr wedi ei ysgrifenu yn nodedig o ddyddorol, a chydag ysbryd gwrol. Cyhoeddwyd yr unrhyw yn Seisneg o dan yr enw—

9. "The Triumph of Innocency; or, a brief Narative of the late sufferings of Thomas John and Samuel Griffiths," &c. &c.

10. "Diwygiad neu Ddistryw. Cymmerwch eich dewis; yn yr hwn yr ystyrir ymddygiad y Brenin, y Senedd, y Swyddogion, y Gwrthwynebwyr, y Pendefigion a'r Boneddigion, yr Esgobion, a'r Offeiriaid a'r diwygiad hwnw a ddanghosir, yr hwn yn unig a all achub y wlad. Gan John Bowdler, Yswain. A gyfieithwyd i'r Gymraeg, gan y Parchedig W. Evans, Towy Castle. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Evans, yn Heol y Prior. 1798."

11. "Llyfr Gweddi Gyffredin, &c. Argraffwyd yn Ngwrecsam, ac ar werth yno gan R. Taylor. 1798."

12. ¶ "Crist yn Iachawdwr Cyflawn. Gan John Bunyan, at ba un y chwanegwyd nodau gan Mr. William Mason. Wedi ei Gymreigio gan John Thomas. Caerfyrddin, argraphwyd gan John Daniel."

13. "Gorfoledd yn Mhebyll Seion. Y pedwerydd argraffiad. Caerfyrddin, argraphwyd gan I. Evans. 1798."

Gwel hefyd rhif 10, 1782; a rhif 13, 1797.

14. "Hymnau Newyddion. Gan William Lewis, Llangloffen. A gyhoeddwyd gan Evan Rees. Caerfyrddin: argraffwyd gan J. Evans, 1798."

15. "Sylwadau ar y Dirywiaeth mewn pregethu a chanu, yng Nghymru. Allan o waith y gweinidogion Parchedig a ganlyn, sef W. Williams, M. Rhus, ac N. Gwilym. Abertawe: argraphwyd gan Voss a Morris. 1798. [Pris ceiniog.]"

Gwel rhif 21, 1794.

16. "Llythyr oddiwrth Gymmanfa Dde-ddwyreiniol y Bedyddwyr yng Nghymru: 1798. Trefecca: argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCVIII."

17. "Amryw Hymnau Dymunol a Phrofiadol, o waith Harri Sion, gerllaw Pont-y-pwl, yn sir Fynwy. At ba rai y chwanegwyd Pigion o Hymnau, o waith yr awdwyr hynottaf yn yr oes bresenol. Caerfyrddin: argraphwyd, ac ar werth gan Ioan Daniel, 1798."

18. "Coffadwriaeth y Cyfiawn: neu Farwnad, er côf am farwolaeth y Duwiol a'r Parch. Mr. Richard Tibbott, yr hwn a fu yn weinidog hir flynyddau i Eglwys yr Ymneillduwyr yn Llanbrynmair, yn Sir Drefaldwyn; ac a hunodd yn yr Arglwydd ar ddydd Sabboth, y 18 o Fis Mawrth, yn y flwyddyn 1798, o fewn ychydig wythnosau i bedwar ugain oed. Gan Jonathan Powell. Trefecca: argraphwyd yn y flwyddyn, M,DCC,XLVIII."

1799.

1. "Agoriad ar y Prophwydoliaethau hynod a gymhwysir yn yr Unfed Bennod a'r Ddeg o lyfr y Datguddiad. Wedi ei dynu allan o waith Dr. Gill, a'i Gymreigio gan Daniel Jones. Abertawe: argraffwyd gan Voss a Morris. 1799. (Pris Chwe' Cheiniog.)

2. "Trysorfa Ysprydol. Gan T. Charles a T. Jones. Argraffwyd yn Nghaerlleon, gan W. C. Jones."

3. "The Royal Tribes of Wales. By P. York, Esq. 1799." 4to.

Y mae yn hwn bortreadau o Humphrey Duke of Buckingham, Lord Ellesmere, Jeffrey a Vaughan, Sir Orlando Bridgeman, Thomas Hanmer, Thos. Myddleton, J. Trevor, W. Williams, J. Wynne, Catherine Beren, a Humphrey Lhwyd.

4. "Hanes y Byd a'r Amseroedd. Er hyfforddiad rhai o'r Cymry. O waith S. T. Dolgellau, argraphwyd gan T. Williams, 1799."

Gwel hefyd rhif 6, 1721; rhif 1, 1724; rhif 1, 1728; a rhif 4, 1780.

5. "Hanes holl Grefyddau y byd, yn enwedig y grefydd Gristionogol; yn mha un y gosodir allan ddarluniad cywir o'r holl wahanol Sectau, Opiniwnau a Daliadau Proffeswyr yn yr oes bresenol, &c. Ynghyd ag amryw Sectau eraill llai hynod a sonir am danynt yn Nghorph y gwaith. Gan M. Williams, M. T., awdwr Drych y Ddaear a'r Ffurfafen, mesurwr cyffredinol, &c., &c. Caerfyrddin, argraffwyd ac ar werth gan I. Daniel—Ar werth hefyd gan Messers. North, yn Aberhonddu. 1799."

6. "Bywyd Duw yn enaid Dyn. Gan Henry Scougal, A.M. Wedi ei droi yn Gymraeg gan D. D. Caerfyrddin, argraffwyd gan John Ross. 1799."

Y D.D. uchod ydoedd y Parch. David Davies, Castell Hywel, yn sir Aberteifi.

7. ¶ "Achos Pwysig yn cael ei Ddadleu, mewn tri o gydymddiddanion, rhwng Dr. Opium, Galio, a Discipulus. A fwriadwyd er argyhoeddi gwawdwyr Cyfeiliornus, &c. A gyfieithwyd i'r Gymraeg, (allan o'r seithfed argraphiad yn Saesoneg), er addysg i'r anwybodus. Liverpool: argraphwyd gan Robinson a Lang."

Y cyfieithydd a'r cyhoeddydd ydoedd Mr. Robert Jones, awdwr "Drych yr Amseroedd."

8. "Golwg ar Deyrnas Crist, neu Crist yn Bob Peth, ac y'mhob Peth, sef Caniad mewn dull o agoriad ar *Col.* iii. ii, &c, Gan y diweddar Barch. W. Williams. Y trydydd argraphiad, wedi ei ddiwygio o amryw feiau. Trefecca, argraphwyd, 1799." (Pris Swllt.)"

Gwel hefyd rhif 6, 1764.

9. "Myfyrdod y Meddwl, ar gyflwr y Duwiol yn y Bywyd Hwn, hefyd, ar Gariad Tragywyddol. Mewn dull o Gan. Gan Edward Francis, Lambeth, Llundain, 1799. Argraphwyd gan J. Jones, Chapel Street, Soho." 16 tudal. 12 plyg.

10. "Drws yr Eglwys Weledig wedi ei agor yn lled y Pen, fel y gallo credinwyr a phlant bychain ddyfod i mewn. Gan Thomas Jones, curad Creaton, yn Sir Northamton. Caerlleon, argraphwyd gan W. C. Jones, y'mynwent St. Pedr, 1799. Pris un Swllt, neu haner Gini 'r dwsin.

Ceir y mynegiad canlynol yn niwedd y llyfr hwn:—"Bydd yn hawdd i'r Cymry faddeu fy anwybodaeth o'r iaith Gymraeg, pan glywant i mi droi yn Sais, er ys agos i ugain mlynedd. Gallaf ddywedyd;—

Bachgen unwaith uniaith o'wn,—wrth deithio
Rhwng dwyiaith bu'm dwthwn,
Un gollais, gynta gallwn,
Un arall, yn gyfaill gawn."

11. "Coffadwriaeth am y Parch Richard Tibbott. Yr hwn a fu 'n pregethu 'r efengyl o gylch 60 mlynedd ac a fu 'n Weinidog yn Llanbrynmair 35 mlynedd, ac a orphenodd ei yrfa Lafurus, Mawrth 18, 1798, o fewn ychydig wythnosau yn 80 oed. A gyhoeddwyd ar ddymuniad yr eglwys oedd dan ei ofal gweinidogaethol yn Llanbrynmair. Gan William Hughes, Dinas y Mowddwy. Machynlleth, argraphwyd yn y flwyddyn 1799."

12. "Drych y Prif Oesoedd, &c. Croesoswallt, argraffwyd gan W. Edwards, M,DCC,XCIX."

Gwel hefyd rhif 4, 1716; rhif 4, 1740; a rhif 10, 1796.

13. "Cyfreithlondeb Rhyfel: Amddiffyniad o'r Egwyddorion Cristionogol yn cael ei ystyried yn ddiduedd gan Weinidog o Eglwys Loegr. Wedi ei gyfieithu o'r trydydd argraphiad yn Saesoneg. Gan A. ap D. Sion. Caerfyrddin, argraphwyd yn y flwyddyn 1799."

14. "Marwnad ar Farwolaeth Mr. William Jones. Gan B. Francis, M. A. Caerfyrddin, argraphiad gan J. Daniel, 1799."

15. "Salmau, Hymnau, ac Anthemau, a arferir eu canu yn Eglwys Llanbeblig. Caernarfon: M,DCC,XCIX."

16. "Salmau a Hymnau, wedi eu diwygio. Caerlleon, argraphwyd gan J. Fletcher. 1799."

17. "Dwy o Gerddi Newyddion. Y gyntaf, Hanes yr Hen Gymry, &c. Yr ail, Gwrthwyneb i Queen Bess. Caerfyrddin: argraphwyd gan Ioan Evans. 1799."

18. "Y Maen Tramgwydd: neu ddau Bennill o Ymofyniad, mewn perthynas i Faterion ddadleugar mewn Crefydd, &c. Gan John Evans, Prydydd a Darllenydd, yn Llanarth. Caerfyrddin: argraphwyd gan Ioan Evans, 1799."

19. "The Cambrian Register, for the year 1796, Vol. ii. London, printed for E. and T. Williams, 1799."

Gwel hefyd rhif 14, 1796.

20. "Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn Ebenezer, gerllaw Pont-y-pool, yn swydd Fynwy, Mehefin 27, a'r 28, 1799; at eglwysi yr Ymneillduwyr, yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid. Caerfyrddin: argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-prior, 1799."

21. "Hyfforddwr neu lyfr yn cynnwys pob cyfarwyddiadau angenrheidiol i ddysgu darllain a deall Cymraeg: ynghyda llawer o wersi buddiol yn tueddu i godi blys at ddarllain ac i oleuo deall yr anwybodus. Gan John Griffiths, gweinidog yr efengyl. Carerlleon: argraphwyd gan Jones a Crane; dros Owen Owens, Caernarfon. 1796."

Yr awdwr ydoedd tad y Parch. W. Griffiths, presennol weinidog yr Annibynwyr yn Nghaergybi. Y mae rhagymadrodd maith a buddiol iawn yn ei ragflaenu, ac wedi ei arwyddo "J. G., Caernarfon, 27 *Hydref*, 1796," lle yr oedd yn gweinidogaethu y pryd hyny.

## ATTODIAD.

TRA yr oeddid yn cofnodi ac yn cyhoeddi y rhestr hon, daethom ar draws rhai llyfrau yn ychwanegol—a diau bod ychwaneg eto i'w cael, y rhai y byddai yn dda i ni gadw cofnod o honynt, er rhoddi erthygl wrthynt eu hunain ryw arfod dyfodol, os caniateir i ni oes ac iechyd—ac hefyd ryw welliadau neu gyfnewidiadau a welsom ni, neu ein cyfeillion, yn anghenrheidiol sylwi arnynt, er gwneyd ein rhestr o "Lyfryddiaeth y Cymry" mor berffaith ag y galleaid, y rhai yr ydym fel o'r blaen yn eu cyfleu fel attodiad yn y lle hwn :—

Rhif 1, 1587; a rhif 1, 1594.

Dywedasom mai ail argraffiad, gyda chwanegiad, yw yr olaf o'r cyntaf; ond sicrha y Parch. D. S. Evans ni fod hyny yn gamddyfeisiad, gan mai yn 1594 yr argraffwyd "Deffiniad Ffydd Eglwys Loegr" gyntaf. Cyhoeddwyd ailargraffiad yn 1671, dan olygiad "Charles Edwards;" ac nid yw hwnw yn cynnwys dim ond "Deffiniad y Ffydd," a "Llythyr Esgob Davies at y Cambri."

1611.

1. "Catechism Petrus Canisius, yr hwn a gyfieithwyd yn Gymraeg gann D. Rosier Smyth, S. TH. D. o Dref Lanelwen, 1611, ac a brintiwyd yn Paris."

"Y mae un peth tra nodedig yn perthyn i'r llyfr hwn," meddai y Parch. D. S. Evans—"Argraffwyd ef â'r un lythyren a gramadeg Dr. Griffydd Roberts. Crybwylla y Dr. Smyth am y doethor Roberts, a'i fod yn byw yn Milan; ac y mae y llythyren yn profi gael o'r Gramadeg ei argraffu ar y Cyfandir: ond pa un ai yn Milan yn yr Ital, ai yn Paris yn Ffrainc, nis gellir yn hawdd benderfynu; oblegid yn Paris, ac nid yn Milan, yr argraffwyd "Catichism," Smyth, a hyny â'r un llythyrenau ag yr argraffwyd y Gramadeg â hwynt. Dyma "Synwyreb" y llyfr a argraffwyd yn Paris:—"Gwelais yn da ganlyn yr hybarçus orthographiad a'r ardderchawg athraw D. Grufyd Robert Canon Theologiad o Fam-Eglwys Dinas Milen gwr a haeddai glod a mawl tragwydawl nid yn unig o herwyd ei aml rinwedau eithyr hefyd er mwyn ye dysg a ye wybodaeth, ac yn bendifadeu yn yr Iaith Gymraeg."

Buasai yn ddymunol allu gwybod rhywbeth ymhellach am yr awdur Cymreig cynnarol hwn. Ymddengys mai pabyddion ydoedd y Drd. Smyth a Roberts.

1616.

¶ "Llythyr at Drigolion y Wlad ynghylch eu Heneidiau."

1618.

"Eglurhad Helaethlawn o'r Athrawiaeth Gristionogol, &c. o waith y Cardinal Bellarmin."

Meddylir mai y Dr. Rosier Smyth oedd y cyfieithwr. Nis gallwn ddweyd ychwaneg am dano.

1635.

1. "Travells in Wales. By Sir Thomas Herbert."

Rhydd y teithydd hwn hanes helaeth am fynediad Madoc ab Owain i America, allan o M. S. yn Nghastell Ragland, sir Fynwy, y rhai a losgwyd gan filwyr Oliver Cromwell, yn eu hymosodiad buddygoliaethus ar y lle enwog hwnw.—"*Lyric Poems,*" *by* William Edwards: cyf. ii. tudal. 65.

Rhif 6, 1658.

Tebygol na ddylesid roddi "Cywydd i'r Iesu, gan Iago ab Dewi," yn y lle hwn, gan mai yn y gwaith bychan a elwir "*Flores Poetarum Britannicorum*" y cafodd ei gyhoeddi, yr hwn waith a ymddangosodd gyntaf yn 1710 (gwel rhif 5 yno). Y cyhoeddwr "D. Lewys," oedd y Parch. Dafydd Lewys, y pryd hyny periglor Llanllawddog, ger Caerfyrddin, ond wedi hyny periglor Llangatwg, yn Morganwg, awdwr "Golwg ar y Byd. 1725."

9. "British and Outlandish Phrophecies, &c. Published by Thomas Pugh. London, printed by Lodwick Lloyd, at his Shop next to the Castle in Cornhill, 1658."

Seisoneg yw y llyfr hwn gan mwyaf, meddai Iolo Morganwg, yn ei MSS, ac o hono ef y cafodd yr hynafiaethydd hwnw un o awdlau y "Coronog Fab," sydd yn gyhoeddedig yn ei weddillion uchod.

Rhif 10, 1659.

Saesoneg yw y llyfr hwn o eiddo Vavasor Powell. Y mae yn llyfr trwchus, yn cyrhaedd llenau T t 3. Y mae Rhagymadrodd iddo gan Dr. Owen. Fe allai y dylasai fod beth yn gynnarach, gan nad oes amseriad wrtho. Ei ddalen enwawl sydd fel hyn :—

"An use full Concordance of the Holy Bible, With the various Acceptations contained in the Scriptures, And Marks to distinguish Commands, Promices, and Threatnings. Also A Curious Collection of Similies, Synonymous Phrases, and Phrophecies, relating to the Call of Jews, and the glory that shall be in the latter days. Lastly, The Titles and Appelations given to Crist and the Church not in any Concordance yet extant. Begun by the Industrious Labour of Mr. Vavasor Powell, and Finished by Mr. N. P. and J. F. Recommended to the Studious Reader by the Reverend John Owen, D. D. The Suplements being plac'd in this Impression, in their proper places. The Second Edition. London, Printed for Eleanor Smith, Executrix of Francis Smith, late Bookseller."

Rhif 1, 1670.

Y lle a elwir *Lvich*, y dywedir argraffu y llyfr hwn yno, yw *Liege*, yn nheyrnas bresennol Belgium, yn ol tyb y Parch. D. S. Evans; ond dywed "*Moræen's Geography*" (argraffiad 1700), "Lvyck," neu "Luick," a "Liege city, the capital of the bishoprick of Liege. Gwel hefyd "*Salmon's Modern Gazetteer*." Yr ydys yn tueddu i dybio mai un o'r Hawardiaid o Defynog ydoedd y cyfieithydd J. H.; gan fod teuluoedd Cymreig yno o'r cyfenw hwnw trwy yr oesoedd, ac eto. James Haward oedd enw diweddar offeiriad Pabaidd Aberhonddu; a'i nai, y presennol offeiriad yn Nghaerfyrddin o'r un enw, ac o'r un teulu. Y mae ei fod yn anerch "Geraint," yn "Gwent a Brycheinioc," yn brawf cadarnhaol o'n tybiaeth hon. Y mae y Parch. D. S. Evans, oddiar y dyb mai yn Liege, yn Belgium, yr argraffwyd y llyfr, yn gwneyd rhai sylwadau ag y mae genym hyfrydwch mawr o'u cofnodi. "Dichon mai yn mhrifysgol Babaidd y dref hono, y derbyniodd y cyfieithydd ei ddysgeidiaeth, a bod ganddo mewn canlyniad gryn gydnabyddiaeth yno, ac mai hyny a barodd iddo fyned yno i argraffu ei lyfr. Yr oedd y rhan fwyaf o'r offeiriaid Pabaidd y wlad hon yn derbyn eu dysg yn yr oes hono yn Louvain, yn Douay, neu yn y coleg Seisonig yn Rhufain. Y mae Liege a Louvain yn yr un deyrnas, ac nid yn neppell oddiwrth eu gilydd; a chan hyny nis gallaf ganfod un rheswm paham nas gallasai llawer o'r wlad hon fod yn cael eu dysgeidiaeth yno hefyd. Ac heblaw hyny, cafodd amryw o lyfrau Pabaidd yn y Wyddelaeg eu hargraffu yn Louvain yn yr oes hono; megys y "*Scathan an Chroahuigh*" (Y Drych Crefyddol), 1616; "*O'Clery's Vocabulary,*" 1643; "*Parthas an Anma,*" (Paradwys yr enaid), 1645. Cafodd "*Lochran an Chreidmheach,*" (Catecism) y tad O'Molloy, ei argraffu yn Rhufain, yn 1676; a'r "*Tregasg Criosdaidhe*" (Yr athrawiaeth Gristionogol), yn Antwerp, yn 1618. Felly yr oedd argraffu llyfrau Pabaidd, o ba iaith bynag y byddent, yn beth cyffredin ar y Cyfandir yn yr 16eg a'r 17eg canrif. Argraffwyd gramadeg Dr. Gr. Roberts, fel y bernir, yn Milan; ac y mae yn hysbys i un neu ddau o lyfrau Rosier Smyth, gael eu hargraffu yn Paris."

Rhif 3, 1686.

Gwynebddalen hwnw yn gyflawn a chywir sydd fel hyn:—

"Cerdd-Lyfr, yr hwn sydd yn cynnwys amryw Garolau a dyrifau o waith amryw Awdwyr. Ac a gasglwyd ynghŷd gàn Ffoulke Owens, o Nantglyn, yn Sir Ddinbych. Printiedig yn y Theater yn Rhydychen. 1866."

Cyfrol deneu 8plyg, o 180 tudalen ydyw. "Cynnwysa garolau a dyrifau o waith Rowland Vaughan (neu Rowland Fychan, fel ei gelwir weithiau), John Wynne, William Philip; Moris Prichard; Thomas Lloyd o Benmaen; Edward Moris; Hugh Moris; Syr Morgan; Jerem. Gruffydd, "Y Tailiwr Llawen;" John Lloyd o'r Cwm Penanner; Humphrey ab Evan, neu Humphrey ap Evans, neu Humphrey Dafydd ap Evan (canys tybiaf mai yr un oedd y tri); Gruffydd Peilyn; Foulk Price; Edmund Prys; ac ychydig heb yr un enw wrthynt, awdwr y sawl, mae'n debygol, oedd y casglydd ei hun. Rhwng enw y casglydd ac enw yr argraffle, y mae darlun gwych o'r "*Theater*" yn Rhydychain, (cyffelyb i'r un a welir ar ddalen enwawl yr "*Archæologia Britannica*"); a hwn yw y crefftwaith goreu o lawer o ddim a geir yn yr holl lyfr; canys trwyddo i gyd y mae yn nodedig am aflerwch ac anghyweirdeb argraffyddol."—O'r "*Bibliotheca Cambrensis.*"—Ll. Y. y Parch. D. S. Evans.

Rhif 10, 1693.

Ceir ychydig am yr awdwr, Dr. Jonathan Edwards, yn y "*Dictionary of Eminent Welshmen*; a cheir ei enw yn cynnorthwyo Mr. James Owen, yn ei ddadl gyhoeddus â'r Esgob Llwyd yn Nghroesoswallt.

1701.

6. Ail-lyfr y Parch. James Owen ar Fedydd, yn erbyn y Parch. B. Keach.

Nid yw y wynebddalen genym; ond terfyna yr "At y Darllenydd," "Amwythig, Mawrth 26ain, 1707."

Rhif 6, 1710.

Gwynebddalen y Llyfr Gweddi hwnw, o olygiaeth awdwr y "Bardd Cwsg" sydd fel hyn;—
"Llyfr Gweddi Gyffredin, &c. Argraphwyd yn Llundain gan Edm. Powell, ac ar werth gan John Gouge yn Wesminister Hall, a chan Edm. Powell, yn Black-frier, yn Llundain. 1710."

Y mae yr argraffiad hwn mewn arferiad presennol yn Eglwys Llanlleonwel, yn sir Frycheiniog.

Rhif 1, a 4, 1717; a rhif 1, 1818.

Rhoddasom grybwyllion aml waith am y Parch. Moses Williams; ond y mae genym nodyn yma i'w chwanegu, o awdurdod y Parch. D. S. Evans, mai "nid Ficar Llandyfriog, yn sir Aberteifi, a Llangynllo, yn sir Faesyfed, oedd tad Moses Williams; ond Ficar Llangynllo neu Llangunllo, yn Ngheredigion, yr hwn sydd yn blwyf cydffin â Llandyfriog, y ddau yn nghymydogaeth Castell Newydd Emlyn." Geilw awdwr yr "*Eminent Welshmen*" y lle hwn "Nantgunllo," gan ei gamgymeryd mae'n debyg, am "Nantgwnlle" neu "Llancwnlle," yr hwn sydd ugain milltir o leiaf o Langunllo.

1722.

8. "Meddyginiaeth a Chysur, Yr dyn helbulus, elofyccus, a thrallodus, ar ei glaf wely, a gasglwyd allan or ysgrythyr Sanctaidd, ac hefyd o hystorieu ac Athrawiaethau yr hen Dadau; a rhesymau y Philosophyddion, a gwyr doethion dyscedig eraill or cynfyd: Ac a osodwyd allan trwy lafur Edward Lloyd. Athro y celfyddydau; a gweinidog yr Efengyl yn llangower, yn Sir feirion: Er leshâd i'w braidd y mae 'n figail arnynt, ac yn orchwyliwr i gyfrannu iddynt eu bwyd yn eu bryd, sef yw hynny, didwyll laeth y gair. 1 *Pet.* 2. 2. Ac ar ol hynny er budd i'r Cymru oll. Argraphwyd yn y Mwythig, gan John Rogers, 1722."

Y rhagymadrodd neu "Lythyr at i Blwyfolion" a derfyna fel hyn,—"Eglwyseg, Awst y cyntaf, 1683." "Eich Ewyllysiwr da, Edward Lloyd." Yr hyn a brawf, naill ai bod hwn yn ailargraffiad, neu iddo fod yn ysgrifenedig 39 mlynedd cyn ei argraffu.

1723.

Y mae erthyglau y flwyddyn uchod yn gydiol â rhai y flwyddyn 1722, yn dechreu yn 1 "Llun Agrippa, ar ol 7 ¶ "Taith neu Siwrnai y Pererin." Gall unrhyw un â'i bin-ysgrifenu wella y gwall hwn, trwy roddi y flwyddyn 1723, rhwng y 7 a 1 yn erthygl y flwyddyn 1722.

1731—2.

1. "Cymmorth i'r Cristion a Chyfarwyddyd i'r gwr Ieuangc, &c. Gan W. Burkett, M. A. Caerfyrddin: Argraphwyd gan N. Thomas, ac ar werth gan John Lewis, Gwerthwr Llyfrau, 1731—2.

Rhif 2, 1739.

Enw y llyfr hwnw yn llawn sydd fel hyn:—

"Y Llaeth Ysbrydol, Neu Bregeth, yn dangos mawr hiraeth y ffyddloniaid am laeth y gair ynghyd a'r ffordd i mae cynyddy trwyddo. O Gasgliad Eglwyswr. Caerfyrddin Preintedig gan Nicholas Thomas dros yr Awdwr yn y flwyddyn 1739. Pris tair ceiniog."

4. "Traethawd ar Ailenedigaeth [darn o'r ddalen wedi colli ymaith] neu —— Lê Cynulleidfa —— yn Rhydychen. A osodwyd allan Gyntaf ar Ddeisyfiad y Gwrandawyr. Y nawr wedi ei Chyfieithu o'r Pedwerydd Argraphiad. Printiedig yn Brestol gan Sam. a Felix Farley, 1739."

1740.

14. ¶ "Canwyll y Cymry, sef, Gwaith Mr. Rees Prichard gynt Ficcer Llanddyfri. Wedi ei Argraphu ynghyd yn Chwe Rhan, yn llownach a helaethach nag un Argraphiad a fu allan erioed o'r blaen, a chwedi ei fenwl chwilio a'i ddiwygio yn ofalus o amryw Feiau a chamgymmeriadau anafus, gan I. H.

"The Divine Poems of Mr. Rees Prichard; Sometime Vicer of Llandovery in Carmarthenshire. Yr Wythfed Argraphiad gydag ymchwanegiad helaeth. Argraphwyd yn y Mwythig gan Richard Lathorp. Lle y gellir cael Printio pob math ar Gopiau am bris gweddaidd, a chael ar werth amryw Lyfrau Cymraeg a Saesonaeg."

1750.

17. "Instruction for the Young Christian &c. By Minister of the Church of England. or Addysg i'r Cristion Ieuangc. neu Eglurhâd ar Gatecism yr Eglwys. Mewn ffordd o Holiad ac Atteb. Wedi ei brofi allan o'r Ysgrythur Lan, a'i gymhwyso i'r gwaelaf ei Ddyall. Gan Weinidog o Eglwys Loegr.

Llundain: Argraphwyd i B. Dod, Gwerthwr Llyfrau i'r Gymdeithas er helaethu Gwybodaeth Gristionogol; dan Lun y Bibl a'r Agoriad yn yr heol a elwir *Ave-Mary Lane*, 1750 [Pris 4 Ceiniog, neu 28 Swllt y Cant]."

Y mae hwn yn ddwyieithawg, a thybygem mai awduriaeth Person Llanddowror ydyw.

1752.

12. ¶ " Drych y Dyn Moleisus, neu Bregeth Yn dangos yspryd chwerw ffyrnug y dyn moleisus yn y Byd hwn, a'i gyflwr gwael truenus dan Feddiant Satan yn y byd arall. O Waith T. Evans Vicar Llangamarch. Argraphwyd yn y Mwythig gan Thos. Durston."

1754.

6. " Hosanna i Fab Dafydd, neu Gasgliad o Hymnau. O Waith W. Williams. Argraphedig ym Mristo gan E. Ffarley, yn y Flwyddyn 1754."

1758.

7. " Catecism Byrraf. A Gyflwynwyd gan y Gymmanfa o Ddifynyddion yn Westminster, i'r Ddau Dy o Barlament, A chwedi ei Gymmeradwyo ganddynt. Yn cynwys Egwyddorion y Grefydd Gristnogol. Ynghyd a Phrofiadau Ysgrythurol. Argraphwyd yn Llundain yn y Flwyddyn MDCCLVIII."

1761.

10. " Trefn Rhagluniaeth yn Groes i Naturiaeth a disgwyliad Dynion yr hwn (yn gyffredin) a elwir Gofud. Ac Argraphwyd yn Nghaerfyrddyn gan Rhys Tomas dros T. Williams. 1761."

1762.

14. " Llythyr Martha Philopur at y Parchedig Philo Evangeluis ei Hathro. Yn manegu iddo ei Phrofiad, a'r Testynau hynny o'r Ysgrythur a ddaeth i'w Chôf, i gadarnhau y Gwaith rhyfeddol ac anghynefin o eiddo 'r Arglwydd, a ymddangosodd ar Eneidiau Lluoedd o Bobl yn Sir Aberteifi, ac sydd yr awrhon yn taenu ar lled i Eglwysi Cymdogaethol: Gan W. Williams. Caerfyrddin: Argraphwyd gan E. Powell, yn Heol-Prior. 1762."

1765.

14. " Crist Bywyd y Cristion. Wedi ei osod allan mewn dwy Bregeth ar Phil. i. 21. &c. Gan Weinidog o Eglwys Loegr. At yr hyn y chwanegwyd Dwy Hymn, ar yr Ystyriaeth. Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Ioan Ross, yn Heol Awst, tros yr Awdwr. 1765."

Wele, ddarllenydd, ein gorchwyl presennol wedi ei gwblhau. Nid ydys yn hòni ei fod yn berffaith; ond y mae mor berffaith ag y gallasom ar hyn o bryd ei wneyd; ac yn llawer perffeithiach na dim o'r cyffelyb a wnaed o'r blaen. Yr oedd yn ein bryd wneuthur sylwadau terfynol lled helaeth; ond aeth yr erthygl hon mor helaeth, fel ag i'n llesteirio yn hollol. Fe allai y bydd i ni eto daflu golwg dros y maes, a chasglu rhai tywysenau a gaffom ar ein llwybr, ynghyd â gwneyd rhai sylwadau ar ein llenoriaeth a'n llenorion, mewn erthyglau penodol; pa fodd bynag, yr ydys yn barod yn meddu defnyddiau lled helaeth am rai o'r "hen enwogion" nad oes dim wedi ei gadw mewn argraff am danynt. Ac ar hyn ni a roddwn heibio yn bresennol.

# AFAON, Y BARDD IEUANC, O BALAS ANIAN.

---

GAN EBEN FARDD.

---

## Y CYNNWYSIAD.

ATHRYLITH gynnarol Afaon—hoffion ei febyd—ei ysgol—y ddamwain a barodd i flodyn ei awen ddechreu agor—ei ddychymygion a'i frwdfrydedd plentynaidd gyda'r Bardd-Athraw—anghreifftiau o rai o'i wersi barddonol.—Marwolaeth ei fam a'i dad—ei alar.—Ieuenctid Afaon—ei garwriaeth.—Olwen yn eiddigus—helbul Afaon—y ddau yn y diwedd yn priodi.—Ei ffawd ddilynol mewn crefydd a llenyddiaeth—anghraifft o'i ffug-ffrwgwd brydyddol gyda'r pastynfardd Pabo, pan oedd yn fachgen.—Beiad ar arddull isel yr unrhyw, ynghyd âg argymhelliad boneddigeiddrwydd yn fwy i sylw beirdd ieuainc.

Yn bum mlwydd oed dechreuai aidd
  Ei deimlad ymddadblygu;
Dyrchafai 'r rhin oedd yn ei wraidd
  Yn araf at i fynu;
A naws ei awen welid braidd
  Fel blodyn yn blaendarddu;
O! mal y swynid ef yn mhalas anian
Yn wir erbyn hyny, pan ar ben ei hunan!

Pan safai fry ar ben y bryn,
  Môrgilfach Aberteifi,
Edrychai fel rhyw eang lyn
  Yn mhelydr haul yn berwi,
A'r llongau dan eu llian gwyn
  Yn dawnsio arno 'n heini',
Afaon a swynid ar wiw fynwes anian
Yn wir erbyn hyny, pan ar ben ei hunan.

Bryd arall, treiglai tonau 'r *bay*
  Fel myrdd o wyllt afonydd,
Gan dori tros bob creigiog gae,
  A galw ar eu gilydd;
Yn boer i gyd, i beri gwae,
  A'r glânau fel siglenydd;
O! mor ofnadwy oedd cyffrawd y tònau,
Ewynent a rhuent fel mil o raiadrau.

Afaon lechai dan ryw berth,
  A thua 'r môr edrychai,
Naill du i Gricierth a'i thŵr serth,
  Tòn ar ol tòn ymlidiai;
Y môr ymdreiglai â'i holl nerth,
  A'i ganol a frigwynai;
A lluwchfa wastadol o forlan Meirionydd
A wnelai'r olygfa'n grynodeb o 'stormydd.

Ond i Afaon, sŵn y gwynt
  Yn sio yn y berthen,
Oedd wir fwynhad y ddedwydd hynt,
  Fel un yn nghysgod cawnen;
A lle o'i fath ddewisai 'n gynt
  Na thŷ a theulu llawen:
O! mal y swynid ef yn mhalas anian,
Byddai 'r elfenau o'i amgylch yn clecian.

Ar deg foreuau hyfryd haf,
  Ai allan hyd y meusydd;
Erioed ni chlywsai beth mor braf
  A miwsig yr ehedydd,
A'r awyr oll fel nefoedd Naf,
  Yn ferw o seiniau celfydd;
O! mal y swynid ef yn mhalas anian
Yn wir erbyn hyny, pan ar ben ei hunan.

Ei holl synwyrau ieuainc oedd
  Yn fath o aur bibellau,
I ddwyn i'w syniaeth bob pêr floedd,
  A threm, ac arogl gorau;
A thynu anian wnai ar goedd
  Trwy 'r glust, a'r ffroen, a'r genau;
A'i lygaid yn chwerthin ar bob amrywiadau,
Daearol a dyfrol, ei faith ystafellau.

Y coed yn llonydd, heb ddim rhith
  Ysgogiad yn eu brigau;
Ac ar ol bod yn ngwlych mewn gwlith
  Yn sychu 'n ngwres y borau;
A rhyw aderyn bychan brith,
  Yn nghanol y canghenau,
Yn siffrwd y dail wrth gyweirio ei delyn
I anerch yr haul oedd yn codi gyferbyn.

Ryw encyd draw ar fynydd bàn,
  Agorai 'n llon ei lygaid;
Ac yna braich o fryniog làn,
  Yn dàl y glyn yn goflaid;
A rhyw hedd tawel ar bob man,
  Yn newydd a di niwaid;
Y cwbl fel heb ddeffro o gyntun y noswaith,
Oddieithr y gwawl-gerbyd oedd ar ei hynt [ymaith.

Melynai 'r haul â lliw didawl,
  Ymylau serth y moelydd;
O'r lamp wybrenol llifai gwawl,
  Aurliwiog hyd y gelltydd,
Afaon ga'i y cwbl i'w hawl,
  O roddiad y boreuddydd;

Tra 'r ydoedd tlos anian yn gwneuthur ei gorau
I drefnu ei phalas, a gwychu 'r 'stafellau.

Afaon bach ar hyn o bryd
A roddwyd yn yr ysgol;
A'i flodau 'n agor peth o hyd,
A'i bethau 'n bur obeithiol;
Braidd nad oedd dysgu 'n llenwi 'i fryd
Yn fwy na'r gamp chwareuol;
Ond rhwng y ddau bleser, sef dysgu a chwarau,
Dyferai dafn chwerw i'w gwpan ef weithiau.

Un boreu heulog, heb ddim braw,
Na theimlad blin, na diflas,
Tra 'r blodau 'n chwerthin yma a thraw,
O'i ddeutu 'n mysg y gwelltglas,
Ai gyda'i gyfaill law yn llaw
Trwy deg rodfeydd ei balas,
I dderbyn elfenau ei addysg boreuol,
A phrofi dysgyblaeth gaethiwus yr ysgol.

Wrth fyned, gwelai ar bob tu,
Y gwenyn ar y blodau;
A'r glöyn byw ar aden gu,
Mympwyol ei hediadau;
Bron yn ei afael ganwaith bu
Ei brydferth ysnodenau;
Rhoes lawer gwibredfa o lwybr yr ysgol
Ar feddwl cael dala yr eilun deniadol.

Ond wedi rhedeg gyda brys,
Ar ol y pryfyn ofer,
Nes ydoedd drosto 'n llawn o chwys,
Ac wedi colli 'i amser,
Heb ddala 'r un rhwng bawd a bys,
A'r ysgol ar ei hanner,
Mawr fu'r siomedigaeth, a'r braw a'i cyfarfu,
Y llafur yn ofer, a'r athraw yn gwgu!

Afaon deimlai lawer loes;
Ond trwy yr amgylchiadau,
Ca'dd wers i'w chofio trwy ei oes,
Mai dilyn dyledswyddau,
Heb segur redeg gyrfa groes,
I ddal ar wag gysgodau,
A lanwai ei gwpan â'r puraf fwynderau
Heb gynnwys rhyw waddod o siomedigaethau.

Tra yn yr ysgol, yfai 'n rhwydd
Wybodaeth yn danbeidiol;
A'r llyfrau roddid ger ei fydd,
Bu 'n ddigon doeth i'w dethol;
A phawb a synent ar ei lwydd,
Yn dringo rhiwiau rheol;
Prophwydid y byddai 'r peth hyn a'r peth arall,
Wrth agor mor foreu adwyau y deall.

Un nawn, ar ddamwain, daeth i'w law
Ryw lyfr a wnaethai prydydd;
Yn cynnwys ynddo wyth neu naw
O awdlau cywrain celfydd;
Oddiwrth ba un ni throai draw,
Hyd dranoeth, os nad drennydd;
A hoffodd ef cymaint, nes o hyny allan
Y tyngodd y byddai yn brydydd ei hunan.

Aml waith y bu, o'i lawn hyd gyd,
Yn cyrhaedd gwrhyd cywrain,
I gasglu coflaid fawr ynghyd,
O'r pedwar mydr a'r hugain,
Er hyn, o'i raff, ar lawer pryd,
Fe lithrai ambell gydsain;
O'r diwedd crafangodd bob cyswllt ewinog
Y trawsgynghaneddion, a'r dosbarth croesrywiog.

Ac ar ol hyn, wrth fyn'd a dod
A'i dasg i wasg yr ysgol;
Gwneyd ambell englyn fyddai 'r nod,
A manion pur emynol,
Oddiwrth ryw destun allai fod
Ar ddyri yn ddyddorol;
Yn fuan cynnyddodd mewn dysg a barddoniaeth,
Ni roddai air llanw, ni wyrai ddarlleniaeth.

Cyn hir, mewn torf gynnullai 'nghyd,
Yn rhywle yn ei ardal;
Fe welai 'r bardd o ryfedd bryd,
Chwaraesai 'r awen cystal,
I wneyd y llyfr fu 'n gân ei gryd,
I'w suo 'n brydydd dyfal;
Nesaodd i'w ymyl, mewn ofn coelgrefyddol
I gyffwrdd â'i berson, er derbyn rhin barddol.

Er na fu gair cydrhwng y ddau,
Am ddyddiau, o ymddyddan;
Afaon dybiai iddo 'n glau
Rwydd ddeillio rhinwedd allan,
A'i fod byth wed'yn yn cryfhau
Yn noniau awen anian;
Yr ydoedd mor fywiog a chwim ei ddychymyg,
I weithio 'n ei obaith rai pethau annhebyg!

Y cyntaf ddarn erioed a wnaeth,
I'w ddangos i gyfeillion,
Oedd "Cwyn Ysgolor," llawn o aeth,
Am golli athraw tirion;
Yr hwn o'u gŵydd a droai 'n gaeth,
I arall le yr awrhon;
Ond "Cwyn yr Ysgolor," a gollodd drwy 'i ddwylaw,
Modd bynag, fel hyn yr oedd "Ateb yr Athraw."

"Ffarwel, Afaon! dyma 'r dydd,
Y dydd sy wedi dod;
Caru ac ewyllysio eich lles
Yn gynhes gwn fy mod.

Hiraethus wyf, oer aethau sydd
Yn ymgudd dan fy mron;
Am fod yn rhaid im' ganu 'n iach
I chwi 'm rhai bach o'r bron.

Er bod eich cwmni 'n hyfryd im',
Ni chaf ef ddim yn hwy;
Bydd colli gwedd eich wyneb llon,
O dan fy mron yn glwy.

Ah! rhaid eich gadael oll i gyd,
I gyd, mewn tristyd dro;
Hen lè 'n cynnulliad amser hir
A roed yn glir dan glo.

Ffarwel! Ffarwel fy anwyl rai!
Ni chana 'i ddim yn hwy;
Ar dori nghalon, byddaf, och!
Heb weled monoch mwy."

Yn fuan iawn Afaon wnaeth
Gerdd arall go ryw ddyrys;
Ac erbyn hyn, y mesur caeth
Oedd yn ddewisbeth hysbys;
A'r dernyn hwn o'i ddwylaw ddaeth,
Oedd bur ganmoliaeth melys,
I orhawddgar degwch yr hardd greadigaeth
Di ail babell anian, a'i delw o bob lluniaeth.

Y blaenffrwyth hwn o'i awen wyrf,
Sef cathl y greadigaeth;
A ymddangosai o ran ffurf,
Yn addas gynghaneddiaeth;
Gan led amlygu tyfiad tirf,
A nodd yr awenyddiaeth;
Beth bynag, anturiodd i ddangos y caniad,
I'w "Athraw barddonol," fel cyntaf gynnygiad.

Ei athraw barddol oedd y gŵr
Nodedig a grybwyllwyd,
Cain awdlau 'r hwn a droisai 'r dwr
Ar olwyn doniau mebyd,
Nes creu o'i fewn y fath ystwr,
Am fod yn fardd drwy 'i fywyd,
A'r gwr a'i cyffyrddodd ef wed'yn yn rhywfan,
Nes byth yr aeth rhagddo o hono ei hunan.

Yn mhlas anian, mal y soniwyd,
O yngan llesg ieuengyn llwyd;
Dyma'r gan sych, nid gwych oedd gwên
Dechreuad awch yr awen.—

"Cre'digaeth wech helaeth a chwiliaf,
A hon a olrheiniaf yn rhwydd;
Rhyfeddaf a chofiaf ei chyfoeth
Yr adail sy'n llawnddoeth ei llwydd;
Rhyw drwch ordywyllwch du ollawl
Yn cuddio 'r daearawl dŷ oedd;
Ond 'Bydded goleuni,' a'i rhwygai
Dug bobpeth a guddiai ar goedd.

Y tiroedd oll ydoedd yn lleidiawg,
O ddyfroedd gorllifawg yn llawn;
Amgylchent, hwy döent ein daear,
Yr hanes yn gynnar a gawn:
Neillduwyd, fe fwriwyd trwy fawredd,
Y dyfroedd oll unwedd i'w lle,
Sych diroedd, iach lysoedd, achleswyd,
Y ddaear a groenwyd yn gre'.

Gair nerthol cynnarol cain euraidd
A ddeuai yn beraidd i'r byd;
'Egined a thardded llaith irddail
A llysiau 'r deg adail i gyd;
Ffrwythloner a llanwer y llenyrch,
O bob rhyw lawn gynnyrch yn gu,
Yn goedydd ac irwydd rhagorol,'
A hyny yn fanol a fu.

Tywysog, llyw enwog holl anian
Yw 'r haulfyd pur wiwlan ei wawr;
Ser, lleuad, tywyniad da union,
A enfyn y lluon i'r llawr;
Eu Crëwr a'u Lluniwr tra llonwych
A'u gwnaeth yn rhagorwych eu gwedd,
Mewn hawddgar wir gynnar ogoniant,
Trwy 'u cylchau mwyn hwyliant mewn hedd.

Y moroedd a'r llynoedd fe'u llanwyd,
A physgod yr heigiwyd y rhai'n,
Mewn dyfroedd yn yroedd aneiri',
Y cawsant eu geni yn gain;
A'r adar diarchar y dyrchent,
Hwy ganent tra gwelent y gwawl;
Dymunol lu siriol a seirian
Pereiddwych a mwynlan eu mawl.

'Nifeiliaid afrifaid a frefent,
Weryrent neu lleisient yn llon;
Bwystfilod gain hynod gyn-henwau,
A bonau pob rhywiau o'r bron;
Arafaidd, aml lesgaidd ymlusgiaid
A phob rhyw fan bryfaid mewn bro,
Cysurus a hwylus yr hilient,
Trwy 'r ddaear ymdaenent yn do.

Ond gwelaf a synaf dros enyd,
Fwy rhyfedd waith hyfryd a theg;
Creu Addaf, ddianaf hardd unol,
Mal T'wysog da freiniol di freg;
A thynwyd, dewiswyd ei asen,
O'i fynwes yn llawen er llwydd;
I'w llunio 'n wraig iddo deg addas,
Heb anffawd yn lluddias eu llwydd.

Ca'dd pawb ei ddeddf—deddf y dyn
Uwchraddai âch ei wreiddyn,
Ond Adda 'n wan dueddodd—i bechod,
Heb ochel fe gwympodd,
Drwy naws falch, druenus fodd,
Y dirion ddeddf a dorodd!"—

Ei "Athro barddol" yn ddi lai
A feiai gân Afaon;
O'r gair "'Nifeiliaid," sillgoll wnai,
Nad ydoedd yn gyfreithlon;
A rhy, o lanw neu o drai,
Ddangosai weddd anghyson;
Er hyn ar y cyfan canmolai y cynnyg,
A'i lwydd pan addfedai a dybiai yn debyg.

Ac erbyn hyn yr oedd ei fryd,
Am ddysgu o hyd ychwaneg,
A chasglai rym ei ddawn ynghyd,
I drwyadl ddeall Seisneg,
Fel na b'ai gweithiau prif feirdd byd,
Ag ynddynt ddim ar ddammeg;
A thrwy ei ddiwydrwydd a'i ymdrech gwastadol
Aeth rhagddo 'n llwyddiannus heb esgus o ysgol.

Ond druan oedd! ca'dd wybod pam
Y gelwir oes yn flinder,
Ynghanol hyn, bu farw 'i fam,
A thaflwyd ef i bryder,
Ac ofnai 'r ffordd yn awr bob cam,
Rhag cwrdd â rhyw orthrymder;
A'r dysglaer ragolwg a welai 'n flaenorol,
A droes yn dywyllwch i'w lygaid ieuangol!

Modd bynag, nid anghofiai 'n llwyr,
Y dduwiol lariaidd awen,
A thoddai 'i galon fel y cwyr,
Nes llifo mewn ysgrifen
Yn drom alarnad, foreu a hwyr,
Am fam oedd dan dywarchen!
Anturiodd y Seisneg yn gyfrwng i'r meddwl
Er nad oedd yn hòno yn fedrus a manwl.

Fe allai fod y peth fel hyn,
I'r gân ymddangos allan,
Mewn gwisg Seisnigaidd o'r braidd, cyn
Ei ddod yn ieithydd cyfan,
Sef, am fod ei astudiaeth syn,
Oll yn yr iaith hon weithian;
Ond dyma y farwnad yn 'siampl i feirdd anghall [ddeall.
I ochel iaith ddyeithr nes dod i'w llawn

"Ye woody glens, ye leaves of every tree,
Ye mountains, hills and rocks, pray mourn with me!
Thou gloomy sky, thy waters don't confine,
But let thy tears be intermix'd with mine!
Ye winged choir, sing some elegiac tune,
Pray, let my loss make sad your merriest June!

But some may ask—Why boy, what ails thee, pray?
Thou art but in the morning of thy day—
Oh! lost my mother! this has caus'd my grief,
Our time to live together, O how brief!
My mother gone!—I feel bereav'd of all,
A wand'ring wretch—a solitary soul!

O death! O death! I feel thy withering power,
In thy dread presence, mighty men must cower;
Thou art a despot, none can check thy sway,
Thy forward course, no human pow'r can stay,
Ah! with thy blood-stained blade thou mow'st down men,
And dragg'st thy victims to thy awful den!
Now, mother thou hast torn from my embrace,
Awfully vacant, is her wonted place!
Well—rich and poor alike will drop away,
There 's no abiding in this house of clay,
Death favors neither rank, nor sex, nor age,
Woe him! who with stern death a war shall wage."

Cyn pen ychydig wedi hyn,
Bu farw tad Afaon;
Gadawyd ef yn brudd a syn,
Heb dad na mam yr awr'on,
A gwedd ei wyneb droai 'n wyn,
Gan rym tufewnol loesion;
Ah! helbul a swniai yn awr trwy blas anian,
Dych'mygai fod pobpeth o'i amgylch yn griddfan!

Rhyw sain cwynfanus oedd o'r berth,
Yr haul dywynai 'n wanach;
Y môr a ruai, a'i holl nerth,
Swn marwnad yn mhob cilfach;
A sarug guwch y bryniau serth
Wnai 'r meddwl trwm yn drymach;
A'r hyn a'i haml swynai o'r blaen, yn mhlas anian,
Oedd bellach fel hafddydd i'r bruddaidd ddylluan.

Er caethed y gwnâi hyn wahardd
Myfyrio cân, na darllen,
Ni roddai 'i fyny fod yn fardd,
Ond troai at yr awen;
A than gysgodlwyn yn yr ardd
Fe drefnodd mewn ysgrifen,
Er rhoi gwynt i'r hiraeth oedd ynddo yn ennyn,
Yr ymson cwynfanus, tosturus a ganlyn,—

"O! ystyriwch yr ymddifad,
Heb na mam na thad na thŷ!
Brawd na chyfaill i'w amddiffyn
Rhag y saeth yn rhwygo sŷ;
Daw o'i lygaid yn mysg estron,
Ddagrau lleithion hyd y llawr:
Hiraeth dibaid wywa 'i enaid,
A'i ddiniwaid wedd yn awr!

Deil, tra 'n rhodio gan fyfyrio,
Newydd gô' o'r dyddiau gynt,
Pan oedd tad a mam i'w helpio,
Cyfarwyddo, hwylio 'i hynt;
Ni ddechreuai ar un gorchwyl,
Ennyd gŵyl, na diwrnod gwaith,
Heb rieni i'w gynghori,
Er daioni ar ei daith.

Yn hen frô ei enedigaeth,
Lle y ca'dd fagwraeth gu,

Nid oes weithion, namyn estron,
Nid yr hen gyfeiliion fu;
Holl addfwynder ei fam dyner,
Araf, bêr, a ddarfu byth,
Yntau fel aderyn crwydrol,
Yma a thraw yn ol o'i nyth.

Syllwch arno, heb ei wawdio,
Yn myfyrio am a fu,
Dan gaeadfrig, adyn unig,
Wyla mewn rhyw goedwig gu;
Ei olygon yn sefydlog
Ar y ddaear wreiddiog rydd,
A'i law 'n hongian, O! mor druan!
Yw'r wedd syfrdan arno sydd.

Mewn llais egwan, clywch e'n cwynfan,—
'Un o fan i fan wyf fi!
Dan flinderau aml yn ymladd
Gwael fy ngradd,—pwy glyw fy nghri;
O wych fwynder ni chaf undyn,
I'm dyddanu 'nglyn a ngwlad,
Byth i'm derbyn na 'm hamddiffyn,
Mwy ni thyn na mam na thad!

Yn y bedd! y bedd! y byddant,
Isel bant o sylw y byd,
Minnau f' hunan, oddiallan,
Galar fydd y gân i gyd;
Doed rhyw gymhar unig, hawddgar,
Tua'm carchar du, a'm cell,
Heddyw i f'arwain i ddifyrwch,
Deued, O! na bydded bell.

Us, yn ing loesion angau,—ydyw'r byd
Er ei barch, a'i urddau,
Ni chaiff dyn, wael bryfyn brau,
Gymhorth gan aur na gemau.

Hoewder, a mawr anrhydedd—nid ydynt
Ond edef ddisylwedd,
Afradir ei chyfrodedd,
Yn ngarw boen angeu a'r bedd.

Suddir pob uchel swyddau—yn olud
Ni elwir trysorau,
Yma 'n hir, gaed ei mwynhau,
Engyrth fydd effaith angau.

Pawb yn rhwydd o'm gŵydd ymguddiant—[pan fo
Poen fawr angeu, ciliant!
O'm hannedd i'r bedd, oer bant,
Bro angof, y'm hebryngant!'"

Mewn yspaid,—o'r llewygfa hon,
Afaon a adfywiodd,
Er iddo suddo dan y dôn,
Ail waith am lân ymlonodd,
A llawer teimlad dan ei fron,
O'r hyn oedd flin, ddiflanodd;
Mewn gair, yr oedd adeg ei oed a'i unigrwydd,
Ar ddwyn ymlaen gyfnod, a dybiai 'n fwy dedwydd.

Fel yr oedd anian a'i holl swyn,
Yn myn'd â'i serch yn blentyn;
Llenyddiaeth, eilwaith, hithau 'n dwyn
Ei fryd, ar agwedd hogyn,
Yr un modd, tegwch benyw fwyn,
A'i denai pan yn llencyn;
Anghofiodd ei alar, dechreuodd garwriaeth,
Mae 'n drwm dweyd,—ei grefydd a droes ar ddirywiaeth!

Sefydlai 'i serch ar fenyw brid,
Yr hon a elwid Olwen,
Ei gwedd oedd brydferth oll gan wrid,
Fel lliwiad y flod-ddeilen,
A'i swynol wên yn lleddfu llid,
Ni welwyd mwynach meinwen;
Un ddiwair ei thuedd, yn meddu callineb,
Un, tybiai, a'i henaid yn ateb i'w hwyneb.

Canasai gân ar gread byd,
Mor fawr y syniai 'r weithred;
Canasai gân, wrth golli ynghyd,
Ei dad a'i fam ddiniwed;
A pha'm na chanai gân mewn pryd,
I'w Olwen oedd gan laned?
Fe ganodd i Olwen,—ac fel hyn y canodd,
Ddarllenydd! gwel belydr a mydr ei ymadrodd.

"Ail Olwen i'r lili, mae 'n lloni pob lle,
Pwy burach ei hanadl, mwy trwyadl mewn tre'?
Yn mha ryw gym'dogaeth mae geneth mor gu?
Ei geiriau nid gorwag, lle bynag y bu;
Mor ysgafn, mor wisgi, mor heini' erioed,
Mor esmwyth y cerdda, ni thrystia â'i throed,
Un daclus ei gorchwyl, un anwyl mewn oed.
Rhyw liaws a'i hoffant, a cheisiant ei chael
Yn gwmni eu bywyd, anwylyd wên hael,
Pwy bynag a lysir, ni welir hi 'n wael.

Mae'n gangen ireidd-ber a thyner a theg,
Hi dyfodd o'r impyn yn frigyn ddi frêg,
Mae 'i dillad yn drefnus a thaclus ei thŷ,
Ei gwallt yn gadwynog, fodrwyog a dry,
A natur a'i lliwiodd, hi daenodd hyd wyn,
Fermilion, heb frychau na meflau,—am hyn
Aml un pan ei gwelant a safant yn syn;
Cael gyda thi bellach, gyfrinach sy'n fraint,
Nid aml ceir dy gyfryw, O! fenyw!—pa faint,
Pe talai d'addoli, 'n ddisiomi dd'ai 'n saint!

Ei chorff sy mor addfain, mor gywrain i gyd,
Aberoedd o fwyniant a ffrydiant o'i phryd,
Mae 'i llun yn ein swyno, mae 'n gryno, mae 'n gron,
Pwy welwyd, mewn difrif, fwy heinif na hon?
Er clywed diweniaeth, fawl helaeth fel hyn,
A gwel'd rhai 'n ei cheisio, o fro, ac o fryn,

Dirmygu, fel amryw, un fenyw ni fyn—
Na, na, hi ymddyga trwy 'i gyrfa yn gall,
Nid â i fysg dylion gyfeillion y fall,
Ond ni theifl gymeriad yn llygad y llall.

Helbaw ei phrydferthwch, meddyliwch am ddawn,
Y mae o ddoethineb, callineb yn llawn;
Hi geidw oddiallan bob gogan a gŵg,
Heb sôn am absenu, neu draethu gair drwg,
Ni ddywed, mae 'n ddiwair, un gair a fo 'n gâs.
Yn arwain i wendid, aflendid di flâs,
Neu chwantus drythyllwch, dyryswch di ras,
Heb wgu, na chablu, mae 'n gyru o'i gŵydd,
A'i geiriau rhinweddol, yn raddol a rhwydd,
Y sawl a fo 'n benffol, fasweddol ei swydd."

Ryw bryd yn fuan wedi hyn,
Yn ystod y carwriaeth,
Tra syllai Olwen ar y llyn,
Ei hunan, mewn dwfn syniaeth,
O'r graig gerllaw, fe lamai mŷn,
Terfysgai ei neillduaeth;
Hi droes,—a phwy welai o bell, ond Afaon,
Yn arwain ryw eneth o'r llwyni gwyrdd-leision.

Yr eneth hon oedd gares hardd
A ddaethai at Afaon,
A'r hoff ymweliad di wahardd,
Ar rai o'r dyddiau gŵylion,
A chyda hi cymerai 'r bardd,
Hynt fer i'r coedydd tirfion;
Cyfeiriai o honynt at gyrchfan hoff Olwen,
Gan ddysgwyl ei gweled yn lliwus a llawen.

Ond llanwyd Olwen, yn y fan,
A theimlad o eiddigedd;
Prysurai hwnt oddiwrth y làn,
Heb chwilio 'r amryfusedd,
Gan wylo am ddod ar ei rhan,
Un wnelai cymaint camwedd;
Hi lwyr benderfynodd ei brofi i'r eithaf,
A'i gadw o'i rhandir yn gywir un gauaf.

Anfonodd ato linell lwys,
Ar ganiad fel y canlyn,
I edliw anwadalwch dwys,
A'i alw, braidd, yn elyn,
Gan fwrw 'i frig yn ormod pwys,
I raddau gwael ei wreiddyn;
Bu 'n fyrbwyll,—neu ynte defnyddiai 'r achlysur
O b'ai diniweitiach, i wybod ei natur.—

"Afaon bach! mor fwyn y bu,
Dy wên a'th garu gynt,
Ond diffodd wnaeth fel canwyll frwyn,
Y gwanwyn, yn y gwynt!

Ti anghofiasit fam a thad,
I'm cael yn gariad gynt,
Ond chwythwyd pob adduned dda
Fel manus gyda 'r gwynt!

Meddyliais innau 'n ddigon gwir,
Dy fod yn gywir gynt;
Ond beth yn ddrych o'th serch a gawn?—
Edafedd gwawn mewn gwynt!

Mi gredaf bellach er fy lles,
Hen gynghor ge's i gynt,—
Na ro'wn ar fab a'i haeriad moel,
Ddim mwy o goel na 'r gwynt!"

Tarawodd llymder y saeth hon,
Afaon hyd ei fywyd;
Ymbiliai 'n fynych ger ei bron,
I'w choledd a'i dychwelyd;
Ac adnewyddu 'r llygaid llon
A'i gwnelai 'n gu anwylyd;
Ond nid oedd yn tycio, i wneyd un dylanwad,
Fe 'i llyncwyd gan brudd-der,—a dyma 'i gwynfaniad;—

"Tyr 'd, Olwen, feinwen fwynaidd — i
Fy ngeneth reolaidd! ['ngwyneb,
Pa fympwy, drwy dy fron draidd?
O gwna olwg anwylaidd!

Maith yw 'r dydd,—methir a dal—i d'aros,
Dyred!—na fydd wamal!
Na âd, eto, i d'atal,
Na barn gwŷr, na bryn na gwàl!

Mal wythnos, unnos heno—hebot di,
Byd tost, oedd it' ddigio!
'Rwy 'n drist, a bron na ro'wn dro,
Hyd atat ddiwrnod eto.

Pa le 'r wyt, fy ngeneth! O! beth ydyw 'r byd,
Pan f'ai 'r fath raniadau, drwy 'i gyrau i gyd!
Ni chefais heb chwerwder, ddim llawer o'm llwydd,
Pob un a fawr hoffaf, a gollaf o'm gŵydd.

Mae hiraeth yn pwyso i friwio y fron,
Wrth gofio 'r edrychiad a'r llygad mwyn, llon,
Yr olwg naturiol, mor siriol a'r ser,
Y wên, a'r lleferydd, oedd beunydd mor ber!

Na ddigia 'n dragywydd, O! bydd yn dy bwyll,
Mi dyngaf myn f'einioes, nad oes ynof dwyll,
Ac na wnaethum achos it' ddangos yn ddu;
Os gwnaed camgymeriad, difwriad a fu."

Ond heb ei ddilyn drwy y drain,
A ga'dd yn llwybrau cariad,
Mae 'n ddigon dweyd i'r eneth gain,
Trwy dyner gydymdeimlad,
Mewn amser ddod yn syml ei sain,
A siriol i gydsiarad;

A chael ei boddloni am burdeb Afaon,
Nes llwyr roddi iddo, ei hun, law a chalon.

Ni nodir nemawr y waith hon,
O'i fuchedd yn ddilynol;
Ond adnewyddwyd dan ei fron,
Y teimlad coeth crefyddol;
A hwyliai 'n ffodus frig y don,
Yn môr yr awen farddol;
Gan dalog fyn'd heibio, heb ostwng ei faner,
Yn nhân herwlongau llenyddol ei amser.

Coffawn am un ffug frwydr ga'dd,
Tra 'n ieuanc mewn trin awen,
Daeth hen Bastynfardd mawr i'w ladd,
Ag englyn yn ei dalcen;
A gallai roddi, i ryw radd,
Ddifyrwch wrth ei ddarllen,
Cyfenw'r pastynfardd oedd Pabo, dyn pybyr.
Ond hanner pàn ydoedd, am gyngan a mesur.

PABO.

'Ai Afa'n yw 'r lluman llwyd? — mewn oedran,
Mae 'n edrych fel breuddwyd,
Yn waelaf un a welwyd,—
A oes i'w ben eisiau bwyd!"

AFAON.

"Diau rhanwyd i'r henwr—anaddfwyn
Gynneddfau enllibiwr,
Enbyd yw y tanbaid ŵr,
Am gynnen mae oganwr.

Crach brydydd,—crychu a brodio—ei rigwm
A wna 'r egwan Gymro,
Ow! ddall wr, ni ddyall o,
Wag bwlwaith, a gybolo.

Mae rhês o gyrn mawr esgyrnog—ar gân
Y gwr gwyllt, afrywiog;
Arni 'n awr, draenen neu ôg,
I dori 'r crwbi cribog!

Nid oedd fwyn—niweidiodd fi—â'i englyn,
Mawr anghlod roes imi,
Os cawr ydwyt, nis credi,
Mor wan wyt ger fy mron i!"

PABO.

"Os d'awen deneu, wan, di—un plyg
A'm plygodd o dani,
Ati yn ffraeth eto 'n ffri,
Yn gadarn, mi wna godi!

Diboen i ti ymdybio—dy nerth
Dan wrthun ymguro,
Leni, nid wyt i laenio
Ond egwan, druan, dy dro.

Brenin a gerwin gariad—i'w ddull
Gan rai a f'ai 'n ddeilliaid,
At llegus, âg un llygad,
Yr heidia lu, 'rhyd y wlad."

AFAON.

"Er i ti, â llawer gair tost—goegi
Eto gwag yw d'ymffrost,
Ni bu fawl i neb o fost
Anweddaidd—hyn a wyddost.

Soniaist wrth sur ymsenu—am awen
Ymhoewaist i'w chablu,
Ni wnei di 'r dewr nadwr du,
Dan wichian, ond ei nychu.

Oblegid im' dy blygu—a'm hawen
Taw mwyach a chanu;
Ni waeth dwrn pwy fo' o'th du,
Y cyw difudd!—cei dy faeddu.

Hwn yw 'r tâl roi 'n awr i ti—na chwyna
Cei chwaneg, os myni;
Os unwaith ymrysoni
Buan dof i'th boeni di."

Nid da dull isel y ddadl hon,
Afaon sydd i'w feio,
Fel pob rhyw brydydd ieuanc bron,
Medd duedd at ddifrio,
A chadw ffair a chodi ffon,
Rhoi enwau drwg, a drelio;
Ond addurn y frigog urdd enwog farddonaidd,
Yw byw yn ddiogan, fel dyn boneddigaidd.

# NODIADAU Y FLWYDDYN.

Gan fod y rhifyn hwn yn derfyn blwyddyn ar y "Traethodydd," nis gallwn, o bosibl, wneuthur yn well tuag at lanw tudalenau diweddol ein nawfed llyfr, na rhoddi rhyddid i'n meddwl rodio yma a thraw ar hyd lanerchi dygwyddiadau y flwyddyn, a chyfeirio at rai o'r golygfeydd sydd o'n hamgylch.

Ac i ddechreu yn Nghymru. Nid rhyw lawer o bethau mawrion ac o hynodrwydd neillduol, hyd y gwyddom ni, sydd wedi dygwydd yn y Dywysogaeth, o fewn corff y deuddeng mis diweddaf. Os gwir yr hen air a ddywed fod dim newyddion yn newyddion da, y mae yn dda i raddau mawr yn bresennol yn Ngwyllt Walia. Nid oes nac anghen na haint yn cynniwair trwy ein bröydd; ni chlywir nemawr gŵynion oddiwrth na gwreng na boneddig; mae gweithwyr yn cael cyflawnder o waith, amaethwyr yn cyfarfod â phrisiau da am eu cynnyrchion, a thirfeddiannwyr yn derbyn eu hardrethi yn amserol a rhwydd. Tra y mae yr adeg o fywyd a bywiogrwydd ar holl fasnachau a chelfyddydau y deyrnas, nid yw Cymru yn ol am ei chyfran. Byddai yn dda iawn, ar dymmorau fel y rhai hyn, pe gellid, addysgu y dosbarth gweithgar yn gyffredinol mewn arferion o gynnildeb a darbodaeth. Yn lle byw i fyny at, os nad tuhwnt i, eu derbyniadau, dymunol ac anghenrhaid iddynt yw rhoddi rhyw gymaint o'r neilldu erbyn diwrnod gwlawog, fel y dywedir; a dylai y dosbarthiadau sydd uwchlaw iddynt eu hannog a'u cefnogi i hynyma. Mae yn awr liaws o sefydliadau wedi eu llunio i'r perwyl; ac y mae egwyddorion dyngarwch a gwladgarwch yn arddodi arnom i hyfforddi y werin am fanteision y cyfryw sefydliadau. Pan yr oedd amser da ar weithfaoedd flyneddau yn ol, sylwasom ar deuluoedd yn ein cymydogaeth oedd yn ennill bob un, trwy y tad a'r plant, o ddeg swllt ar hugain i deir-punt yn yr wythnos; ond yr oeddynt wedi dysgu gwario yr holl gyflog. Nid ymarbedent ddim mewn bwydydd na gwisgiadau; ac yn fynych byddai y tafarndai yn cael rhan helaeth o ffrwyth eu llafur. Daeth yn dro ar fyd; dyrysodd masnach, ac yr oedd y gweithfaoedd yn gorfod sefyll. Erbyn hyny, yr oedd y teuluoedd hyn allan o waith; nid oeddynt wedi gwneyd un ddarpariaeth erbyn y dydd drwg; yr oedd eisieu a newyn yn hylldremu arnynt; ac nid oedd ganddynt ond rhoddi eu hunain yn dlodion ar y plwyf, a phwyso, gyda hyny, ar drugaredd eu cymydogion. Daeth cychwyniad bywiog drachefn ar y gweithfaoedd; ond gofidus yw adrodd ein bod yn gwybod am rai o'r cyfryw a nodasom, nad oeddynt wedi dysgu doethineb oddiwrth eu hanofaledd a'u hangenoctyd blaenorol, ond yn ymroi i gael mwyniant, fel yr anifel, oddiwrth yr awr hon, heb feddwl am drysori dim erbyn yr amser i ddyfod. Gresyn yw gweled dyn yn ddiffygiol o ddoethineb y pryfed mân sydd dan ei draed. "Nid yw y morgrug bobl nerthol, eto y maent yn darparu eu lluniaeth yr haf."

Cafodd beirdd a phrydyddion Cymru eu siomi am Eisteddfod y flwyddyn hon. Wedi cyhoeddi fod "Eisteddfod Gymroaidd Freninol" i fod yn Nolgellau yn y flwyddyn 1852, ac wedi hyny ei gohirio am flwyddyn ymhellach, yr oedd cryn ddysgwyliad am dani, a llawer o ddarpar ati,

mèddid wrthym, mewn prydyddu ac ysgrifenu ar y testunau gosodedig. Ond yn lle Eisteddfod, yr oll a gafwyd oddiwrth y pwyllgor oedd llythyr yn y newyddiaduron yn hysbysu, ymron ar yr unfed awr ar ddeg, fod yr amcan o gynnal Eisteddfod yn Nolgellau wedi ei roddi heibio, o ddiffyg cefnogiad digonol. Yr oedd o'r blaen lawer o anesmwythder ac anfoddlonrwydd yn ffynu yn mysg llenorion a phrydyddion ein gwlad, o achos fod pwyllgorau Eisteddfodau Rhuddlan a Phorthmadoc yn nacâu cyhoeddi y cyfansoddiadau buddugol; a thybiasom ni y buasai, yn ychwanegol at hyny, waith pwyllgor Dolgellau, trwy ryw drwstaneiddiwch, yn gadael i'w Heisteddfod hir-hysbysiedig ddiflanu mewn mwg, yn peri terfyn tragywyddol ar yr Eisteddfod Farddol yn Nghymru; ac nid oeddem ni, a dyweyd y gwir, yn teimlo un tuedd ynom i wylo ar ei hol. Ond yr ydym yn deall fod yn awr rai o'r Cymry yn Llundain yn meddwl am gael Eisteddfod yno y flwyddyn nesaf, a bod rhywrai yn un o brif drefi sir Gaernarfon yn dechreu cynllunio at ddwyn ymlaen yr un amcan yn eu mysg hwythau. O'n rhan ni, yr ydym yn barnu yn bwyllog fod eisieu cyfnewidiad gwreiddiol yn holl ffurf, rheoliad, a dygiad ymlaen Eisteddfodau Cymru; ac heb hyny, fod crefydd a moesoldeb, heb son am yr egwyddor o gyfaddasrwydd at yr oes a'r amserau, yn gofyn am eu claddu mewn ebargofiant.

Amgylchiad alaethus ac anghyffredin yn Nghymru, ydoedd dienyddiad gŵr ieuanc o'r Roe Wen, gerllaw Conway, yn mis Awst diweddaf, yn Nghaernarfon, am lofruddio bachgen ieuanc oedd yn byw yn yr un ardal ag ef, pa weithred erchyll a gyflawnwyd ganddo, yn unig, dybygid, er mwyn meddiannu oriawr oedd gan y bachgen. Yr oedd y llofrudd wedi ei ddwyn i fyny o'i fabandod yn anghrefyddol; byddai yn arfer halogi y Sabboth, yn dilyn cymdeithion drwg, ac yn ymroddi i herw-hela. Un o newyddiaduron eglwysyddol y Dywysogaeth, ac un sydd wedi ei hynodi ei hun am ei ymosodiadau disail ac annheg yn erbyn Ymneillduaeth yn Nghymru, wrth roddi hanes am brawf a dienyddiad y drwgweithredwr truan, a ddywedai ei fod wedi cael ei ddwyn i fyny gyda 'r Methodistiaid Calfinaidd, y byddai yn arfer myned i'r Ysgol Sabbothol gyda hwy, a'i fod yn aelod eglwysig yn eu plith hyd nes yr oedd yn bedair ar ddeg oed, ac iddo fod hefyd am oddeutu blwyddyn yn aelod cymunedig gyda 'r Methodistiaid Wesleyaidd; ond ei fod, er y cwbl, mor dywyll, fel nad oedd yn medru Gweddi yr Arglwydd, ac na wyddai pa sawl gorchymyn oedd yn y ddeddf foesol. Yr ydym yn gwybod, ysywaeth, fod rhagrithwyr i'w cael yn mhob cymundeb eglwysig ar y ddaear, a bod yn rhy fynych ddynion a fuont yn proffesu Cristionogaeth yn ei ffurfiau goreu, wedi troi allan i restr y cymeriadau gwaethaf dan haul. Yr oedd hyd yn nod un o'r deuddeg apostol yn ddiafol. A phe buasai John Roberts, y llofrudd a grogwyd yn ddiweddar yn Nghaernarfon, wedi bod yn Ymneillduwr proffesedig, ni buasai hyny yn rhoddi un ddadl yn erbyn Ymneillduaeth, mwy nag yr oedd gwaith Judas yn bradychu ei Feistr dwyfol, ac wedi hyny yn ymgrogi, i'w osod yn ddadl yn erbyn Cristionogaeth. Ond yr oedd parodrwydd y papuryn Toriaidd hwn i haeru fod y llofrudd wedi ei ddwyn i fyny yn Fethodist, ac iddo fod yn aelod eglwysig, ac yn gymunwr, nid yn Eglwys Loegr, ac er hyny, ei fod yn anwybodus o Weddi yr Arglwydd, ac o'r Deg Gorchymyn, pan na bu y dyn erioed yn perthyn i'r naill na'r llall o'r Methodistiaid, nac i un enwad Ymneillduol arall, yn dangos ysbryd iselwael, erlidgar, a maleisddrwg i'r eithaf, ac yn ymddygiad i'w hwtio gan

bob un sydd yn caru gwirionedd a chyfiawnder. Mae y Deg Gorchymyn yn cael ei ddysgu allan, a'i adrodd yn gyhoeddus, yn holl Ysgolion Sabbothol y Methodistiaid Calfinaidd, ac y mae Gweddi yr Arglwydd yn cael ei hadrodd yn holl odfaon cyhoeddus y Wesleyaid; fel nas gallasai neb a gafodd ei ddwyn i fyny gyda 'r naill, neu a fu yn gymunwr gyda 'r llall, fod yn anwybodus am danynt, oddigerth ei daraw â hurtrwydd a choll synwyr. Ond nid oedd yr haeriad anwireddus hwn ond un o lawer o'r awgrymau a roddir gan yr erlidwyr eglwysyddol i geisio argraffu ar feddyliau eu cyfeillion nad oes dim moesoldeb yn cael ei ddysgu gan bobl y capelau. Pe yr atebai ryw ddyben buddiol, hawdd y gallem dalu yn ol y cyhuddiad o anfoesoldeb, gyda llog, i'n gwrthwynebwyr. Eithr nid rhaid i ni wrth yr unrhyw arfau a hwynt i amddiffyn ein hachos. Mae yn wir fod y newyddiadur, at ba un yr ydym yn cyfeirio, wedi galw yn ol y camdystiolaethau hyn am y dyn dienyddiedig; ond nid oedd diolch iddo am hyny, canys yr oeddynt yn cael eu gwrthbrofi yn gyhoeddus gan dystiolaethau anwrthwynebadwy; ac yn y fath ymladdfa, rhaid oedd ildio neu farw. Yr ydym yma wedi galw sylw at y peth hyn, nid oddiar un duedd i ymryson, nac i goffâu anwiredd er gwarthruddo neb, ond yn unig i ddangos pa fath foddion a ddefnyddir gan bleidiau penodol yn erbyn Ymneillduaeth Cymru yn y dyddiau hyn. Y mae genym le i wybod am Eglwyswyr cydwybodol, eu bod hwy, yr un modd a ninnau, yn ffieiddio y budrwaith a gyflawnir gan y papyrau sydd yn cael eu cyhoeddi yn Ngogledd Cymru yn erbyn yr Ymneillduwyr, ac nad oes ond gwehilion yr offeiriadaeth, ac yn benaf, gwrthgilwyr, yn ymrestru yn mysg eu gohebwyr. Mae Ymneillduaeth Brotestanaidd wedi gwreiddio yn rhy ddwfn yn nghyfanneddleoedd Cymru, i allu ei thaflu i lawr trwy ganiadau masweddgar, neu lythyrau celwyddog. Mae tirfeddiannwyr mawrion ein gwlad, oddiar hir brofiad a chydnabyddiaeth, yn gwybod yn dda pa fath rai yw eu deiliaid Ymneillduol, fel nad gwiw dysgwyl iddynt roddi coel i bob hogyn sydd wedi cyflogi, am damaid o fara, i ysgrifenu yn erbyn Methodistiaeth ac Ymneillduaeth Cymru. Rhaid i'r ymosodwyr presennol newid eu *tactics*, cyn y gwnant un gwir niwed i wersyll y "sismaticiaid" Cymreig.

Ar gyfer cyflafan athrist y Roe Wen, hyfryd oedd canfod yn hanes y brawdlysoedd diweddar, fod siroedd Cymru yn gyffredin yn lân oddiwrth droseddau mawrion; ac yn sir Feirionydd, yr hon sydd dra adnabyddus fel gwlad y capelau, ac fel mammaeth Ymneillduaeth, nid oedd yno y tro hwn, mwy na llawer o droion blaenorol, yr un carcharor.

Yn ddiweddar, daeth i'n dwylaw adroddiadau *Inspectors* gwladol yr ysgolion, am 1852—3. Mae yr adroddiadau am ysgolion Cymru, ar y cyfan, yn dra chanmoliaethol ac annogaethol i'r ymdrechiadau sydd wedi eu cychwyn ar ran addysg yn ein bröydd a'n hardaloedd. Mae y Parch. H. Longueville Jones, yr ymwelwr â'r Ysgolion Eglwysyddol yn Nghymru, yn cyfeirio at dri pheth y cwynid wrtho yn fynych o'u herwydd, fel achosion o'r drafferth a'r aflwyddiant a geid yn nygiad ymlaen Ysgolion (Cenedlaethol) yn y Dywysogaeth :—1. Crintachrwydd neu ddiofalwch boneddigion y wlad. 2. Tlodi y clerigwyr. 3. Tlodi gweithwyr cyffredin, oddiar fod eu cyflogau mor isel. Gallasai ychwanegu pedwerydd peth, yr hwn sydd yn milwrio yn fwy nag un o'r lleill yn erbyn yr ysgolion a arolygir ganddo ef, a'r hwn a adroddir yn ddigon croew gan Mr. M. Arnold, un o *inspectors* yr Ysgolion Brytanaidd yn Nghymru a Lloegr, a mab, fel y

clywsom, i'r enwog a'r rhagorol Dr. Arnold, o Rugby. "Yn wir," medd efe, "mae tlodion Cymru yn perthyn mor llwyr i'r Ymneillduwyr, fel y mae yr Ysgolion Brytanaidd o bwys neillduol yno; ac y maent yn cael eu llanw gan yr un dosbarth o blant ag a welir yn yr Ysgolion Cenedlaethol yn Lloegr." Tra yn hoffi ysbryd rhydd a diragfarn Mr. Arnold yn ei sylwadau cyffredinol, nis gallwn lai na gwrthdystio yn benderfynol yn erbyn yr hyn a ddywedir ganddo am y dymunoldeb o ddarfodedigaeth yr iaith Gymraeg. Yr ydym ni eilwaith ac eilwaith yn y "Traethodydd," wedi galw sylw at yr anghenrheidrwydd o ddysgu Seisneg i'r Cymry; ac yr ydym yn gwneuthur ein goreu i gefnogi y cyfryw addysg. Ond nid ydym eto yn barod i bleidleisio dros ddilead y Gymraeg; ac yn wir, ni byddai hyny yn orchwyl càn hawdded ag y mae llawer yn tybied, pe yr elid ato. Rhaid yn gyntaf gau y pulpud, a dystewi y wasg yn Nghymru; ac i ymgeisio at hyny rhaid cael gŵr mwy na'r cawr Goliath. Yr oedd hen ysgrifenwyr Cymru, er's dau can' mlynedd yn ol, yn cwyno bod rhyw Gymry Seisnigaidd yn dywedyd yn erbyn yr iaith Gymraeg, ac yn prophwydo ei chwymp buan. Ond yr oedd yr hen Daliesin yn gywirach prophwyd, pan y dywedodd,—

"Eu hiaith a gadwant."

Ni bu erioed gymaint o dan haul yn siarad Cymraeg ag sydd yn ein dyddiau ni. Mae hyn yn ein harwain i ofyn, Paham na cheid Cymro i ymweled â'r Ysgolion Brytanaidd yn Nghymru? Mae yr Ysgolion Cenedlaethol yn Nghymru wedi cael, nid yn unig Eglwyswr, ond Cymro, yn *inspector* arnynt; ac, wrth gofio, yr oedd llawer o achwyn yn mysg y clerigwyr, pan y penodwyd Mr. Longueville Jones i'r swydd, am nad ydoedd, meddent hwy, yn Gymreigydd digon trwyadl. Paham na chaiff yr ysgolion anmhleidiol yn Nghymru, y rhai sydd yn derbyn y cymhorth gwladol, yr un chwareu teg? Nid ydym ni yn gwybod wrth ddrws pwy y mae yr amryfusedd hwn yn sefyll; ond y mae pob rheswm a chyfiawnder yn gofyn am ei symud bellach.

Bydd y flwyddyn hon yn hygof fel Blwyddyn Jubili y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor. Mae naw mlynedd a deugain wedi myned heibio, er dechreu y gwanwyn diweddaf, er pan y sefydlwyd y gymdeithas ardderchog hon; ac anghen y Cymry am Fiblau, fel y mae yn hysbys, a achlysurodd ei sylfaeniad. Gwaith y Parch. Thomas Charles, o'r Bala, yn Llundain, "yn ymorol," fel yr adroddai efe ei hun, "âg ewyllyswyr da i grefydd a duwioldeb, pa fodd y gellid cael argraffiad helaeth o'r Bibl, am bris gweddol, yn yr iaith Gymraeg, ac, os byddai bosibl, i drefnu cyllidfa barhaus o honynt, fel na byddai, un amser mwy, brinder o Fiblau i'r Cymry tlodion,"—dyna a fu yn offerynol i ffurfio cymdeithas tuag at ddiwallu, nid yn unig y Cymry, a thrigolion Prydain Fawr, ond holl genedloedd y ddaear, â'r Ysgrythyr Lân. Erbyn heddyw, mae y Bibl wedi cael ei gyfieithu i 148 o ieithoedd a changenieithoedd, a chymaint a 43,000,000 o gopïau o'r ysgrythyr, yn gyflawn neu mewn rhan, wedi eu taenu; ac felly mae y Fibl Gymdeithas wedi dwyn geiriau y bywyd tragywyddol, yn gyrhaeddadwy, fel y credir, i oddeutu chwe' chan' miliwn o ddynolryw. Yr oedd y cyfarfodydd Jubili a gynnaliwyd yn Neuadd Exeter, yn y brif ddinas, yn rhai tra rhagorol, ac felly hefyd y cyfarfod mawr a gynnaliwyd i'r un perwyl oddifewn i furiau castell Caernarfon; ac y mae cyfraniadau

haelionus wedi ac yn dylifo yn barhaus i drysorfa y gymdeithas, tuag at gronfa y Jubili. Mae y 12fed o Hydref wedi ei benodi gan y Fam-Gymdeithas yn ddydd i gadw cyfarfodydd Jubili gan yr holl Gymdeithasau Cangenol, hyd y gellir, trwy y byd. Yr ydym yn hyderu y ceir y Cymry yn gwneyd eu goreu ar yr achlysur pwysig hwn. Cymro, fel y nodwyd, a fu yn offeryn i sefydlu y gymdeithas; mae y Cymry o'r dechreuad wedi bod yn ffyddlawn iddi, a hithau o'r dechreuad yn ofalus am y Cymry; a Chymro yw ysgrifenydd i'r Jubili yn awr. A chan fod i ni fel hyn gymaint o ranau ynddi, nis dylem fod yn olaf yn ein sel gyda hi.

Bu gwneuthurwyr ein deddfau yn gweithio yn ddiwyd yn Eisteddiad diweddaf y Senedd, er ysgatfydd, mai nid rhyw lawer iawn a brofir o ffrwyth eu gweithredoedd. Dymchwelwyd gweinyddiaeth Arglwydd Derby a Mr. Disraeli, yn gynnar yn yr Eisteddiad; a chyda eu mudiad hwy allan o heol Downing, darfyddodd gobaith am i Doriaeth y dyddiau gynt allu sefyll mewn goruchafiaeth yn y dyddiau hyn. Mae gweinyddiaeth Arglwydd Aberdeen wedi ei dangos ei hun, hyd yma, yn un alluog ac effeithiol; a thybygid mai dyma y llywodraeth gadarnaf a welodd y deyrnas hon er ys llawer dydd. Yr oedd eu gwrthwynebwyr yn y dechreu yn swnio llawer am ei heiddilwch, ac yn darogan ei byr barhâd; dywedid fod cymysgedd ei defnyddiau yn sicr o droi yn angeuol iddi. Ond i'r gwrthwyneb y mae yn ymddangos yn bresennol. Trwy ei bod yn gymhlethedig o amrywiol bleidiau, mae gweinyddiaeth Aberdeen wedi rhoddi dyrnod trwm ar ysbryd plaid; ac y mae yn dra thebyg yn awr y bydd Whigiaeth a Thoriaeth yn cael eu cyfrif yn fuan ymhlith y pethau a aethant heibio. Cafodd cyllideb Mr. Gladstone dderbyniad pur wahanol i'r eiddo Mr. Disraeli, ac nid hawdd y gallesid, ar y cyfan, ddyfeisio un yn fwy teg a diduedd. Yr oedd yr Eisteddiad Seneddol diweddaf yn ddigyffelyb am y nifer mawr o aelodau a dröwyd allan o herwydd llwgrwobrwyaeth etholiadol; ac y mae yn ddiau fod yr holl ddiarddelwadau hyn yn rhesymau uchel ac ymarferol dros bleidleisiad dirgel mewn etholiadau. Nid yw pwnc y *balot* ond yn aros ei adeg; mae pob peth yn dyweyd y rhaid i'r dull hwn o bleidleisio ddyfod i ddefnyddiad ar fyrder.

Er fod llawer o ragoroldeb yn ngweinidogion presennol y llywodraeth, yr ydym yn ofni fod y gyfran o honi a elwid yn *Peelites*, yn tueddu yn ormodol i roddi wyneb a chefn i Babyddiaeth, a bod Arglwydd John Russell, a'r lleill o'r gweinidogion a gyfrifir yn Brotestaniaid iachus, er mwyn undeb a chydweithrediad, yn ildio gormod iddynt. Nid ydym ni mewn un modd am i'r Pabyddion, mwy na ni ein hunain, gael eu hamddifadu o ryddid gwladol a chrefyddol; ac nid ydym ychwaith am iddynt hwythau—yn nhiriogaethau Prydain, pa fodd bynag—gael eu hewyllys i gyfyngu ar ryddid eraill. Gyda golwg ar achos y Mynachdai, cyfreithiau Malta, a Bwrdd Dirprwyaeth y Gyfundrefn Wyddelig o Addysg, am ba herwydd yr enciliodd yr Archesgob Whately, a dau eraill o ddylanwad, o'r ddirprwyaeth hono, a phethau eraill y gallesid eu nodi, nis gallasem lai na meddwl fod ein llywiawdwyr yn ewyllysio dangos ffafr i Eglwys Rhufain, er iddynt wneyd hyny ar draul cyfiawnder ymarferol. Mae yn ddigon tebyg mai yr un amcan sydd ganddynt hwy yn awr ag ydoedd gan y diweddar Syr Robert Peel yn ei waith yn cadarnhau ac ychwanegu gwaddoliad Maynooth, sef ceisio, trwy anrhegion, ddenu yr offeiriaid Pabaidd i ufudd-dod a thangnefedd gwladwriaethol. Ond dylent hwy wybod nad

oes dim a foddia nac a dawela weinidogion eglwys y pab, tu yma i'w crefydd hwy fyned yn oruchaf yn mhob gwlad lle y byddont; ac i wybod pa beth a wnai y tylwyth hyn pe caent awenau y llywodraeth i'w dwylaw, digon yw cyfeirio at Spaen, Tuscany, a'r lleill o wledydd Pabaidd Ewrop.

Mae yr anghydfod rhwng Rwsia a Thwrci wedi bod yn destun pryder a siarad cyffredinol er ys misoedd meithion; ac y mae y "son am ryfeloedd" yn gysylltiedig â'r mater hwn yn ymadnewyddu eto. Un dydd byddai y newydd yn dyfod fod yr achos mewn dadl wedi ei benderfynu yn heddychol; a'r dydd nesaf deuai newydd drachefn fod y ddadl yn aros yn anmhenderfynol. Y newydd diweddaraf, ar y pryd yr ydym ni yn ysgrifenu hyn, ydyw fod Ymherawdwr Rwsia yn nacâu cydsynio â'r mân newidiadau a wnaeth llywodraeth Twrci yn yr ammodau heddwch a dynwyd allan gan alluoedd Awstria, Prwsia, Lloegr, a Ffrainc, a bod yr achos yn yr un dyryswch ag yr ydoedd yn flaenorol i gyfryngiad y llywodraethau hyn. Beth fydd y diwedd? Yn yr ymrafael hwn nid yw Nicholas o'r dechreu wedi dangos dim ond rhagrith, dichellion, gau hòniadau, a thrahausder bygylus, tra y mae y Sultan, a'i gynghorwyr, wedi arfer pob pwyll a goddefgarwch, ac wedi ennill ewyllys da a chydymdeimlad cyffredinol. Ar yr un pryd, tra yr ydym yn hyderu y siomir Rwsia yn ei hamcan, y mae yn eglur i ni nas gall ymherodraeth Twrci, fel y mae yn bresennol, ddal at ei gilydd yn hir eto. Mae ei deiliaid Cristionogol yn Ewrop yn llawer lliosocach na'r Tyrciaid; ac y maent hwy wedi llwyr flino ar iau eu gormeswyr Mahometanaidd; tra y mae esiampl Groeg a Servia o'u blaen yn eu cynhyrfu i ymdrechu am ryddhad.

Mae yr ysgogiad dyeithr sydd yn cymeryd lle yn awr yn China, yn un o ddygwyddiadau rhyfeddaf ein hoes. Mae y chwyldroad sydd yn myned ymlaen yno yn un crefyddol yn gystal a gwladol. Amcenir nid yn unig at fywyd y llywodraeth Dartaraidd, ond at lwyr ddinystr eilun-addoliaeth, a sefydliad Cristionogaeth, a hono yn un Brotestanaidd, ac nid Pabaidd, yn mysg holl filiynau China. Mae yn wir fod eto lawer o ffolineb a chymysgedd cyfeiliornad ynglŷn â'r rhyfelwyr Cristionogol hyn; ond, fel y maent, mae yn ddilys eu bod, hyd yn hyn, yn offerynau ymarferol yn llaw yr Hollalluog, ac yn debyg o wneuthur pethau rhyfeddach eto. Maent yn myned rhagddynt yn fuddygol, gan ennill dinas ar ol dinas, a dyfetha yr eilunod ynghyd â'u temlau. Mae ganddynt gyfranau o air Duw yn eu meddiant, i ba rai y talant y parch mwyaf: eu cyfraith yw y Deg Gorchymyn; ac y maent yn dra moesol o ran eu hymarweddiad. Hanes ymweliad llywydd Brytanaidd Hong-Kong â'u penaethiaid yn Nankin, yn mis Ebrill diweddaf, sydd yn adroddiad dyddorol dros ben, ac yn peri i gyfeillion yr efengyl ddysgwyl pethau mawrion oddiwrthynt. Yn y cyfamser, mae ymdrechiadau bywiog wedi cychwyn yn Lloegr i godi cronfa yn ddioed tuag at argraffu a lledanu yn China filiwn o gopïau o'r Testament Newydd Chineaidd. Nis gallwn ond llawenychu yn y fath amcan gwir odidog, ac o'n calon ddymuno ei lwyddiant.

DIWEDD LLYFR IX.

---

DINBYCH: ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

